

"Cared Doeth yr Encilion."

# GWEITHIAU

# IOLO GOCH:

## GYDA NODIADAU HANESYDDOL A BEIRNIADOL

GAN

CHARLES ASHTON.

---

[*Cyhoeddedig gan Anrhydeddus Gymdeithas y Cymmrodorion*].

ARGRAFFWYD DROS Y GYMDEITHAS GAN
WOODALL, MINSHALL, A'U CWMNI, CAXTON PRESS, CROESOSWALLT.
1896.

# GWEITHIAU IOLO GOCH.

## RHAGNODIAD.

UGAIN mlynedd yn ol—yn y flwyddyn 1877—ymgymerodd y diweddar Barchedig Robert Jones, B.A., Rotherhithe, ar gais Anrhydeddus Gymdeithas y Cymmrodorion, a'r gorchwyl o olygu "Gweithiau Barddonol Iolo Goch," bardd Owain Glyndwr. Argraphwyd ychydig o Gywyddau y Bardd a chyhoeddwyd hwy fel Attodiad i'r ddwy gyfrol gyntaf o'r *Cymmrodor*. Yr oedd addewid am ychwaneg o honynt, yn gystal ag am Hanes Bywyd eu hawdwr; ond bu farw y Golygydd cyn dwyn y bwriad i ben. Amcanodd y Gymdeithas gario y gwaith ymlaen, ond aeth blynyddoedd meithion heibio cyn y cafwyd neb i'w gyflawni. O'r diwedd, daeth i fryd Pwyllgor Cymdeithas yr Eisteddfod Genedlaethol i gynyg gwobr o 50P., yn Eisteddfod Genedlaethol Caernarfon (1894), am "Y Casgliad goreu o Farddoniaeth Iolo Goch gyda Nodiadau Hanesyddol a Beirniadol." Danfonwyd tri o gasgliadau i'r gystadleuaeth. Ennillwyd y wobr—yn ol dyfarniad y beirniad, Mr. Egerton Phillimore—gan Mr. Charles Ashton, o Ddinas Mawddwy, awdwr *Hanes Llenyddiaeth Gymreig o 1650 i 1850*. Trwy drefniant gyda Chymdeithas yr Eisteddfod, ymgymerodd Cymdeithas y Cymmrodorion â'r ddyledswydd o argraphu a chyhoeddi y casgliad buddugol, ac y mae ganddynt yn awr y pleser o gyflwyno y gyfrol i sylw efrydwyr Barddoniaeth, Hanesiaeth a Llenyddiaeth Cymru. Dymuna Cymdeithas y Cymmrodorion gydnabod eu dyled i Mr. Ashton, am y gofal arbenig ac ychwanegol a ddangosodd yn nygiad y gyfrol drwy y wasg, ac hefyd i'r argraphwyr, Mri. Woodall, Minshall a'u Cwmni, a Mr. Thomas Williams, o'u swyddfa hwy, am gynorthwy diflino yn nglyn a gwahanol ranau y gwaith.

*Dros y Gymdeithas,*

E. VINCENT EVANS, YSGRIFENYDD.

# THE WORKS OF IOLO GOCH.

## PREFATORY NOTE.

TWENTY years ago—in the year 1877—the late Rev. Robert Jones, B.A., Rotherhithe, undertook on behalf of the Honourable Society of Cymmrodorion, the duty of editing "The Works of Iolo Goch," the bard of Owain Glyndwr. A few of the poems were printed and published in the form of a Supplement to *Y Cymmrodor* (Vols. i. and ii.). Others were promised, together with a sketch of the Author's life, but the Editor died before the work was accomplished. The Council of the Society was anxious to complete the work, but many years elapsed before anyone was found to take it up. At last the Council of the National Eisteddfod Association offered a prize of £50 at the National Eisteddfod Carnarvon (1894) for the best Collection of the Poems of Iolo Goch with Historical and Critical Notes. Three collections were sent in for competition. The prize was awarded by the Adjudicator, Mr Egerton Phillimore, to Mr. Charles Ashton of Dinas Mawddwy, the author of the *History of Welsh Literature from 1650 to 1850*. By arrangement with the National Eisteddfod Association the Honourable Society of Cymmrodorion undertook the duty of printing and publishing the prize Collection, and they now have the pleasure of submitting the volume to the attention of students of the Poetry, History and Literature of Wales. The Society desires to acknowledge their great indebtedness to Mr. Charles Ashton not only for his original work but for the additional care he has shewn whilst the book has been going through the press, as well as to the printers, Messrs. Woodall, Minshall, and Co., and Mr. Thomas Williams of their office, for their willing assistance in connection with the production of the work.

*For the Society,*

E. VINCENT EVANS, SECRETARY.

# GWEITHIAU IOLO GOCH.

## CYNNWYSIAD.

[Y mae y caniadau a nodir gyda *Seren* yn cael eu priodoli mewn rhai llyfrau i awdwyr ereill. Dechreuir y cywyddau a geir yn y Casgliad gan y llinellau canlynol; ond gan fod y llinellau dechreuol yn amrywio mewn gwahanol lyfrau, rhoddir y dechreuadau sydd yn amrywio rhwng cromfachau.]

# EGLURHAD AR Y TALFYRION.

*Add. MSS.*—Additional Manuscripts.

*Barddon. D. ab G.*—Barddoniaeth Dafydd ab Gwilym (argraffiad cyntaf, 1789).

*C. Ll. G.*—Ceinion Llenyddiaeth Gymreig.

*G. B. C.*—Gorchestion Beirdd Cymru (ail argraffiad, 1864).

*Glan. MSS.*—Glanyrafon Manuscripts.

*Jes. MSS.*—Jesus College Manuscripts.

*Myv. Arch.* Myvyrian Archaiology (ail argraffiad, 1870).

*R. J.*—*The Works of Iolo Goch*, gan y Parch. Robert Jones, Rotherhithe.

# BRASLUN O FYWYD, AMSERAU, A CHYFANSODDIADAU IOLO GOCH.

## 1.—NODIADAU ARWEINIOL.

RHYDD Gweirydd ap Rhys[1] restr o ryw 70 o feirdd a llenorion a flodeuent rhwng 1300 a 1400; ac hyd y gallwn farnu—pa nifer bynag o honynt oedd yn llenorion—yr oedd yr oll o honynt yn rhyw fath o feirdd. Ystyriai Gweirydd rai o honynt yn ddigon pwysig i roddi rhyw gymmaint o'u hanes; ac yn eu plith ceir Dafydd ab Gwilym, Iolo Goch, Sion Cent, Rhys Goch Eryri, Dafydd Nanmor, Gruffydd Gryg, ac amryw ereill. Diammeu fod llawer o'r beirdd a flodeuent yn y cyfnod hwn wedi eu gadael allan o'r rhestr; ac ychydig o waith y mwyafrif o'r rhai a geir ynddi sydd yn adnabyddus yn bresennol. Y mae cryn lawer o farddoniaeth y rhai enwocaf o honynt yn aros, yn anargraffedig, mewn ysgrif-lyfrau. Dafydd ab Gwilym yn unig a dybiwyd yn deilwng hyd yn hyn, o holl feirdd y bedwaredd ganrif ar ddeg, i fyned i'r draul a'r drafferth i ddwyn allan gasgliad o'i weithiau. Ceir pigion o farddoniaeth rhai o honynt yn y fath weithiau a *Gorchestion Beirdd Cymru* a *Cheinion Llenyddiaeth Gymreig*, gydag ambell gywydd yn wasgaredig yma a thraw ar ddalenau y cylchgronau. Gydag eithrio Dafydd ab Gwilym, yr un y sonir mwyaf yn ei gylch o holl feirdd y cyfnod ydyw Iolo Goch. Ond nid rhyw lawer sydd yn hysbys am dano, ac nid oes ond ychydig, mewn cymhariaeth, o'i farddoniaeth yng nghyrhaedd y wlad. Ceir chwech o'i ganiadau yn *Ngorchestion Beirdd Cymru*, pedair-ar-hugain yn *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*, a deuddeg a rhyw ddarn yn *The Works of Iolo Goch*, gan R. Jones; ond gan mai yr un rhai ydyw llawer o honynt, nid yw y cyfanrif uwchlaw 29 o ganiadau cyfain, y rhai, gyda Chywydd Marwnad Iolo i Dafydd ab Gwilym, ym *Marddoniaeth* y bardd hwnw, a wnant ddeg-ar-hugain. Ceir rhai o'i ganiadau yn argraffedig mewn amryw o'r cyhoeddiadau, megys *Y Brython* a'r

[1] *Hanes Llenyddiaeth Gymreig*, tudal. 146—194.

*Cymmrodor;* ond y mae y rhai hyny yn gynnwysedig yn y deg-ar-hugain uchod. Bwriadai y Parch. Robert Jones, o Rotherhithe, mewn cyssylltiad â Chymdeithas y Cymmrodorion, ddwyn allan gasgliad cyflawn o'i holl ganiadau; ond lluddiwyd ef ar y cyntaf gan afiechyd, ac wedi hyny gan farwolaeth. Yng nglŷn â'r rhanau a ddygodd allan, yn 1877, yr ydym yn cael gwyneb-ddalen, ar yr hon y mae yn argraffedig:—"*The Works of Iolo Goch, with a Sketch of his Life.*" Ond nid oes yr un "*Sketch*" yng nglŷn â'r cywyddau a argraffwyd; a diammeu mai ar y diwedd y bwriadai ddwyn hono allan. Y mae nodiadau Robert Jones i'r deuddeg cywydd a gyhoeddwyd, y rhai a osodir ar waelod y tudalenau, yn Seisoneg; a diammeu mai yn y Seisoneg y bwriadai ysgrifenu y "Sketch." Yn yr iaith Seisonig yr ysgrifenwyd y nodiadau a ymddangosasant yng ngweithiau Dafydd ab Gwilym a Lewis Glyn Cothi; ac yr oedd Robert Jones am ddilyn esiampl golygwyr y gweithiau hyny. Pa fodd bynag, chwithig i'r eithaf, yn ein tyb ni, ydyw gosod nodiadau Seisonig wrth gywyddau Cymraeg. I'r Cymro unieithog, ni fyddai y nodiadau o unrhyw fudd, os wedi eu hysgrifenu yn Seisoneg; i'r Sais unieithog, ni fyddai y nodiadau Seisonig o nemawr werth, tra bydd y cywyddau yn Gymraeg; felly tybiwn y dylai y nodiadau gael eu hysgrifenu yn yr un iaith a'r cywyddau. Nis gwyddom pa un a fwriadai Robert Jones nodi o ba ysgriflyfrau yr oedd yn adysgrifenu ai peidio; ond nid ydyw yn nodi ei ffynnonellau yng nglŷn â'r caniadau. Tybiwn fod hyn yn ddiffyg; ac y mae yr un diffyg i'w weled yng ngweithiau Dafydd ab Gwilym a Lewis Glyn Cothi. Buasai o gryn fantais, a hyny mewn mwy nag un ffordd, pe nodasai y golygwyr pa ysgriflyfrau a ddefnyddiasant.

Ystyriwn fethiant Robert Jones i gario y gwaith allan, fel y bwriadai, yn golled i'n llenyddiaeth. Nid o herwydd ei fod yn dangos unrhyw allu neillduol yn hyny a wnaeth—o blegid ymddengys ei ddyfaliadau a'i eglurhadaeth i ni yn aml yn dra anfeirniadol—ond am y tybiwn ei fod wedi casglu llawer o ddefnyddiau tuag at ysgrifenu bywgraffiad lled gynnwysfawr am Iolo Goch. Pan ystyriwn fod Iolo yn fardd mor bwysig ag y dywedir ei fod, y mae braidd yn rhyfedd na fuasai genym fwy a gwell manylion yn ei gylch nag a geir yn ein gweithiau bywgraffyddol. A chredwn os na lwyddwn i ddwyn goleuni ychwanegol



ar ei hanes, y bydd i ni, o leiaf, ddwyn ym mlaen ffeithiau a daflant gryn ammheuaeth yng nglŷn â'r hyn a ddywedir yn gyffredin am dano. Y mae swm a sylwedd gwybodaeth y Cymro am Iolo Goch i'w weled yn *Williams's Eminent Welshmen*, yr hwn yn benaf a ddilynir gan Owen Jones (*Geir. Cen. Cymru*), a chan Isaac Foulkes (*Enwogion Cymru*). Hwyrach y gallai fod yn fanteisiol i ni, cyn myned ym mhellach, ddyfynu yr hyn a ddywedir am dano yn y gwaith olaf a nodwyd :—

Iolo Goch, bardd enwog o Sir Ddinbych, yn ei flodeu yn nechreu y 14eg ganrif. Dywedir mai ei enw bedydd oedd Edward Llwyd ; a'i gartref oedd Coed Pantwn, plwyf Llanefydd, Sir Ddinbych. Dywed Gruffydd Hiraethog mai ei fam oedd Iarlles Lincoln. Yr oedd yn ddoethawr yn y gyfraith—yn gwisgo gwn coch, ac am hyny, fe allai, y gelwid ef yn *Iolo Goch*. Graddiwyd ef hefyd yn M.A., gan un o'r prif golegau. Y mae Pantwniaid, Plasgwyn, Môn, yn ddisgynyddion o hono. Efe oedd bardd Owen Glyndwr, a defnyddiodd lawer ar ei awen i foli yr arwr enwog hwnw, ac i enyn teimladau rhyfelgar y Cymry i adenill eu hannibyniaeth yn "rhyfel Owain." Ei athraw barddonol oedd Ednyfed ab Gruffydd, bardd o Faelor, yn Mhowys Fadog ; yr hwn oedd yn frawd i'r ddau fardd, Madog Benfras a Llywelyn ab Gruffydd. Bu ganddynt Eisteddfod yn Marchwiail, ger Gwrecsam, yn amser Edward III. "Ac yn yr Eisteddfod hono yr addurnwyd Iolo Goch âg addurn cadair am ei wybodau a ddysgws Ednyfed ab Gruffydd parth gwybodau cerdd dafod a'i pherthynasau." Yr oedd Dafydd ab Gwilym yn yr eisteddfod hono. Bu fyw i oedran dirfawr ; canys efe a gyfansoddodd farwnad i Dudur ab Gronwy, yr hwn a fu farw yn 1315, a bu fyw i weled rhwysg a difancoll Owen, rhwng 1400 a 1415. Claddwyd ef, medd rhai, yn Mynachlog Pant y Groes, ger Llangollen ; tra y dywed eraill, mai yn Llanefydd y claddwyd ef. Pa fodd bynag, yr oedd Iolo Goch yn ddyn pwysig yn ei ddydd, yn feddianol ar wybodaeth a dysg uwchlaw'r cyffredin. Cyfansoddodd farddoniaeth gorchestol, o'r cyfryw llawer a argraffwyd, a dywedir nad oes dim llai na haner cant o'i gyfansoddiadau yn aros mewn llawysgrifen. Y mae ei waith yn werthfawr mewn dau ystyr—yn drysorfa o awenyddiaeth uchelryw, ac yn fynegai anmhrisiadwy i arferion a defodau yr amser cynhyrfus yr oedd yn byw ynddo. Ysgrifenodd hefyd hanes tair talaith Cymru.

## 2.—ACHAU IOLO GOCH.

Y mae y dyfyniad uchod yn enghraifft deg o'r hyn a ddywedir am Iolo Goch, ac a ail adroddir gan y naill awdwr ar ol y llall ; gan ddefnyddio bron yr un geiriau. A chydag eithrio erthygl, gan Mr. D. Lleufer Thomas, yn y *Dictionary of National Biography*, yn yr hon y gwneir defnydd o ysgrifau a ymddangosasant

yn yr *Archæologia Cambrensis* a'r *Cymmrodor*, gyda'r amcan o daflu ammheuaeth ar amseriad y cywydd i Tudur ab Gronw, ac mewn canlyniad yn effeithio ar amser genedigaeth Iolo Goch, nid ymddengys fod yr un o'n gweithiau bywgraffyddol yn arddangos y gronyn lleiaf o allu ymchwilgar na beirniadol. Cyn i ni gynnyg ateb yr amrywiol haeriadau a geir yn y dyfyniad uchod, tybiwn y byddai yn fanteisiol i ni roddi ger bron achau Iolo Goch, y rhai, os na ellir honi iddynt yr hynafiaeth a ddymunem, ydynt yn fwy felly, a dyweyd y lleiaf, na'r awdurdodau argraffedig. Yn y lle cyntaf, dyfynir o achres ag sydd ym meddiant Mr. A. Foulkes-Roberts, Cyfreithiwr, Dinbych, yr hon a gopïwyd o un arall oedd ym meddiant y diweddar Mr. William Decimus Inglett Foulkes, Bar-gyfreithiwr. Gwnaed yr achres wreiddiol oddeutu 1690, gan Randal Holme,[1] o Gaerlleon,—neu yn fwy cywir, y rhan gyntaf o honi; o blegid nid ydyw y rhanau a wnaed ar ol hyny ond ychwanegiadau o achau personau a fuant byw mewn oesau diweddarach. Pan y bydd genym achos i gyfeirio ati, gwnawn hyny dan yr enw "Achres Foulkes."[2] Cyn dyfynu o'r achres, gallwn nodi fod yr hynafiaethydd Robert Vaughan o'r Hengwrt,

---

[1] Bu tri, os nad pedwar, Randal Holme yn olynol; ac yr oeddynt oll yn enwog fel achyddwyr. Yr oedd yr olaf o honynt yn lled dlawd; ac efe a werthodd yr ysgriflyfrau y bu efe a'i hynafiaid mor ddiwyd yn eu casglu i Iarll Rhydychain—yr oll yn 267 o gyfrolau. Y maent yn awr yn yr Amgueddfa Brydeinig.—*Harl. MSS.* 1920—2187.

[2] Y mae y copi o "Achres Foulkes" sydd yn meddiant Mr. Foulkes-Roberts, Dinbych, wedi ei liwio yn hardd, gyda'r pais-arfau wedi eu haddurno yn briodol. Ac arno hefyd y ceir y dystysgrif a ganlyn:—

"The above is a copy made by Mr. J. A. Burt of London, of a Pedigree indorsed 'Mr. Foulkes's Pedigree' in the possession of me the undersigned William Decimus Inglett Foulkes of the Middle Temple, lineal descendant of Peter Foulkes therein named, delivered to me the undersigned Arthur Roberts otherwise Arthur Foulkes-Roberts of St. Asaph, and compared with the original by us.

22nd Octr. 1888. W. D. I. Foulkes,
A. Foulkes-Roberts."

Yr ydym yn cymmeryd y cyfleusdra hwn i ddiolch i Mr. Arthur Foulkes-Roberts am lawer o ddefnyddiau dyddorol y bu mor garedig a'u hanfon i ni tuag at y gwaith hwn. Ac yr ydym yn dra pharod i gydnabod na fuasai ein nodiadau agos mor gyflawn—yn enwedig gyda golwg ar yr achau—oni bai am y cynnorthwy a estynodd i ni mor garedig.





yn ei "Account of the xv Tribes of North Wales," yn dyweyd fod Iolo Goch yn disgyn o Hedd Molwynog.[1] Ond yn awr am y rhan hono o "Achres Foulkes" a ddichon fod yn ddefnyddiol :—




[1] Gwel *Yorke's Royal Tribes* (edit. 1877), pp. 195—97.




Y mae yr "Achres" yn llawer cyflawnach nag y gwelir uchod; ond dyfynwyd digon i'r amcan sydd genym mewn golwg. Ond y





cwestiwn a gynnygia i feddwl y darllenydd yn ddiau yw—A ydyw yr "Achres" yn gywir? Neu, a oes defnyddiau ar gael a ddichon ei chadarnhau? Mewn atebiad, cyfeiriwn y darllenydd i'r *Harl. MS.* 1969, p. 429, lle ceir yr achres a ganlyn:—




[1] Y mae yn anhawdd deall pa un ai mab ynte brawd i *Kyndik* ydyw *Ieuan*, gan fod yr achyddwr yn cywiro ei hun mor aneglur. Ac nis gall yr argraffydd, heb lawer o drafferth, roddi cyfluniad (*facsimile*) o'r taflenau yn *Harl. MSS.* 1969 a 9864.




Ysgrifenwyd yr *Harl. MS.*, 1969, gan mwyaf, gan un Griffith Hughes; ond ceir ynddo rai taflenau gan Randle Holme y trydydd. Gwelir ei fod yn gwahaniaethu mewn rhai pethau oddi wrth "Achres Foulkes." Er enghraifft, yn hono ceir "Kenrick dewis heraird ap Kowryd, Esq," ond gelwir ef yn yr *Harl. MS.* yn "Dikws Herod." Gelwir ei fab "Ierwarth" yn "Ieuan," ond yn ol yr *Harl. MS.*, gallasai Ieuan fod yn fab, neu ynte yn wŷr iddo —mab i Kyndick. Yn yr Ysgriflyfr, gwelir fod i Ithell Goch bump o feibion, a dangosir mewn tudalen dilynol i'r daflen uchod fod i Griffith, Rees, Eignion, a Howell hiliogaeth; ond ni sonir am blant Iolo Goch. Ond y mae un anghyssondeb amlwg rhwng "Achres Foulkes" a'r *Harl. MS.* Yn y blaenaf dangosir fod Robert Ffoulkes o Lannefydd, yn hanu o Ithell Goch, neu Ithell ap Kendrick, trwy ei fab *Griffith*, ond yn yr olaf dywedir mai o'i fab *Rees* yr hanai:—







Yn ol y naill yr oedd Robert Ffoulkes o Lannefydd yn wythfed o Ithell ap Kendrick—ond yn ol y llall y chweched ydoedd. Y mae y ddwy achres yn cytuno o Robert Ffoulkes i fyny hyd Rees ap Ithell; ond yn ol yr *Harl. MS.*, Rees ap Ithell ap Kenrick oedd hwnw; tra yn ol "Achres Foulkes" dywedir fod Rees yn fab i Ithell ap Griffith ap Ithell ap Kendrick. Ond y mae yn bossibl fod yr achyddwr, mewn camgymmeriad, wedi rhoddi llinach ŵyr i Griffith ap Ithell Goch i'w frawd—Rees ap Ithell Goch. Tröwn eto i *Harl. MS.*, 1974, fol. 40, a chawn y daflen a ganlyn:—






Nid ydyw gwahanol ranau o'r daflen uchod mewn un modd yn hawdd i'w deall. Ond fe welir ar unwaith nad ydyw yn cytuno â'r daflen flaenorol parthed i enwau meibion Ithell Goch. Enwau ei feibion yn ol hono oeddynt Yolo Goch, Griffith, Rees, Eignion, a Howell; ond yn ol hon eu henwau oeddynt Rees, Egnion, Eignion, Griffith, a Howell. Y mae enw Iolo yn cael ei adael allan; ond rhoddir Einion i mewn ddwywaith. A gwelir





oddi wrth enwau ei hiliogaeth mai yr un oedd Egnion ag Eignion. Rhoddwn yma eto ran o'r daflen a geir yn *Add. MS.* 9864, fol. 51.




Yn ol y daflen hon enwau plant Ithell Goch oeddynt Yolo Goch, Griffith, Rys, Enion, a Howell. Enwir Iolo ddwywaith, gan ei

osod fel yr hynaf a'r pedwerydd o'r plant. Tybiwn fod y "fferod gwraig Earll Lincon," sydd uwch ei enw yn yr ail le yn golygu ei fam ; a'r Nest sydd is law yn golygu ei ferch. Pa fodd bynag, nid ydym mewn un modd yn sicr, gan fod y daflen yn yr ysgriflyfr wedi ei threfnu mor ddyrysly d. Yr hen chwedl mai Iarlles Lincoln oedd ei fam ydyw ein hunig reswm dros y dybiaeth. Yn yr un ysgriflyfr (*Add. MS.*, 9864, fol. 53) cawn daflen arall, o'r hon y dyfynwn a ganlyn :—



Wrth edrych dros y taflenau uchod, yr ydym yn cael fod plant Ithell Goch yn cael eu trefnu fel y canlyn:—

| *Harl. MS.* 1969. | *Harl. MS.* 1974. | *Add. MS.* 9864. fol. 51. | *Add. MS.* 9864. fol. 53. |
|---|---|---|---|
| Yolo Goch | Rees | Yolo Goch | Yollo Goch |
| Griffith | Egnion | Griffith | Griffith |
| Rees | Eignion | Rys | Rees |
| Eignion | Griffith | Yolo Goch | Enion |
| Howell | Howell | Enion | Howell |
| | | Howell | |

Y mae Iolo mewn tri man yn cael ei osod yn hynaf, ac yn cael ei adael allan mewn un. Gosodir Rees fel y mab hynaf unwaith, tra yr ymddengys yn drydydd deirgwaith. Rhoddir y safle o ail fab i Griffith deirgwaith, ond yn bedwerydd unwaith. Saif Einion yn bedwerydd deirgwaith, ond rhoddir ef yn ail ac yn drydydd gan un awdurdod. Ond y maent oll yn cytuno i osod Howell yn bummed ac yn ieuangaf. Y mae y Chevalier Lloyd[1] wedi tynu allan achres o hynafiaid Iolo Goch yn seiliedig ar "*R. Vaughan of Hengwrt's Pedigrees*; *Salisbury's Pedigrees at Wynnstay*; *Add. MS.* 9.865, fol. 102; *and the Family Archives*" [Vron Iw[2] a Glan y Wern, &c.], yn yr hon y mae yn olrhain achau mam Iolo Goch i Syr Robert Pounderling. Dywed fod Syr Robert Pounderling, Cwnstabl Castell Dyserth, &c., yn byw yn y Siamber Wen, ym mhlwyf y Dyserth, yn amser Edward II. Ac yna ar ol rhyw ddau tudalen o hanes teuluoedd y Vron Iw, rhydd achres faith, o'r hon y dyfynwn y rhan gyntaf:—




[1] *Hist. Powys Fadog*, vol. v. pp. 323-28.

[2] Y mae dau ysgriflyfr achau o'r Vron Iw, gan Lewis Dwnn a George Owen o Henllys, yn awr ym mhlith yr *Egerton MSS.* yn yr Amgueddfa Brydeinig. (Gwel. *Preface to Owen's Descript. of Penbrokeshire.*) Y mae un arall o ysgriflyfrau'r Vron Iw, yr hwn fu unwaith ym meddiant Twm o'r Nant, yng nghasgliad Syr John Williams, 63, Brook Street, Llundain.








Yn yr achres hon, ni cherir llinach Iolo Goch, na'i frawd Griffith, ym mhellach; tra a dygir llinach eu cefnder—Howel Goch—i lawr am genedlaethau lawer. Fe welir fod taflen y Chevalier Lloyd yn gwahaniaethu oddi wrth "Achres Foulkes" yn enwau amryw o hynafiaid Ithell Goch (neu Ithell ap Kendrick) ond y mae y naill fel y llall yn gosod Ithell y degfed o Hedd Molwynog; ac y mae y naill fel y llall yn dyweyd mai Marred [Marged?] ferch Madog Rwth oedd ei wraig. Pa fodd bynag, y mae yn ammheus genym fod Marred yn bummed o Syr Robert Pounderling, os oedd y marchog, fel y dywed Lloyd ei fod, yn byw yn nheyrnasiad Edward II. (1307-1327); o blegid, fel y cawn ddangos eto, rhaid fod Iolo Goch—yr hwn, yn ol Lloyd, oedd yn chweched o Syr Robert—wedi cael ei eni yn ystod teyrnasiad y penadur hwnw. Rhaid i ni addef fod yr achau a ddyfynasom yn ymddangos i ni yn lled ddyrys, a thu hwnt i'n gallu i'w cyssoni. Y mae y gwahanol achresau, mae'n wir, yn cytuno ar y cyfan; ond nid ydynt mewn un modd yn glir ar y pwnc sydd dan ymdriniaeth genym yn bresennol. Tybiasom, fodd bynag, mai doethach oedd eu gosod ger bron, o blegid dichon y gall yr hyn sydd yn dywyll i ni fod yn ddigon eglur i amryw o'n darllenwyr.

## 3.—ENW IOLO GOCH.

Ar ol rhoddi achyddiaeth Iolo Goch o'r ffynnonellau goreu a allem—ar y rhai y mae y darllenydd, yn ddiammeu, wedi llwyr flino—ni a awn rhagom i edrych pa mor bell y maent yn profi, neu yn gwrthbrofi, yr hyn a ddywedir yn gyffredin am dano. "Dywedir," meddir, "mai ei enw bedydd oedd Edward Llwyd." Ond pwy a ddywedodd hyny gyntaf? Y cyntaf, hyd y gwyddom, oedd Twm o'r Nant mewn ysgrif yng *Ngreal* Llundain; yr hwn a sylwa fel y canlyn:—

Penporchell Isav yn mhlwyv Llanefydd, ar dir ag à vu yn etiveddiaeth Iolo Goch, Arglwydd Llechryd. Y gair Penporchell sydd o gam ddywediad am y lle; canys Pen Parc Llwyd á ddylai vod; oblegid Iorwerth Llwyd oedd enw Iolo Goch; a pharc iddo ev oedd y drev ddegwm hòno; ac hi á gyfenwid, cyn i davodau pobl y wlad gam dreiglo y gair o Benparcllwyd yn Benporchell.[1]

Lled anfeirniadol ydyw bron bob peth a ymddangosodd ar dudalenau *Greal* Llundain; a beirniad digon gwael oedd Twm o'r Nant. Ond wedi'r cyfan cafodd Twm o'r Nant ei eni yn Penporchell Isa'; a theg fyddai tybied ei fod yn dra hyddysg yn y traddodiadau hyny a berthynent i fan ei enedigaeth. Enw ar dref ddegwm ym mhlwyf Llannefydd ydyw Penporchell; ac yn y dref ddegwm hono y mae tair o ffermydd yn myned dan yr enwau Penporchell y Bont, Penporchell Ucha', a Penporchell Isa'; ac enw ffermdy cymmydogaethol arall ydyw Penparc Llwyd. Dywed Twm o'r Nant, yn y dyfyniad uchod, mai yn "Penporchell Isav" y ganed ef, ac mai "Pen Parc Llwyd á ddylai vod." A dyna ydyw y traddodiad yn yr ardal hyd heddyw. Pa fodd bynag Penparc Llwyd y gelwir y Penporchell Isa' y cyfeiriai Twm o'r Nant ato yn bresennol. Newidiwyd yr enw fel y dywed Twm o Penparc Llwyd i Penporchell Isa,' rywbryd cyn ei amser ef, a hysbysir ni mai Mr. Robinson, yr hwn yn awr a breswylia yn Deunant Isaf, Llansannan, a'r hwn sydd oddeutu 80 mlwydd oed, a'i newidiodd yn ol drachefn i Penparc Llwyd. Pan yr oedd Penparc Llwyd yn cael ei alw yn Penporchell Isa,' Penporchell Hen Lanc y gelwid y Penporchell Isa' presennol. Yr ydym yn ddyledus am y manylion hyn i Mr. Lloyd, tenant presennol Llechryd.

[1] *Y Greal*, tudal. 81.

Ond beth am yr enw Iorwerth (neu, yn ol ereill, Edward) Llwyd? Gwyddom mai anwyl-enw (*pet name*) ar Iorwerth oedd Iolo, yr hwn a ddefnyddid yn fynych megys amryw anwyl-enwau ereill—Ianto, Lelo, Bedo, &c., ond a ddaethant mewn amser i gael eu hystyried yn enwau gwahanol i'r enwau priodol cyntefig. Mewn cywydd a briodolir i Iolo Goch, ond yr hwn yn ol ein tyb ni a gyfansoddwyd gan Dafydd ab Gwilym, defnyddir yr enwau Iorwerth ac Iolo ar yr un person :—

Iorwerth drwyadl ddioerwas
Erioed ni bu drwg ei ras
. . . . . . . . . . . .
Ba wr un rhol ag Iolo.
Ddefod hardd hoyw fardd y fo[1]

Ym mhen amser cyssylltwyd *Edward* ac *Iorwerth* drachefn yng nghyd, o bossibl o herwydd rhyw debygolrwydd seinyddol, er nad oes unrhyw berthynas geiryddol rhyngddynt; a deuwyd i'w hystyried yn gyfystyr. "Iorwerth y Cyntaf" ydyw y ffurf a roddir yn gyffredin gan ysgrifenwyr Cymreig ar *Edward the First*; ac Edward Williams oedd enw priodol Iolo Morganwg. O'n rhan ein hunain, nid ydym yn gweled unrhyw reswm dros wrthod *Iolo* fel ei wir enw. A chredwn mai lled anaml, mewn cymhariaeth, y gwelir yr enw *Edward* yn achyddiaeth Gymreig y bedwaredd ganrif ar ddeg. Ond ceir Iorwerth, neu Ierwarth, yn fynych.

Gan y dywedir mai *Llwyd* oedd ei gyfenw, y mae y rhai a haerant hyny yn chwilio am reswm dros pa ham y gelwir ef yn *Goch*. Ac un rheswm a gynnygir ydyw ei fod yn ddoethawr yn y gyfraith, ac "yn gwisgo gwn coch, ac am hyny, fe allai, y gelwid ef yn *Iolo Goch*"!! Yn awr, a chaniatau fod Iolo yn Ddoethawr o'r Gyfraith (*Doctor of Laws*), ai tybed y buasai yn gwisgo y gwn coch pan yn carlamu ar hyd y wlad ar feirch a gafodd yn anrheg gan Ithel ap Robert, nes iddo gael y llysenw hwn gan ei gydwladwyr? Ond wrth droi yn ol i'r achau, yr ydym yn cael mai Ithell *Goch* oedd enw ei dad; fod ganddo nai fab brawd yn Tudyr *Goch*, a chefnder o ochr ei fam yn Howell *Goch*. Dywedir hefyd gan y Canon Williams am fardd o'r enw Rhys ab Cynfrig Goch,[2] yr hwn hefyd a elwid yn Rhys Goch Glyndyfrdwy, a'r hwn oedd

---

[1] Cywydd Rhif LII.
[2] *Williams's Eminent Welshmen.*

yn fardd yn ei flodeu o gylch 1400-1430. Yr oedd Iolo Goch, meddir, yn ewythr i hwn, o frawd ei dad; ac efe oedd ei athraw barddonol. Gallwn grybwyll wrth fyned heibio na sonir o gwbl yn yr achau am frawd i Iolo Goch o'r enw Cynfrig; er mai Kendrick (= Cynwrig, neu Cynfrig) oedd enw tad ei dad. Y mae yn wir hefyd fod "Cowydd i Dydur ap Ierwerth Sais" mewn ysgriflyfr o'r ddeunawfed ganrif (*Add. MS.*, 14,901, fol. 17), o waith Rhys ab Cynfrig, wedi ei lawnodi fel y canlyn:—"Rhys Cyng. nai Iolo goch ai cant." Felly y mae yn eithaf tebyg fod Rhys ab Cynfrig Goch yn berthynas agos i Iolo. Ond, a'i adael ef o'r neilldu, gwelwn fod amryw o'r teulu yn myned dan y cyfenw hwn. Ac y mae y ffaith fod cynnifer o *Goch*-iaid yn eu plith yn amgrymu yn gryf ei fod yn enw teuluaidd, yn hytrach na'i fod yn llysenw oddiwrth y "gwn goch." Y mae yr un ystyriaeth yn cyfarfod y tybiaethau ereill a gynnygir, megys mai Iolo Goch oedd ei ffugenw barddonol, neu mai coch oedd lliw ei wallt. Heb law hyny, yr oedd *Goch* yn gyfenw lled gyffredin ym mhlith y Cymry cyn, ac ar ol, amser Iolo; yr hwn gyfenw a gyfnewidiwyd gan achyddwyr Seisonig i Gough, Gouge, Gooch, Goss, a'r cyffelyb. Yr unig ddyfaliad sydd yn ymgynnyg i ni dros y dybiaeth mai Edward (neu Iorwerth) Llwyd oedd ei "wir enw" ydyw i rywun ei gamgymmeryd am fardd arall o'r enw Iorwerth Llwyd, yr hwn, yn ol Gweirydd ap Rhys, a flodeuai rhwng 1310 a 1360[1]. Ond gan nad beth am gywirdeb ein dyfaliad, nid ydym yn cael y cyfenw *Llwyd* o gwbl yn achau Iolo, tra yr oedd *Goch* yn gyfenw cyffredin. A ydym i dybied fod yr oll o'r rhai hyn "yn gwisgo y gwn coch"?

## 4.—PWY OEDD MAM IOLO GOCH?

Ni raid gofyn pwy oedd ei dad; o blegid y mae yr achresau yn cytuno mai Ithell ap Kendrick (neu Cynwric) ydoedd; ac y byddai yn cael ei adnabod wrth yr enw Ithell Goch. Ond dywedir mai ei fam oedd Iarlles Lincoln, a gwneir Gruffydd Hiraethog yn dad bedydd i'r haeriad hwn. Y mae yr awdwyr diweddaraf yn ychwanegu ychydig at hyn—"Os felly," medd Gweirydd ap Rhys, "ymddengys ei fod yn hanner Normaniad[2]"; a chasgliad

---

[1] *Hanes Llen. Gymreig*, tudal. 183.
[2] *Yr un*, tudal. 128.





y Dr. Charles Wilkins ydyw fod Iolo yn "*a De Lacy on his mother's side.*"[1] Rhaid i ni addef ein bod wedi cael ein taraw â chryn syndod, a pheth ammheuaeth, pan ddarllenasom yr haeriad hwn y tro cyntaf, er ys rhai blynyddau yn ol, yn yr *Eminent Welshmen.* Methem ddyfalu pa fodd yr oedd Iarlles Lincoln yn fam i Iolo, os nad oedd Iarll Lincoln yn dad iddo. O'r diwedd, tybiasom y gallai mai gweddw i Iarll Lincoln a briododd ei dad; a buom mewn trafferth fawr i geisio cael gafael ar yr ysgriflyfr yn yr hwn y dywed Gruffydd Hiraethog yr hyn a briodolir iddo. Tybiem, er fod Gruffydd Hiraethog yn byw oddeutu can' mlynedd yn ddiweddarach na Iolo, y dylasai efe fod yn awdurdod ar y mater, ac y cawsem oleuni arno. Ond hyd yn hyn yr ydym wedi bod yn aflwyddiannus i dd'od o hyd i'r cyfryw ysgriflyfr. Gwelir fod yr oll o'r achresau yn cytuno mai gwraig Ithell Goch oedd Marred (neu Marid) ferch Madog Rwth. Ond uwchben enw Iolo Goch yn *Add. MSS.*, 9,864, ceir "fferod gwraig Earll Lincon." Fel y gwelir, nid ydyw y geiriau hyn yn dal unrhyw gysylltiad â phlant ereill Ithell Goch. Ac y mae hyn, yn ychwanegol at y ffaith fod enw Iolo yn ymddangos ddwywaith dan y llinell, yn ei wneyd yn orchwyl anhawdd i benderfynu pa beth a feddylir. Pe buasai enw Iolo wedi cael ei osod *unwaith*, fel yr hynaf, *neu* yr ieuangaf, o'r plant, gallasem yn rhesymol dybied i'w dad briodi "fferod" o flaen, neu ar ol, Marid—ac felly iddo fod yn briod ddwywaith. Ond y mae yn amlwg mai at yr *un* mab y cyfeirir ddwywaith wrth yr enw *Yolo Goch*, ac mai trwstaneiddwch yr achyddwr a fu yr achos o hyny. Ond nid yw mor amlwg pa un ai yr hynaf ynte y trydydd o'r meibion ydoedd. Os yr hynaf ydoedd, y mae y nodyn "fferod gwraig Earll Lincon" wedi cael ei osod, fel y mae enw "Yolo Goch" (yr ail) wedi ei osod, mewn lle ammhriodol. Ond os y trydydd mab oedd Iolo, *ac os oedd yn fab cyfreithlawn*, rhaid mai "fferod" hefyd oedd mam y tri mab ieuangaf, sef Yolo Goch, Einion, a Howell. Ac, meddwn eto, os "fferod" oedd mam Iolo Goch, nis gallai hawlio y disgyniad a rydd y Chevalier Lloyd iddo o Syr Robert Pounderling, trwy Marred, merch Madog Rwth.

Lled ryfedd yn ein tyb ni ydyw y nodyn—"fferod *gwraig*" (nid *gweddw*) "Earll Lincon." Pwy oedd yr Iarll hwn, druan, ag y ceisir genym gredu i'w wraig droi allan mor anffyddlawn iddo?

[1] *Hist. of the Literature of Wales.*

Ai y galluog a'r cyfoethog Henry de Lacy, Arglwydd Dinbych, arglwyddiaeth yr hwn a gynnwysai, fel y dengys De Beckele, yr oll o dref ddegwm Llechryd? Nid ammhriodol, gan i enw Henry de Lacy gael ei ddwyn i mewn, a fyddai ychydig o sylwadau mewn perthynas iddo ef a'i gyssylltiadau teuluaidd. Daeth i feddiant o Iarllaeth Lincoln (ar ol ei nain); gwnaed ef yn Gwnstabl Caerlleon; ac ar ol llofruddio y Tywysog Dafydd ab Gruffydd, yn 1283, rhoddodd Edward I. gastell ac arglwyddiaeth Dinbych iddo. Bu farw yn 1310, yn ei 59 mlwydd o'i oedran; pryd y daeth ei etifeddiaethau i ran ei ferch, Alicia, yr hon a aned oddeutu 1282, ac a fu farw, yn ddiblant, ar ol cyrhaedd i oedran mawr. Gwr Alicia oedd Thomas, Iarll Lancaster, yr hwn a ddaeth trwyddi hi yn Iarll Lincoln ac Arglwydd Dinbych (yn gystal ag Iarll Salisbury, Cwnstabl Caerlleon, &c.); a'r hwn a ddienyddwyd yn 1321. Hysbysir ni, tra yr oedd Iarll Lancaster yn cadw draw o'r llys, i farchog o'r enw Syr Richard St. Martin, yr hwn oedd yn wael yr olwg ac yn fyr o gorffolaeth, gyflwyno deiseb i'r barnwyr, gan hawlio gwraig Iarll Lancaster, etifeddes etifeddiaethau Lincoln a Salisbury. Dywedai yn y ddeiseb iddo ef ymddwyn yn anweddaidd gyda hi, ac iddi hithau addaw ei briodi, cyn iddi briodi yr Iarll. A chan fod yr Iarlles yn casäu ei gwr, cyfaddefodd y ffaith, a'r canlyniad fu i'r barnwyr orchymmyn fod iddi hi, gyda'i hetifeddiaethau, gael ei rhoddi i fyny i'r hawlydd annheilwng[1]. Mewn man arall dywedir wrthym i Alicia, i'r hon nid oedd plant o'r Iarll dienyddiedig, golli ei chymmeriad trwy ei hymddygiadau ammhriodol; gan iddi, heb ganiatad y Brenin, briodi Eubulo de Strange, gyda'r hwn yn flaenorol yr oedd wedi bod yn llawn digon cyfeillgar. O herwydd hyny digiodd y Brenin, a chymmerwyd ei hetifeddiaethau oddi arni.[2] Wedi hyny, daeth yr etifeddiaethau eang hyn i feddiant Hugh le Spencer; ac yna i Henry, Iarll Lancaster. Gwnaed Henry yn Iarll Lincoln yn 1350, a bu farw yn 1360; wedi hyny cariodd Blanche, ei ferch ef, yr Iarllaeth i'w gwr, John o Gaunt, tad Harri IV.

Gwraig Henry de Lacy, a mam Alice, oedd Margaret, merch ac etifeddes Iarll Salisbury. Nis gwyddom pa bryd y bu hi farw; ond y mae yn dra thebyg iddi farw o flaen ei gwr. Felly, nis gallwn

---

[1] *Ancient and Modern Denbigh*, p. 50.

[2] *Ibid.* p. 56.

feddwl mai hi oedd mam Iolo Goch. Y mae yn wir y gallasai yr Iarll briodi ail wraig, ac i hono ei oroesi ef. Pa fodd bynag, rhaid i ni gofio mai yn 1310 y bu yr Iarll farw; ac y mae yn debyg i Iolo Goch gael ei eni yn fuan, a dyweyd y lleiaf, ar ol y flwyddyn hono.

Gwraig Henry, Iarll Lancaster, yr hwn, fel y cyfeiriwyd, a ddaeth i Iarllaeth Lincoln yn 1350, oedd Isabel, ferch Arglwydd Beaumont. Ond gallem feddwl ei bod hi yn llawer rhy ieuanc i wneyd mam i Iolo Goch; ac y mae yn eithaf posibl fod Iolo yn hŷn na hi.

Dynes ddrwg oedd Alicia, gwraig Thomas, Iarll Lancaster; o blegid, heblaw yr hyn a ddywedwyd am dani yn barod, hysbysir ni i John, Iarll Warren, ei chymmeryd ymaith trwy drais. Dywedir hefyd iddi briodi Syr Hugh Frene, ac ei bod yn cyfeillachu yn ddirgelaidd ag amryw o gariadon ereill[1]. Tybiwn, os oedd Iolo yn fab i ryw Iarlles Lincoln o gwbl, mai yr Alicia hon, a fu yn wraig i gynnifer, oedd hono. Ac os y hi oedd ei fam, y mae y dybiaeth yn taflu ammheuaeth ar pa un ai mab cyfreithlawn ai mab ordderch i Ithell ydoedd. Ond y mae un anhawsder eto, *Alicia* oedd enw gwraig Thomas Plantagenet, tra y dywedir mai "*fferod*" (gwraig Earll Lincon) oedd enw mam Iolo Goch. Yr ydym, ar ol chwilio llawer, wedi methu a chael fod "fferod" yn enw priodol na chyffredin, ac yn gorfod boddloni ar y dyfaliad mai rhyw lysenw—o waradwydd, mae'n bosibl—ydoedd. Ar ol addef ein hanallu i gyssoni y mater, ac yn brin awgrymu mai yr Alicia ddywededig oedd ei fam, rhaid i ni symmud ym mlaen, gyda dim ond ail ofyn y cwestiwn—Pwy oedd mam Iolo?

## 5.—PA BRYD Y GANWYD IOLO GOCH?

Yn ol a ddywedir yn gyffredin "efe a gyfansoddodd farwnad i Dudur ab Goronwy, yr hwn a fu farw yn 1315;" ac felly rhaid ei fod wedi cael ei eni cyn hyny. A chaniatau fod y gosodiad hwn yn wir, dylasai Iolo—a dyweyd y lleiaf, fod wedi cael ei eni oddeutu 1295. Ond y mae y rhan fwyaf o'r rhai sydd wedi ysgrifenu arno yn barod i gredu hyn ac i ddyweyd ar yr un pryd iddo "fyw i weled rhwysg a difancoll Owen, rhwng 1400 a 1415." Felly, yr

[1] *Ancient and Modern Denbigh.*

oedd o 105 i 120 mlwydd pan fu farw! Y mae yn wir, y gallai hyn fod; ac y mae genym enghreifftiau o rai wedi cyrhaedd oedran addfed fel hyn—hyny yw, os ydyw ein haneswyr yn dyweyd y gwir. Ond tybiwn y gallwn ddangos nad oes unrhyw angenrheidrwydd i ni dybied i Iolo gyrhaedd oedran mor eithafol. Os darllenir ein nodiadau ar Cywydd Rhif. XXIV., fe welir ein bod yn profi—ac y mae y cywydd ei hun yn profi—mai nid i'r Tudur ab Gronw a fu farw yn 1315 y canodd Iolo y cywydd marwnad ag sydd wedi dyrysu cynnifer o'n hysgrifenwyr; ond i ŵyr iddo, o'r un enw, a fu farw yn 1367[1]. Y mae y nodiadau hyny, heb i ni eu hail-adrodd yma, yn ddigon i daflu ymaith yr anhawsder y cyfeiriwn ato, ac i ddangos y gallasai Iolo Goch fod wedi ei eni yn llawer diweddarach na diwedd y drydedd ganrif ar ddeg.

Y lle nesaf yr ydym yn cyfarfod â Iolo Goch ydyw mewn Eisteddfod a gynnaliwyd ym Maelor, amseriad yr hon a osodir yn gyffredin yn 1330. Yr hanes cyntaf a gawn am yr Eisteddfod hono—sef yr olaf o dair a adnabyddir yn awr wrth yr enw "Tair Eisteddfod Dadeni"—a welir mewn dernyn argraffedig yn yr *Iolo MSS.* Y mae yn rhy faith i'w ddyfynu yn llawn; ond rhoddwn ddigon o hono i alluogi y darllenydd i ddilyn ein hymresymiad:—

Yn amser y Brenin Edwart y III y bu Eisteddfod yng Ngwern y Cleppa dan nawdd a Dawn Ifor Hael; . . . . . . . . Ag yn yr Eisteddfod honno y doded braint Cadair ar fesur Cywydd lle nad oedd felly o'r Blaen a phan canwyd am gadair Dafydd ap Gwilym a ennillws o nerth Awen a chanu a Chymraeg cynhwynol. . . . . . . Gwedi hynny bu Eisteddfod dan nawdd Llywelyn ap Gwilym yn y Ddol goch yn Emlyn ag i honno y daeth Sion y Cent a Rhys Goch o Eryri . . . . . . gwedi hynny y Tri Brodyr a ddodasant Dan Osteg a Rhybudd undydd a blwyddyn Eisteddfod ym Maelor ym Mhowys yn nawdd Iarll Mortimer dan Goron y Brenin Edwart y trydydd ac yno y canwyd am gadeiriau Ac Enyfed ap Gruffydd a gafas am Gywydd Gwr ac am Englynion byrraf Eiry Mynydd, a Madoc

---

[1] Nid ydyw ond tegwch arnom gydnabod i Mr. H. W. Lloyd (*Y Cymmrodor*, vol. v. pp. 261-64) ymresymu y cwestiwn hwn yn foddhaol, gan seilio ei ddadl yn benaf ar ddwy ysgrif a thaflen achyddol o waith Mr. John Williams (*Arch. Cambr.*, 1869, pp. 278, 379), yr hwn a ddilynir gan Mr. D. Lleufer Thomas yn ei erthygl ragorol yn y *Dictionary of National Biography* ar "Iolo Goch." Hyd nes y gwelsom nodiadau Mr. H. W. Lloyd, yr oeddym yn teimlo cryn falchder yn y dybiaeth i ni ddarganfod trwy yr achau a'r cywydd nad oes angen am i ni dybied i Iolo Goch gyfansoddi dim mor foreu a 1315.

y trydydd brawd a gafas gadair a Chae Bedw am Rieingerdd. Ac yn yr Eisteddfod honno ydd addurnwyd Iolo goch ag addurn cadair am eu wybodau a ddysgws Ednyfed ap Gruffydd parth Gwybodau Cerdd Dafod ai pherthynasau. Ac o'r Tair Eisteddfod hyn y cafad gwellhâd ar gerdd Dafod a Chynghanedd.[1]

Ond nid oes yn yr adroddiad uchod amseriad i'r un o'r tair Eisteddfod. Pa fodd bynag, ceisia Gweirydd ap Rhys wneyd y diffyg i fyny trwy sylwi:—"Gan hyny, rhaid y cynnaliwyd y tair ryw bryd rhwng y 29ain o Ionawr, 1327, pan y coronwyd Edward III., a'r 29fed o Dachwedd, 1330, pan ddihenyddwyd Iarll Mortimer; sef yn yr yspaid o dair blynedd . . . . . . Os dodwyd Eisteddfod Ifor Hael yng Ngwern y Clepa dan osteg a rhybudd undydd a blwyddyn, pe dodasid y rhybudd, neu'r cyhoeddiad, yn ebrwydd ar ol esgyniad Edward III. i'r orsedd, nis gallasai gael ei chynnal cyn y fl. 1328."[2] Y mae Mr. Lleufer Thomas, yr hwn sydd yn dilyn yr un cwrs o ymresymiad, yn manylu mwy fyth, ac yn sylwi i'r Eisteddfod y bu Iolo ynddi gael ei chynnal, mae'n debyg, yn 1330, dan nawdd *Roger*, Iarll *cyntaf* March.[3] Ond ni ddywedir yn yr hanes mai *Roger* oedd enw yr Iarll, nac ychwaith mai Iarll *cyntaf* March ydoedd. Ac nid ydyw yr adroddiad, o angenrheidrwydd, yn profi i'r tair Eisteddfod gael eu cynnal bob blwyddyn yn olynol. "*Gwedi hynny*" a ddywedir; yr hyn sydd yn dra ammhenodol.

Addefwn nad ydym mewn un modd yn ystyried y flwyddyn 1330 fel yn amseriad annhebygol i'r Eisteddfod a gynnaliwyd ym Maelor; ond ymddengys braidd yn rhyfedd i dair o Eisteddfodau gael eu cynnal yn yr yspaid byr o dair blynedd ar ol cysgadrwydd mor hir. Yr hyn yr amcanwn alw sylw ato ydyw y ffaith nad ydym mewn un modd yn rhwymedig i dderbyn yr ymresymiad uchod. Yn y lle cyntaf, bu Edward III. yn teyrnasu o 1327 hyd 1377; ac yn ail, er i Roger Mortimer, Iarll March, gael ei ddienyddio yn 1330, pryd y fforffedwyd ei etifeddiaethau, adferwyd y teitl a'r etifeddiaethau i'w ŵyr, Roger, ail Iarll March, yn 1355.[4] Ond yr hyn sydd yn ymgynnyg i ni fel rheswm dros mai yn 1330 y cynnaliwyd y drydedd Eisteddfod ydyw yr awgrymiad a geir parthed i'r hyn a ddygwyddodd i Iolo ynddi. Am dano ef,

[1] Iolo MSS., p. 96.
[2] *Hanes Llen. Gymreig*, tudal. 87.
[3] *Dict. of Nat. Biography*.
[4] Gwel Cywydd Rhif IV.

dywedir iddo gael cadair nid am farddoni, ond am ei "wybodau a ddysgws Ednyfed ap Gruffydd parth Gwybodau Cerdd Dafod a'i pherthynasau" iddo. Tebyg mai y frawddeg hon, yn gystal a nodyn a geir ar y tudalen blaenorol yn yr un gwaith, ydyw y sail dros ddyweyd mai Ednyfed oedd ei athraw barddonol. Pa fodd bynag, yn ei Gywydd Marwnad i Llywelyn Goch, y mae Iolo yn cydnabod iddo dderbyn llawer o addysg yn y gelfyddyd ganddo yntau.[1] Yn awr, pa bryd bynag y cynnaliwyd yr Eisteddfod, ymddengys nad oedd Iolo ond lled ieuanc. Nid oedd mewn oed i ganlyn y "Tri Brodyr Marchwiail"—Madog Benfras, Ednyfed ab Gruffydd, a Llywelyn ab Gruffydd—i'r ddwy Eisteddfod flaenorol, o'r hyn lleiaf, ni sonir am ei enw yng nglŷn â'r naill na'r llall; ond pan gynnaliwyd Eisteddfod yn ei sir enedigol, yr ydym yn ei gael ef yn cael ei gadeirio, nid fel bardd, ond fel dysgybl barddol. O'r ochr arall, yr oedd Dafydd ab Gwilym, yr hwn, fel y gwyddom, a anwyd yn y flwyddyn 1300, yn bresennol yn y tair Eisteddfod, ac yn cymmeryd rhan flaenllaw ynddynt.

Yn awr, os tybiwn fod Iolo oddeutu 20 mlwydd oed pan gynnaliwyd yr Eisteddfod, ac os cynnaliwyd hi yn 1330, fel y dywedir; yna ganwyd ef oddeutu'r flwyddyn 1310. Ond os ar ol adfer y teitl i'r *ail* Iarll March yn 1355 y cynnaliwyd yr Eisteddfod, a dilyn yr un ymresymiad, ni anwyd Iolo hyd 1335. Wrth edrych dros ei gywyddau i "ofyn march i Ithel ap Robert,"[2] y rhai, os cywir ein hawdurdod,[3] a gyfansoddwyd o angenrheidrwydd cyn diwedd 1382; ac yn y rhai y cwyna y bardd ei fod wedi myned yn hen, tueddir ni i wrthod 1335 fel amseriad ei enedigaeth. Os yn 1335 y ganwyd ef, nid oedd ond 47 mlwydd oed yn 1382; ac os ganwyd ef yn 1310, yr oedd oddeutu 72 oed yn 1382. Prin y gallasai dyn 47 mlwydd oed gwyno ei fod yn myned yn hen, yn rhy hen i farchogaeth march bywiog, os yr arferai farchogaeth; tra y gallesid dysgwyl cwyn o'r fath gan ddyn o 60 i 72 mlwydd oed. Wrth gwrs, gallasai amryw bethau achosi iddo heneiddio i raddau yn anamserol, megys gwaeledd iechyd, anghymmedroldeb mewn bwyta ac yfed; a rhaid i ni gymmeryd yn ganiatäol fod y ffyrdd yn eirwon ac anhawddach eu tramwyo y pryd hwnw nag

[1] Cywydd, Rhif. XXXVI., llin. 47.
[2] Cywydd, Rhif. XXX. a XXXI.
[3] Thomas's *Hist. Dioc. St. Asaph*, p. 236.

ydynt yn awr. Wedi'r cyfan, ar ol ystyried pob peth, hawddach genym gredu i Iolo gael ei eni yn nes i 1310 na 1335. Ond addefwn nad ydyw hyn oll ond dyfaliad.

## 6.—COED PANTWN A LLECHRYD.

Nid oes nemawr o draddodiadau ar dafodau y werin am Iolo Goch yn aros ym mhlwyf Llannefydd, ym mhellach na bod ei enw yn cael ei gyssylltu yng nglyn â Llechryd yn lled gyffredinol. Ond dywedir wrthym y byddai un Thomas Roberts, yr hwn a fu yn was ffyddlawn yn Llechryd am agos i 80 mlynedd, a'r hwn a fu farw er ys rhai blynyddau yn ol, yn arfer adrodd llawer o bethau rhyfedd am Iolo. Nid oedd dim yn fwy wrth fodd Thomas Roberts, druan, na son am wychedd a gogoniant hynafol Llechryd, ac am yr hyn a glywodd gan ei hynafiaid yng nghylch y rhwysg a gadwai Iolo yno yn ei ddydd. Arferai Iolo, yn ol Thomas Roberts, fyned allan mewn cerbyd yn cael ei dynu gan *chwech* o geffylau. Ac hefyd am y rheswm ei fod yn yrwr cyflym, lledaenid rhybudd o'i fwriad i fyned allan rai dyddiau yn flaenorol, fel y gallai pobl y wlad oddi amgylch gadw o'i ffordd; o blegid, nid yn unig yr oedd yn gyru yn chwyrn, ond elai dros unrhyw greadur a fyddai mor anffodus a sefyll yn ei ffordd! Er mor anhygoel ydoedd chwedlau Thomas Roberts, nid oeddynt nemawr yn fwy felly na'r rhan fwyaf o'r hyn a ddywedir am Iolo Goch.

Y mae Williams[1], ac ereill ar ei ol, yn dyweyd fod Iolo yn Arglwydd Llechryd, yn byw yn Coed Pantwn, ac fod Pantwniaid y Plas Gwyn ym Môn yn hanu o hono. Mewn perthynas i'r haeriad olaf, gallwn sylwi i ni fethu a chael dim yn achau Iolo na'r Pantwniaid i'w gadarnhau. Mewn nodiadau o eiddo y diweddar Mr. E. G. Salisbury (yr hwn fu un amser yn A.S. dros Gaerlleon) dywedir:—"Cyfeirir ato [Iolo Goch] mewn llythyr a ysgrifenwyd yn 1755 gan William Wynne, o Llanfair Gynhafal, at y Parch Evan Evans, fel 'o Coed Pantwn ym mhlwyf Llan Nefydd yn Sir Ddinbych, lle y mae dernyn o dir wedi derbyn yr enw Gardd Iolo ar ei ol'. Dywed Mr. Wynne ym mhellach ei fod o'r un teulu a'r Pantwniaid, ac y mae yn debyg mai ei ddilyn ef a wnaeth Canon Williams[2]."

---

[1] *Eminent Welshmen*, art. "Iolo Goch."
[2] Anfonwyd y nodiadau at Mr. A. Foulkes-Roberts, Dinbych.

Nid oes ym mhlwyf Llannefydd yn bresennol yr un lle o'r enw Coed Pantwn; na phrawf ychwaith, heb law yr haeriad mai yno yr oedd Iolo yn preswylio, am enw lle o'r fath. Y mae preswylfod mewn rhan arall o blwyf Llannefydd—oddeutu milltir i'r gogledd o bentref Llannefydd—o'r enw *Plas* Pantwn. Pa fodd bynag, yn ffinio â fferm y Llechryd, y mae fferm arall o'r enw "Coed," percheuog presennol yr hon ydyw Mr. Griffith, o'r Garn, Henllan. Y mae yr adeiladau perthynol i'r Coed, yr hon sydd yn fferm o ryw 76 o acerau, mewn sefyllfa adfeiledig. Adnabyddir un o'r caeau perthynol i'r fferm hon wrth yr enw "Cae'r Gerddi," a chan ereill yn "Gardd Iolo," yr hyn sydd i raddau yn awgrymiadol. Ac y mae yn eithaf posibl mai yma y preswyliai Iolo Goch. Y mae y dybiaeth yn derbyn ychydig o gadarnhad yn nhraddodiad hen bobl yr ardal, sef fod y Coed a'r Llechryd un amser yn perthyn i'r un teulu. Dywedir hefyd gan rai pobl oedranus yn y gymmydogaeth mai hen enw y Coed oedd Coed Pantwn, ond ychydig o'r tô ieuanc sydd wedi ei glywed yn cael ei alw felly.

Y mae "Llechryd" yn enw ar dref ddegwm, yn gystal a fferm yn y dref ddegwm, ym mhlwyf Llannefydd, yn Sir Ddinbych. Geilw un ysgrifenydd y dref ddegwm yn Llechryd Ty Celyn;[1] ond nis gwyddom pa ham, o blegid nid ydyw y Ty Celyn ond tŷ bychan ar fin y ffordd yn agos i ffermdy Llechryd; ac nid ydyw Llechryd ychwaith yn 5½ milltir i'r gogledd-orllewin o dref Ddinbych, fel y dywed yr un ysgrifenydd, ond yn hytrach saif Llechryd, a'r Coed hefyd, ryw 3 milltir o Ddinbych yn y cyfeiriad a nodwyd. Ac ar ol teithio ym mlaen ryw 2¼ milltir ym mhellach, cyrhaeddwn bentref Llannefydd. Am y fferm a elwir yn Llechryd, cynnwysa yn awr dŷ a rhyw 85 o acerau o dir rhydd-ddeiliadol; ac y mae genym le i gredu iddi fod ym meddiant disgynyddion o'r un teulu er amser tad Iolo Goch. Ymddengys y tŷ fel pe wedi ei adeiladu er ys rhai cannoedd o flynyddoedd. Y mae o faintioli mwy na llawer o'r amaethdai cymmydogaethol; ei ystafelloedd yn isel, ei furiau yn gadarn, y coed o dderw, a'r ffenestri yn fychain. Y mae y rhodfa o'r ffordd at y tŷ yn llydan; y meusydd cylchynol yn ymddangos yn fwy golygus a thoreithiog na ffermydd yn gyffredin; ac y mae pob peth o'i gwmpas yn dyweyd iddo weled amser gwell. Pa bryd y daeth y teulu hwn i Lechryd gyntaf sydd fwy nas gallwn

[1] *Geir. Cen. Cymru* (O. Jones), cyf. ii., tudal. 188.





benderfynu; ond gwelwn oddi wrth "Achres Foulkes" fod tad Iolo Goch yn cael ei alw yn "Ithell ap Kendrick of Llechryd;" ac yn yr un "Achres" ceir fod ffoulke ap David, yn gystal a'i fab Robert ffoulkes, yn cael eu dysgrifio fel "of Llechryd gent'."

Yr ydym yn analluog i olrhain llinach Ithell ap Kendrick, neu Ithell Goch, ym mhellach nag a wneir yn *Harl. MS.* 1969—sef i Hugh Fouks, yr hwn a briododd Elin, ferch i "Edward Lloyd of Wickwar."[1] Yn rhinwedd y briodas hon, daeth teulu y Wigfair (Wickwar) i gyssylltiad â hen deulu Llechryd. Ac yn 1619, cytunwyd â'r trefniant fod i Hugh ap Evan Lloyd o Lechryd a'i ddisgynyddion, a Robert Ffoulkes o Lechryd a'i ddisgynyddion, gael eu claddu yn gyfochrog, bob un yn ei dro *(alterius vicibus)* yng nghangell Eglwys Llannefydd. Er mwyn i'r drefn hon gael ei chario allan yn deg, buasai yn ofynol hefyd, feddyliem, i'r ddau deulu gytuno i farw bob yn ail. Ond yr hyn a feddylid yn ddiau oedd, os byddai dau o'r un teulu farw yn olynol, fod i'r ail gael ei gladdu yn y fynwent. Ar fur gogleddol yr eglwys hono, ceir coflech ar yr hon y mae yn argraffedig yr hyn a ganlyn:—

In the outer most of the three burying
Places in the two next seats lyeth
interrd the body of Richard
Edwards of Llechryd gent' who
dyed the 17 day of Ivly 1690
as do also the bodyes of severall
Heyres & Dependents of that Hovs
In the two other bvrying places
between that and the wall pvrsvant
to an indentvre of award
made in the year 1619 wherein
Tis orderd that Hvgh ab Evan
Lloyd of Llechryd and Robert
Fovlkes of the same & their
Heyres shall bvry in those
three Bvrying Places
Alterius
vicibus.[2]

[1] *Hist. Powys Fadog*, vol. v., p. 305.

[2] Hysbyswyd ni gan y Parch. E. Jones, Rheithor Llannefydd, i'r goflech uchod gael ei symmud pan ail adeiladwyd yr Eglwys yn 1858-9, o'r mur dwyreiniol, lle dylasai fod, i'r mur gogleddol. Ac o herwydd hyny y mae yn gamarweiniol.

Y mae y trefniant hwn, yn gystal a bod Hugh ab Evan Lloyd a Robert Ffoulkes yn cael eu dysgrifio fel o Lechryd, ac hefyd fod y cyfenw Ffoulkes yn cael ei ddefnyddio gan ddisgynyddion y blaenaf, yn awgrymu fod rhyw berthynas deuluaidd agos rhyngddynt. Ond nid ydyw coflyfrau plwyf Llannefydd, gan nad ydynt yn myned ym mhellach yn ol na 1720, yn rhoddi unrhyw gynnorthwy tuag at egluro y berthynas, ac nid ydyw yr achau ychwaith yn ein cynnorthwyo.

Hysbysir ni gan Mr. A. Foulkes-Roberts, fod rhan o'r Llechryd presennol, yn 1623, yn perthyn i "ffoulke hughes of Llechryd gent," yr hwn, yn ol *Y Cwtta Cyfarwydd,* a fu farw Tachwedd 14, 1646. A ydoedd y Ffoulke Hughes hwn yn fab i Hugh Ffoulks a briododd Elin, ferch Edward Lloyd o Wigfair? Gwyddom ei bod yn arferiad y pryd hwn i enw y tad gael ei ddefnyddio fel cyfenw i'r mab. Pa fodd bynag, er ein bod yn y fan hon yn methu olrhain llinach gyfochrol Iolo Goch—sef trwy linell uniongyrch ei frawd Griffith—i ddim sicrwydd ym mhellach nag i'r Hugh Ffoulkes uchod, galluogir ni, trwy gynnorthwy gweithredoedd ac ysgrifau teuluaidd, i roddi taflen achyddol o berchenogion Llechryd o ddechreu yr eilfed ganrif ar bymtheg hyd yn bresennol. Ac y mae yn amlwg fod Hugh ap Evan Lloyd, y cyntaf yn y rhestr a ganlyn, yn gyd-oeswr â Robert Ffoulkes a nodir yn y weithred, yn 1619, gyda golwg ar drefniant y claddu. Ac y mae yn dra thebyg ei fod yn berthynas agos iddo.

Hugh ap Evan Lloyd=
A gladdwyd ddydd Iau, Gorphenaf 11, 1639. (Gwel *Y Cwtta Cyfarwydd*).

Merch (?) i Hugh ap Evan Lloyd=

Richard Ffoulkes, "of Llechryd gent." Profir fod Richard Ffoulkes yn ŵyr i Hugh ap Evan Lloyd, yn y dyfyniad a ganlyn o un o weithredoedd (*deeds*) Llechryd; yr hon a wnaed yn 1656:—

"All that messuage and tenement with the appurtenances in Llechrid . . . . . late in the tenure of Hughe ap Iee'un Lloide deceased (late grandfather of the said Richard ffoulke) . . . . . , videl't one old house one new house one barn one cattle house one garden one orchard . . . . . and all those" [fields, &c.]

Mewn ewyllys, dyddiedig Tachwedd 5, 1686, gadawodd Richard Ffoulkes Lechryd i'w nith :—





Margaret Lloyd = Richard Edwards, Penporchell, "yeoman," wedi hyny "of Llechryd, gent." Bu farw Gorphenaf 17, 1690, a chladdwyd ef yng nghangell Eglwys Llannefydd, fel y gwelir uchod.

Foulke Edwards o Lechryd. =

Richard Foulkes[1] o Lechryd =

John Foulkes o Lechryd. =

John Foulkes o Lechryd. =

Mary Foulkes = Hugh Edwards

John Edwards

Richard Foulkes Edwards, Bardd Cadeiriog yn dwyn y ffugenw "Rhisiart Ddu o Wynedd." Bu farw yn America yn 1870, yn 35 mlwydd oed.

John Richard Foulkes, o Lechryd. Bu farw yn ddibriod, pryd y daeth Llechryd i feddiant ei ddwy chwaer.

Elizabeth Margaret Foulkes.

Sarah Jane Foulkes = Peter Roberts, Fferyllydd, Llanelwy, ac Ynad Heddwch dros Sir Fflint.

Arthur Roberts. Marw yn faban.

Arthur Foulkes-Roberts, = Cyfreithiwr, Dinbych.

Plant ereill.

Plant.

Perchenogion Llechryd yn bresennol, fel y gwelir, ydynt Miss E. M. Foulkes, a Mrs. Peter Roberts, Llanelwy. Ac y mae y traddodiad yn cael ei drosglwyddo i lawr o oes i oes fod Llechryd yn perthyn i'r un teulu er amser Iolo Goch. Fe welir, fodd bynag, fod anhawsder i brofi y berthynas oedd rhwng Hugh ap Evan Lloyd, sef y cyntaf yn y daflen uchod, a Robert Ffoulkes oedd yn cynnrychioli *Griffith*, brawd Iolo Goch. Ac nis gallwn ddangos pa un a ydoedd Margaret Lloyd, y drydedd yn y daflen, yn ei

1 Bu i Richard Foulkes fab anghyfreithlawn o'r enw Peter, yr hwn a fabwysiadodd yr enw teuluaidd *Foulkes*. O hono ef yr hanodd y Parch. Richard Foulkes (*Silas Glan Dyfrdwy*), yr hwn oedd yn daid i Mr. Richard Foulkes Griffiths, o'r *Inner Temple*.

gynnrychioli ai peidio. Ond fe welir fod y cyfenw *Foulkes* yn parhau yn y teulu bron yn ddifwlch. Y mae hyn, gyda phethau ereill, yn peri i ni dybied fod y perchenogion presennol yn hanu o'r un llinach.

Ond beth am yr haeriad fod Iolo yn "*Arglwydd* Llechryd"? Cyn ceisio ateb y cwestiwn, dyfynwn yr hyn a ddywedir am y dref ddegwm hono gan Hugh de Beckele, yn ei adroddiad am Gastell ac Arglwyddiaeth Dinbych, yn y flwyddyn 1334. A barnu oddi wrth ffeithiau ereill, yr oedd tad Iolo Goch, os nad oedd Iolo ei hun, yn berchenog—hyny yw, yn rhydd-ddeiliad—ar ryw gyfran o'r dref ddegwm yn yr adeg hono. Fel hyn y cyfieithir tystiolaeth De Beckele:—

*The township of Leghred* (*Llechryd*) was held by Welsh tenants in three "lecta" containing 460½ acres. The Prince had 8s. 3½d., and the lord 13s. 5d. rent for his share, and 8s. for the year's herbage.[1]

Er nad ydyw y dyfyniad ond byr, eto y mae yn lled gynhwysfawr. Dywedir wrthym pa nifer o acerau oedd yn nhref ddegwm—nid *arglwyddiaeth*—Llechryd; fod y tenantiaid yn perthyn i dair gwelygordd *(lecta)* wahanol—hyny yw, i deuluoedd gwahanol; ac yr oeddynt, er yn ddiammeu yn rhydd-ddeiliaid, i dalu y gofynion arianol i'r tywysog a'r arglwydd fel pob rhydd-ddeiliaid ereill. Ac wrth yr *arglwydd* yma y golygai De Beckele, nid Arglwydd Llechryd, ond Arglwydd Dinbych—cynnrychiolydd y diweddar Henry de Lacy, pwy bynag ydoedd. Y mae yr ymadrodd tair gwelygordd (*three lecta*) yn profi yn ddigon amlwg, feddyliem, nad oedd ond un ran o dair—nid rhan gyfartal y mae'n bossibl—o dref ddegwm Llechryd yn perthyn i deulu Iolo Goch, ac fod y rhan hono, fel y rhanau ereill, yn ddarostyngedig i "rent arglwydd." Mewn gweithred a wnaed yn 1653, yr ydym yn cael fod rhan o'r hyn a adnabyddir yn awr fel ffermdy Llechryd yn agored i'r un taliadau.[2] I'n tyb ni, y mae yr achau a'r ffeithiau ag yr ydym eisoes wedi eu dwyn ger bron yn profi nad oedd y fath beth o gwbl ag *Arglwyddiaeth* Llechryd yn cael ei chydnabod nac yn bodoli yn amser Iolo Goch, os bu y fath beth erioed.

---

[1] Quoted in *The Records of Denbigh*, vol. i., p. 208.

[2] "The rents and services due and payable from and out of the premises to the Cheef lord or lords of the fee."

Dyfyna y Parch. Robert Jones, o Rotherhithe, linell o waith rhyw hen fardd ag oedd, meddai ef, bron yn gydoesẃr â Iolo, yr hon a ddarllena :—

"Iolo achrwm o Lechryd."[1]

Gwnaethai Mr. Jones gymmwynas nid bychan i ni pe rhoddasai enw awdwr y llinell awgrymiadol hon. Y mae nid yn unig yn cyssylltu Iolo â Llechryd, ond hefyd yn awgrymu nad oedd, o leiaf tua diwedd ei oes, yn hawddgar a golygus ei berson. Ac fel y cawn gyfeirio eto, y mae amryw linellau yng ngweithiau beirdd ereill yn awgrymu fod Llechryd ym meddiant Iolo. Ond y mae yn dywyll i ni pa ham y dywedir ei fod yn *arglwydd Llechryd* ac hefyd yn *byw yn Coed Pantwn?* A ydym i dybied mai Coed Pantwn oedd enw yr hen breswylfod, ond ei fod fel rhyw is-arglwydd, neu arglwydd y faenoriaeth, ar y rhanbarth a elwid Llechryd? Nis gallwn ateb y cwestiwn; ac nid oes unrhyw brofion, hyd y gwyddom, heb law llais traddodiad yn unig, ar gael gyda golwg ar hyn. Nid ydym mewn un modd am anwybyddu traddodiad; o blegid yn absennoldeb ffeithiau, nid oes genym ddim arall i'n hyfforddi. Eto ni ddylem roddi llawer o bwys ar draddodiad. Diammeu i Twm o'r Nant glywed y traddodiad i Penporchell fod yn etifeddiaeth i Iolo Goch, ac mai parc iddo ef oedd y dref ddegwm hono. Ond yr ydym yn ofni mai enw blaenorol y lle—a chaniatau mai Penparc Llwyd oedd ei enw cyntefig—gyda'r dybiaeth mai Iorwerth *Llwyd* oedd gwir enw Iolo, a roddodd fod i'r traddodiad; ac nad yw y cyfan ond ffrwyth dychymmyg rhyw un a dybiai ei hun yn dipyn o awdurdod mewn egluro enwau lleoedd. Y mae Penparc Llwyd filltir helaeth o Lechryd a'r Coed, ac os hwn oedd parc Iolo, yr oedd ganddo etifeddiaeth led dda. Ond ai nid oddeutu Llechryd, neu'r Coed, y buasai yn rhesymol edrych am ei "barc?" A ganlyn a ddywedir gan De Beckele am dref ddegwm Penporchell, ac nid oes gair ganddo am Penparc Llwyd :—

*The township of Penporghethl* (*Penporchell*), a purely Welsh settlement, of 1048½ acres, tunc-rent and services 16s. 5d., acreages 32s. 6½d., herbage of wood, &c., 25s. Divers tenants of Lleweny, Astret Canon, Beryn, &c., claimed the rest, in exchange for their inheritance.[2]

---

[1] *The Poetical Works of the Rev. Goronwy Owen*, vol. i., p. 217, note 5.
[2] *The Records of Denbigh*, vol. i., p. 210.

Ni wyddom ddim mewn perthynas i wraig Iolo Goch mwy nag a ddywedir yn *Add. MS.* 9864; sef mai "Marged" oedd ei henw, a'i bod yn ferch i "Adda (? Vychan) ap Enion ap Adda ap Y yr yna ddu o lyn." Ychwanegir i'w ferch, Nest, briodi "Gr. vu ol . . . gwr yr Earll"—neu Gruffydd a fu olygwr yr Iarll [Lincoln ?], mae'n debyg. Dywed *Greal* Llundain fod i Iolo feibion hefyd—"ev a'i veibion á gladdwyd yn Monachlog Eglwysegl ger llaw Llangollen." Ond ofer hollol a fu pob ymchwiliad am ddisgynyddion ei ferch a'i feibion. Pa fodd bynag, y mae genym dystiolaeth Iolo ei hun fod ganddo deulu. Yn ei Gywydd "Marwnad Ithael ap Rhotpert," awgryma y golled a fyddai iddo ef a'i deulu ar ei ol:—

Gwae di Iolo gwae ei deulu
O'r pyllaid aur i pwll du.[1]

Ac y mae y llinell flaenaf yn lled awgrymiadol. Y mae yn cynnwys rhywbeth dyfnach a mwy personol na galar ar ol cyfaill; y mae ynddi swn colled ac anffawd deuluaidd. Pe buasai Iolo yn *Arglwydd* Llechryd, fel yr haerir ei fod, nis gallasai marwolaeth cyfaill beri unrhyw anghyfleusdra i'w deulu. Ond y mae amryw o gywyddau Iolo yn awgrymu yn gryf ei fod, os nad yn wirioneddol, yn *gymharol*, dlawd ar un adeg o'i fywyd. Gwelir yn amryw o honynt gyfeiriadau at yr anrhegion a'r rhoddion a gaffai gan y personau y canai iddynt—ac ym mhlith yr anrhegion y mae yn nodi iddo dderbyn *aur*. Yn yr un cywydd ag y dyfynwyd y ddwy linell uchod, dywed:—

A rroddes i ni rruddaur
Llydan ac arian ac aur.[2]

Gwelwn iddo hefyd anfon dau gywydd "i ofyn march" at Ithel ap Robert, yr hyn, a dyweyd y lleiaf, nid yw yn profi ei fod yn gyfoethog; ac nid ydyw yn cytuno ychwaith â dywediad yr hen Thomas Roberts, sef y byddai y bardd yn myned allan mewn cerbyd yn cael ei dynu gan chwech o feirch porthianus. O blegid gallem dybied oddi wrth erfyniadau Iolo ei fod ar yr adegau hyny heb yr un march o gwbl. Hwyrach yr adgofir ni fod cyfansoddi cywyddau i ofyn am anrhegion yn arferiad dra chyffredin yn yr

---

[1] Cywydd Rhif XXXII., llin. 99-100.
[2] Yr un, llin. 15-16.





oes hono, ac am ganrifoedd wedi hyny. Gwir; ond nis gwyddom am neb o'n beirdd wedi gwneyd hyny, heb law y rhai fyddent mewn angen; os na fyddent yn gofyn cymmwynas dros rywun arall. A dyweyd y lleiaf, ni fuasai neb gyda llonaid ystabl o feirch yn erfyn am farch yn anrheg. Dengys rhai o ganiadau Tudur Aled fod Iolo yn ddibynol i raddau pell ar haelioni Ithel. Yn un o'i gywyddau i Syr Thomas Salsbury, sylwa:—

Fal Nanmor o flaen unmaeth,
Tan rent i'r Towyn yr aeth;
Dafydd faer rhydd Ifor Hael,
Iolo doeth i wlad Ithael;
Gyda chwi ei gyd o chaf
Feistrolaeth, f'oes a dreuliaf.[1]

Dyweyd y mae Tudur wrth Salsbury o Leweni fod i feirdd ereill, cyn ei amser ef, eu cymmwynaswyr a'u noddwyr, megys Rhys, Arglwydd Tywyn, i Dafydd Nanmor; Ifor Hael i Dafydd ab Gwilym; ac Ithel ap Robert i Iolo Goch, yr hyn a rydd fel rheswm dros iddo yntau ddysgwyl caredigrwydd cyffelyb gan ei noddwr. Mewn cywydd arall, yn yr hwn y mae yn gofyn "Gown gan Syr Sion Tudur, Curad Elsmer, i Guttyn Wilcog," sylwa:—

Iolo Goch pob elw a gai
I Lys Ithel y saethai!
Saethaf i le sy wythwell,
Son am hael sy iawn ymhell.[2]

Yr oedd Tudur Aled yn byw o leiaf gan' mlynedd yn ddiweddarach na Iolo Goch; ond nid yn rhy ddiweddar i glywed am ei arferion cardotäol. Ond a ydyw hyn yn gysson â'r haeriad ei fod yn "*Arglwydd* Llechryd"? Y mae rhyw ysfa ryfedd ar ein awduron i wneyd bron yr oll o'r hen feirdd yn "wŷr boneddig tiriawg"—yn "canu ar eu bwyd eu hunain," ac yn gyffelyb. Ond yn dra gwahanol y mae hyny o ffeithiau sydd ar gael am y mwyafrif o honynt.

Y mae Iolo hefyd mewn un man yn anerch Owain Glyndwr, ac yn sylwi:—

Klod bod kyd boed alussen,
Diwarth hwyl da wrth hen.[3]

[1] *Cein. Llen. Gymreig*, cyf. i., tudal. 338.
[2] Yr un, tudal. 344.
[3] Cywydd Rhif X., llin. 13-14.

O'r braidd nas gallem gasglu oddi wrth un o'i gywyddau ei fod yn bwriadu myned ar "gylch clera" i Sir Fôn;[1] ac yn wir, y mae yn rhestru ei hun yn barhaus ym mhlith y cler-feirdd, ond nis gwyddom pa un ai yn ddifrifol neu ynte mewn ysmaldod. Ond o'r ochr arall, y mae perygl i ni gario ein hymresymiad yn rhy bell, a gwneyd yr hen fardd yn dlotach nag ydoedd. Gwelwn ym mhlith ei fyfyrdodau galarus ar ol Tudur Fychan, o Benmynydd, y ddwy linell a ganlyn :—

Gwae finnau heb gyfannedd
Gweled bod mewn gwaelod bedd.[2]

O roddi yr ystyr lythyrenol i'r linell flaenaf, buasai yn rhaid i ni gredu fod Iolo, pan gyfansoddodd y cywydd, yn ddigartref ac yn byw yn hollol ar ewyllys da Tudur Fychan. Ni ddylid ychwaith rhoddi dim pwys ar benawd y cywydd hwnw i "Owain Glyndwr cyn iddo godi mewn rhyfel yn erbyn y Brenin, ag i ganmol Llys Sycharth lle'r oedd y Bardd yn myned wrth wahawdd yn hen ŵr i aros dros fywyd."[3] Dylem yn y fan hon, wrth fyned heibio, rybuddio y darllenydd na ddylai ar yr un cyfrif osod ond ychydig, neu ddim, pwys ar y penawdau a geir mewn ysgriflyfrau diweddar. Nid oes iddynt amgen nag awdurdod y copïwr yn unig; gan nad oes penawd, ond yn lled anaml, yn yr ysgriflyfrau hynaf. Os rhoddir ystyr lythyrenol, meddwn eto, i'r ddwy linell a ddyfynir uchod, ac os rhoddir pwys ar y penawd a nodwyd, nid oedd Iolo hyd yn oed yn berchenog Coed Pantwn, heb son am fod yn Arglwydd Llechryd. Ond nid oes, hyd y gwelwn, unrhyw reswm dros gario y ddadl i'r eithafion yna.

Yr hyn yr ydym yn dadleu drosto ydyw nad oedd yn rhyw *nodedig* o gyfoethog; ond nid oes angenrheidrwydd i ni ei wneyd yn grwydryn digartref. Yr ydym, fe allai, wedi cymmeryd mwy o drafferth gyda'r pen hwn nag a wnaethem, mewn canlyniad i'r sylw a wneir gan Gweirydd ap Rhys :—"Dywed rhai mai Iolo Goch oedd Bardd Teulu Owen Glyndwr; ond y mae hyny yn sicr o fod yn gamsynied; canys yr oedd Iolo ei hun, fel y gwelwyd, yn ŵr boneddig cyfoethog, yn meddu tiriogaethau eang, a llys godidog

---

[1] Cywydd Rhif XXV.
[2] Cywydd Rhif XXIV., llin. 57-58.
[3] Cywydd Rhif X., Nodiadau Arweiniol.

yng Nghoed Pantwn."[1] Ond y mae yn amlwg nad oedd Gweirydd wedi gweled holl gyfansoddiadau y bardd, nac ychwaith yn cofio am ei waith yn gofyn am farch i Ithel ap Robert. O bosibl na fydd rhywun yn barod i awgrymu, os oedd Iolo yn dlawd, neu yn gymharol dlawd, i hyny gael ei ddwyn oddi amgylch trwy y difrodiadau a'r damweiniau cyssylltiedig â gwrthryfel Owain Glyndwr. Ein hatebiad i'r awgrymiad hwn ydyw, fod yr oll o'r cywyddau ar y rhai yr ydym yn seilio ein gosodiad wedi eu cyfansoddi cyn y gwrthryfel. Fel gwelliant ar yr awgrymiad, ni a gynnygiwn un arall, sef, os bu Iolo yn gyfoethog o gwbl, iddo gael ei ddarostwng trwy ei annoethineb a'i anghymmedroldeb. Profir y dybiaeth hon yn "Kowydd y Kardie,"[2] os caniateir mai adrodd ei brofiad ei hun y mae y bardd yn y cywydd hwnw. Yn ol ein tyb ni, perthynai Iolo ar y cyntaf i'r dosbarth hwnw a elwir gan y Sais yn *yeomen*; hyny yw, yr oedd yn rhydd-ddeiliad cyfrifol.

## 7.—SEFYLLFA GYMDEITHASOL EI OES.

Y mae amryw o gywyddau Iolo yn werthfawr o herwydd y goleuni a daflant ar hanes cymdeithas. Gallwn gasglu oddi wrthynt nid yn unig pa fath un oedd Iolo ei hun, ond hefyd beth oedd sefyllfa foesol y gymdeithas oreu yng Nghymru yn ei oes ef. Rhaid dyweyd hyn am Iolo, sef, pa un bynag ai tlawd ai cyfoethog ydoedd, fod iddo rydd-fynediad i balasdai y teuluoedd Cymreig goreu yng Nghymru. Yr oedd y beirdd yn gyffredin yn y cyfnod hwn yn ddosbarth breintiedig; ac yr oedd y boneddigion yn eu derbyn yn llawen. Yr oedd yr oes euraidd ar y beirdd Cymreig, pryd y cäent wledda a meddwi ar gost eu noddwyr, heb fyned heibio. Yr oedd y boneddigion yn hoffi cwmni y beirdd; ac wrth eu bodd yn swn seiniau melusber y delyn. Ymddifyrent y dydd wrth ddilyn helwriaeth, ac yr oedd nosweithiau hirion y gauaf yn ehedeg ymaith yn gyflym yng nghwmni beirdd a thelynorion. Eto, gallem dybied yn awr a phryd arall wrth ddarllen caniadau Iolo ei fod ef yn uwch ei barch a'i groesawiad nag aelodau yr urdd farddol yn gyffredin. Hwyrach, am ei fod o haniad uchel—sef o Hedd Molwynog, ac yn berchenog Coed Pantwn; ac, mewn

---

[1] *Hanes Llen. Gymreig*, tudal. 129.
[2] Cywydd Rhif LXXV

rhan hefyd, o bosibl, am ei fod yn wr o ddysg a moesgarwch tu hwnt i'r cyffredin. O blegid dywedir wrthym iddo raddio yn M.A. yn un o'r prif-ysgolion, a'i fod yn Ddoethawr yn y Gyfraith. Ni wyddom am unrhyw brawf credadwy o'r teitlau hyn; ond ar ddiwedd "Cywydd Marwnad Dafydd ap Gwilym," mewn ysgriflyfr diweddar,[1] ceir "Iolo Goch a'i Cant. Baitsler or ddwy Gyfraith." Ond os oedd yn "Baitsler," nid oedd hyny yn rhoddi hawl iddo wisgo "y gwn coch." Pa fodd bynag, buasai y ffaith ei fod yn rhyw hanner gwr boneddig, ac yn wr o ddysg, yn debyg o beri iddo gael gwell derbyniad yn nhai y cyfoethogion na phe buasai yn ddyn cyffredin a diddysg. Yn wir, y mae Iolo yn ei holl gywyddau mawl yn anerch y gwrthddrychau fel ei gyfeillion; er ei fod ar yr un pryd yn eu cydnabod hwy yn uwchraddol iddo. Dengys y cywyddau nad oedd ond dibynol ar eu ffafrau, ond eto ymddygent tuag ato fel pe buasai yn gydradd. Yn y sefyllfa hon yr oedd y bardd mewn mantais i weled y penau-teuluoedd yn eu cyfrin-ystafelloedd.

Dylid cofio wrth ddarlleu caniadau Iolo, ym mha gyfnod yr oedd yn byw. Nid oedd tê prydnhawn i gael y pryd hwnw, nag am rai canrifoedd ar ol hyny. Nid beio Iolo yr ydym wrth sylwi na fyddai un amser yn fwy hapus na phan fyddai cornaid o "gwrw yr Amwythig," cwpanaid o fedd, neu wydraid o win, o fewn cyrhaedd iddo. Y mae ei gywyddau mor llawn o gyfeiriadau at wleddoedd ac ymyfed, fel y gallwn gasglu ei fod o'r un farn ar y pwnc o ddirwest a Don Juan :—

> Man being reasonable, must get drunk ;
> The best of life is but intoxication.

Y mae rhyw syniad wedi meddiannu llawer mai bywyd gerwin a chaled oedd hyd yn oed ar y dosbarth goreu yng Nghymru yn yr hen amseroedd. Clywsom lawer o hen bobl yn dyweyd mai bara ceirch, brywes, cig moch, a llaeth enwyn oedd bwyd a diod y cyfoethogion. Nid ydyw y fath haeriad ond ffolineb. Dengys gweithiau y beirdd fod boneddigion Cymru yn y bedwaredd ganrif ar ddeg yn cael eu hamgylchynu gan foethau. Y mae y cyfeiriadau mynych at fara gwyn, cig, pysgod, adar, a ffrwythau, yn ddigon o

---

[1] *Add. MS.* 14,970. Ysgrifenwyd hwn gan Iolo Morganwg, o gylch y flwyddyn 1800.





brawf mai nid ar fara ceirch a llaeth enwyn yr oeddynt yn byw Yr oedd ganddynt ddigon o gyflawnder; ond yr oedd y cyflawnder o ansawdd fwy garw, yn ddiammeu, nag ydyw yn awr—yn debycach fe allai i'r hyn oedd yn yr Iwerddon rhyw hanner can' mlynedd yn ol, neu i'r hyn oedd yng Nghymru o fewn can' mlynedd yn ol. Yr oedd gwirodydd o angenrheidrwydd yn cael lle pwysig yn eu plith. Mewn cywydd "I Ddavydd ab Llywelyn ab Gwilym Llwyd, o Gastell Hywel," dywed Lewis Glyn Cothi fel y canlyn :—

Hi, a'i gwr priawd, oedd dda am ddiawd;
Ac ar naw diawd, gair yn dawel;
Rhoi draw'n nhai o'r drev, a'i edryd adrev,
Ei arian mae ev ar win a mel.

Tir a anturiai amnaid ar Rwmnai,
Malmsai-ryw osai, a gwin Rossiel;
Gwin Fraine ar ginio; gwinber gwin lle bo;
Gwin a vo'm eto'n llenwi vy *mhottel*.

O goed Bwrdios gwin, ar unsud Reinswin,
Gasgwin, Verneiswin, wrth vron *wassel*;
Cael camplig caled; caprig, rhyfyg Cred;
Clared a Dwsed a Mwsgadel.[1]

Yn ei "Gywydd Moliant i Rys o'r Tywyn" y mae Dafydd Nanmor yn dysgrifio y llawnder oedd i'w weled ar fwrdd ei noddwr :—

Mwy'r ŵyl nag yn y ddwylys,
O gig rhost gan gogau Rhys;
Tryma' hyd y mae tremynt,
Tri eu gwaith hyd y try gwynt;
Pobydd a cherfydd a chog,
A droes iddo'n dri swyddog;
A'i fwtler yw'r pedwerydd,
Mwya'i daeg hyd y mae dydd,
Yn dwyn ni bu newid well,
Gwin at hwn, o gan' tunell.[2]

Drachefn, gwelwn fod Dafydd ab Gwilym, yn ei gywydd "I Dref Rhosyr ym Mon," yn rhestru gwin a chwrw ym mhlith y pethau mwyaf dymunol ganddo :—

Hawddamawr mireinwawr maith
Tref Niwbwrch trwy iawn obaith!

---

[1] *Gwaith Lewis Glyn Cothi*, tudal. 255.
[2] *Gorch. Beirdd Cymru*, tudal. 132.

A'i glwysdeg deml, a'i glasdyr,
A'i gwin, a'i gwerin, a'i gwyr;
A'i chwrw, a'i medd, a'i chariad,
A'i dynion rhwydd, a'i da'n rhad![1]

Ond nid oes neb o feirdd y cyfnod yn dysgrifio rhwysg a chyfeddach ei amser mewn lliwiau cryfach, na phrin mor gryfed, nag a wneir gan Iolo Goch. Yr oedd efe wrth ei fodd wrth fwrdd y wledd; a gallwn gasglu ei fod yn un lled sychedig. Ar ol bod yn gwledda ar fwrdd Esgob Llanelwy, yr oedd yn rhaid iddo gael myned i ystafell y Siambrlain i gael ychwaneg o ddiod cyn myned i'w wely:—

Diod am ddiod a ddaw
Oi winllan ym oi wenllaw
Cerdd dafawd ffraeth hiraethlawn
Cerdd dant gogoniant a gawn,
Cytgerdd ddiddan lan lonydd
Pibau dawns a gawn pob dydd
. . . . . . . . .
. . . . . . . . .
Yna i Siambr y Siambrlain
Yno ydd awn yn ddi ddain
Cyfeddach dalm cyfaddef
A gawn hefyd gydag ef
Diowdlyn da diadlaes
Mewn cyrn fy arglwydd mewn caes.[2]

Am yr un rheswm, hoff gan Iolo oedd Rhys ap Robert o'r Kinmael; o blegid terfyna un o'i gywyddau gyda'r llinellau a ganlyn:—

Ynno i kawn dawn dienic
Wirod o'i aur vragod vric
Ynno dy hedd glo haedd glod
Petwn y mynwn y mod.[3]

Ond y mae y dysgrifiad a rydd o lys Owain Glyndwr yn myned tu hwnt i bob un o'i gyfansoddiadau ereill yn y cyfeiriad hwn.[4] Yr ydym yn rhyfeddu at y gorwychedd a'r llawnder oedd yno, pan ystyriwn yr oes yr oedd yn byw ynddi. Pa fodd bynag, tybiwn

---

1 *Barddoniaeth Dafydd ab Gwilym*, tudal. 275.
2 Cywydd Rhif XXXIV., llin. 51-56, 73-77.
3 Cywydd Rhif LXXIII., llin. 60-64.
4 Cywydd Rhif X.

nad oedd meddwdod yn llawer mwy cyffredin yng Nghymru yn amser Iolo nag ydoedd yn y ganrif ddiweddaf. Nid beio y naill oes na'r llall yr ydym, ac nid eu cymharu â'u gilydd, ond yn hytrach nodi allan yr hyn a ddysgrifir yn y cywyddau a geir yn y casgliad canlynol. Yn yr olwg a roddant ar sefyllfa gymdeithasol a chrefyddol y Cymry y mae gwir werth y cywyddau yn gynnwysedig.

Rhydd Iolo i ni hefyd, ym mhlith pethau ereill, gip-olwg ar sefyllfa y tlodion; ac y mae yn olygfa ddigon truenus. Rhaid oedd i lawer heb law "Hersdin Hogl," yn ddiammeu, fyned ar hyd y wlad i gardota blawd, gwlan, gwer, caws, a chig.[1] Yr oedd y pellder rhwng y tlawd a'r cyfoethog yn gymmaint o leiaf yn yr oes hono ag ydyw yn awr; ond gan nad oedd cyfreithiau y wlad yn darparu ar gyfer y tlodion, yr oedd y cyfoethogion yn fwy elusengar. Sonia Iolo lawer am haelioni y rhai y canodd iddynt; ac yr oedd amaethwr ei amser--ac y mae yr amaethwr Cymreig eto—mor elusengar a chymmwynasgar fel—

Ai gardod trwy gowirdeb
A'i lettu ni necu neb.[2]

Ystyriai y rhai hyny oedd â moddion ganddynt yn ddyledswydd grefyddol arnynt gynnorthwyo y tlawd; ac yn ol "Englynion y Misoedd," y rhai a briodolir i Aneurin, yr oedd rhoddi cardod hyd yn oed yn toddi pechod :—

Tri pheth a dawd pob pechod
Ympryd a gwedi a chardod.[3]

Yr oedd yr hen grefyddwyr Pabaidd yn dosbarthu y penyd i dri gwasanaeth, sef gweddio, ymprydio, a rhoddi cardod. Fel rheswm neillduol dros ymarfer elusengarwch, dywedir :—"Ac o achaws na wyr dyn vot yn gymeredic gan Dduw y wedi neu y weithret, roded gardadeu oe da presennawl."[4] Rhaid i ni felly addef, gan nad pa mor anghymmedrol a gwastraffus oedd ein boneddigion er ys chwe' chant o flynyddau yn ol, fod iddynt hefyd eu rhinweddau.

Y mae y darluniad a rydd Iolo o ddull ei gydoeswyr o gladdu y marw yn ddyddorol. Yn ei gywyddau marwnadol gwelwn yr arferai

---

[1] Cywydd Rhif XL., llin. 47-54.
[2] Cywydd Rhif LXXIV., llin. 11-12.
[3] *Myv. Arch.*, p. 22.
[4] "Saith Pechawd Marwawl 6.

y galarwyr wisgo dillad duon, ac y byddai y clychau yn cael eu canu, fel y gwneir yn bresennol.[1] Yn un man hysbysir ni nad oedd "cydgerdd rhwng clych ag udcyrn" yn anadnabyddus.[2] Dichon fod yma gyfeiriad at ganu llaw-gloch (*hand-bell*) o flaen yr orymdaith, yr hyn a barhäodd hyd gyfnod cymharol ddiweddar; er i'r Archesgob Grindal, yn 1571, wahardd hyny.[3] Hen arferiad o'r amseroedd boreuaf oedd cario fflamgwyrau (*torches*), canwyllau, a llugyrnau yn yr orymdaith angladdol; a dywed rhai mai o'r arferiad hono y tarddodd y gair Lladin *funus* (Seisoneg—*funeral*), sef o *funale*, y gair Lladin am ffagl, neu fflamgwyr. Pa fodd bynag am hyny, dywed Iolo fod yr orymdaith yn cael ei goleuo yn ardderchog ar ddydd claddedigaeth Ithel ap Robert :—

> Tri mwy no serlwy o ser
> Tortsie hoyw ffloyw fflamgwyr
> Val llugyrn tan llychwyrn llwyr."[4]

Ac yn y *Froissart MS.*, yn yr Amgueddfa Brydeinig, ceir darlun o orymdaith angladdol Richard II., yn yr hwn y portrëadir tri o wŷr bob ochr i'r elor-gerbyd yn cario ffaglau.[5] Ond nis gwyddom pa bryd y peidiodd yr arferiad hon.

Hyd y rhan olaf o'r eilfed ganrif ar bymtheg, arferid claddu rhai mewn llian, neu wlanen, heb eu rhoddi mewn arch; a chleddid ereill yn eu dillad goreu.[6] A gwelsom awgrymiad mai mewn cyfnod lled ddiweddar y daeth eirch i arferiad. Ond yr oedd eirch ceryg mewn arferiad yn y ddeuddegfed ganrif;[7] a hysbysir ni gan Iolo Goch i Tudur Fychan gael ei gladdu mewn arch goed, a hono yn un dderw :—

> Yn ddihir bod yn hirerw
> Ynghudd ei ddeurudd dan dderw.[8]

Gwyddom hefyd fod yr Anglo-Sacsoniaid yn defnyddio eirch coed. Ac yn amser Iolo, nid yn unig yr oedd cyfoethogion fel

---

[1] Cywydd Rhif XXVI., llin. 20.

[2] Cywydd Rhif XXIV., llin. 14.

[3] *Old Stone Crosses of the Vale of Clwyd*, p. 108.

[4] Cywydd Rhif XXXII., llin. 82-84.

[5] Gwel *Comprehensive Hist. of England* (Blackie & Son), vol. i., p. 553, lle y ceir copi o'r darlun.

[6] *Old Stone Crosses*, p. 60 ; *Bye-Gones*, June 6, July 25, 1888.

[7] *Penny Cyclop.*, vol. vii., p. 324.

[8] Cywydd Rhif XXIV., llin. 61-62.

Tudur Fychan o Benmynydd yn cael eu claddu mewn eirch, ond yr oedd rhai o'r tlodion felly hefyd; megys "Hersdin Hogl," uwch ben corff yr hon ni ddywedwyd yr un offeren.[1] Nis gwyddom pa un a oedd eirch mewn arferiad gyffredinol yn amser Iolo ai peidio. Os oeddynt, y mae yn amlwg nad oeddynt felly yn yr eilfed ganrif ar bymtheg.

## 8.—SEFYLLFA GREFYDDOL EI OES.

Nid ydym am i neb ddeall ein bod yn ffafrio nac yn gwrthwynebu unrhyw enwad crefyddol, neu ffurf o grefydd, yn y gwaith hwn. Ond nid ydym yn meddwl fod dim niwed mewn dyweyd mai Pabyddiaeth a mynachaeth a fodolai yng Nghymru yn y bedwaredd ganrif ar ddeg. Addefir hyny yn gyffredinol. Ac nis gwyddom am un diwygiwr crefyddol o'i mewn yn y cyfnod hwn. Y mae yn wir i rai o'r beirdd, megys Dafydd ab Gwilym a Iolo Goch, ganu yn wawdlyd am rai o'r mynachod. Ond nid ydym i ddeall wrth hyny eu bod yn anghytuno oddi wrth eu cydoeswyr ar faterion eglwysig. Ond yr oedd yr anghydwelediad yn tarddu oddi ar achosion gwahanol i unrhyw wahaniaeth a allai fod rhyngddynt yn eu daliadau duwinyddol a ffurf-eglwysig. Yr oedd y mynach a'r bardd yn wrthymgeiswyr am boblogrwydd; a hyny oedd wrth wraidd y drwg. O herwydd pa ham, dadlenai y mynach ysgafnder ac oferedd y bardd, tra yr edliwiai y bardd i'r mynach ei ragrith a'i fydolrwydd. Ond yr un oedd daliadau y bardd yng nghylch gweddio ar Fair, am wyrthiau y Seintiau, ac am sancteiddrwydd y Pab, ag a goleddid gan y mynach. Yr unig fardd Cymreig o'r bedwaredd ganrif ar ddeg ag y dywedir yn gyffredin ei fod yn tueddu at Lollardiaeth, hyd y gwyddom ni, oedd Sion Cent. Ond nid ydym wedi darllen ei weithiau yn ddigon manwl er ffurfio unrhyw farn o'r eiddom ein hunain. Pa fodd bynag, gwelsom rai sylwadau i'r perwyl fod Iolo yn wrth-Babyddol. Fel y gwelir yn ein sylwadau cyssylltiedig â'r "Cywydd i'r Drindod,"[2] ceisir genym gredu fod y cyfansoddiad hwnw yn lân oddi wrth egwyddorion Pabyddiaeth am y rheswm fod Iolo Goch wedi mabwysiadu golygiadau Wickliffe; a hyny fel yr awgrymir trwy offerynoliaeth yr Arglwydd Cobham (Syr John Oldcastle). Ond y

[1] Cywydd Rhif XL., llin. 65, 72.
[2] Cywydd Rhif LIV.

mae yr ysgrifenydd yn anghofio fod y Pabyddion y pryd hwnw, fel y maent yn awr, yn credu yn athrawiaeth y Drindod yn gystal ag y gwna y Protestaniaid. Nid oedd testyn y cywydd yn gofyn am unrhyw sylwadau a fuasent yn dolurio teimlad y Protestant mwyaf uniongred. Yr ydym, yng nghywydd Iolo "Ir Byd,"[1] yn dyfynu sylw o waith yr un ysgrifenydd, yn yr hwn yr haerir fod y cyfansoddiad hwnw yn dangos pa "mor lân oddi wrth gyfeilior-nadau Eglwys Rhufain ydyw Cyfansoddiadau ein hen Fardd, hyd yn nod pan oedd Pabyddiaeth yn ei rhwysg uchaf yn yr Ynys hon." Yr unig gyfrif a allwn roddi dros yr haeriad hwn ydyw i'r Parch Owen Jones ddarllen y cywydd yn frysiog, ac heb fyfyrio dim uwch ei ben; pe amgen tybiwn y newidiasai ei farn. Dengys y cyfansoddiad mewn amryw fanau fod cyfryngwriaeth Mair yn rhan o gredo a chyffes ffydd Iolo Goch. Y mae bron yr oll o'i ganiadau duwinyddol yn profi ei fod yn Babydd selog; ac yn wir y mae mwy o liw Pabyddiaeth arnynt nag sydd ar gyfansoddiadau nemawr un o'i gydoeswyr. Wrth ddarllen "Awdl Gyffes y Bardd" gwelwn ei fod yn dra chyfarwydd yng ngwasanaeth-lyfr Eglwys Rhufain. Yr oedd Iolo—os bernir ef yng ngoleuni ei weithiau, ac yng ngoleuni ei oes, ac nid oes genym foddion ereill i'w farnu—yn grefyddwr gonest a chydwybodol.

Ganwyd Wickliffe oddeutu'r flwyddyn 1324, mewn plwyf oddi wrth yr hwn y cafodd ei enw, ryw chwe' milltir o Richmond, Sir Gaerefrog. Ac ar y 29 o Ragfyr, 1384, tra yn gweinyddu gwasanaeth yr offeren yn ei eglwys ei hun yn Lutterworth, tarawyd ef gan y parlys, a bu farw ym mhen deuddydd.[2] Y mae y Parch. David Peter yn rhoddi y crynodeb a ganlyn o'r athrawiaethau a ddysgid gan Wickliffe yn ei bregethau a'i ysgrifeniadau:—

Nad yw y bara a'r gwin gwedi eu cyssegru gan yr offeiriad, yn swper yr Arglwydd, ddim yn wir gorph a gwaed Crist, ond arwyddion yn unig; nad yw eglwys Rhufain ddim yn fwy yn ben i'r eglwys gyffredinol, nâ rhyw eglwys arall, ac na roddwyd dim mwy o awdurdod i'r apostol Pedr nag i ryw un o'r apostolion ereill; nad oes dim mwy o awdurdod gan esgob Rhufain i arferyd yr agoriadau, nâ rhyw esgob arall; mai yr ysgrythyr yw unig reol ffydd ac ymarweddiad; fod yr eglwys yn ym-ddibynol ar y llywodraeth; y dylai yr eglwys gael ei diwygio gan y

---

[1] Cywydd Rhif LIX., llin. 38, Nodyn.
[2] *Penny Cyclop.*, vol. xxvii., pp. 604-7.





llywodraeth; na ddylai yr offeiriaid feddiannu etifeddiaethau; fod defodau lluosog yr eglwys yn niweidiol i wir dduwioldeb; fod llwon yn anghyfreithlon; fod pawb gwedi eu barfaethu, naill ai i ddedwyddwch neu i drueni.[1]

Methasom a chael un awgrymiad yng nghaniadau Iolo ei fod yn cytuno â Wickliffe ar gymmaint ag un o'r pynciau uchod; ond cawn amryw awgrymiadau ydynt yn profi ei fod yn anghytuno. Coleddai Iolo syniadau uchel am Pedr yn ei swydd o borthor Paradwys:—

Prydu a wnaf mwyaf mawl
I Bedr ddoeth wybodawl
*Penn porthor* eiddun addef
Pennaf niver ner o nef.[2]

Yr oedd yn meddu y fath barch i'r Pab fel yr ystyriai yr enw yn ddigon anrhydeddus i'w ddefnyddio hyd yn oed ar Fab Duw ei hunan:—

Yn dad yn fab *bab* y byd
Yn oesbraff glan yn ysbryd.[3]

Ac os nad ydyw y llinellau canlynol yn dysgu yr athrawiaeth o draws-sylweddiad, neu fod y bara ar ei ddyrchafiad yn troi yn wir gnawd Crist, yna nid oes iddynt ystyr o gwbl:—

Pell rym pamd pwyll raid
Pum dewin pam y dowaid
Yr effeiriad i bader
Yn ol dyrcha *korph* y ner.[4]

Dywed David Peter yn mhellach fod rhai o'r Cymry y pryd hwn yn Rhydychain, ac i athrawiaeth Wickliffe gael ei dwyn gyda hwynt i Gymru. Ond er y gallwn dybied fod Peter wedi cymmeryd cryn drafferth i chwilio am ffeithiau, nid ydyw yn enwi ond *un* Cymro a goleddodd y cyfryw syniadau. A'r un hwnw oedd Walter Brute,[5] yr hwn, gan mai o flaen Esgob Henffordd y cyhuddid ef, ni pherthynai o gwbl i Ogledd Cymru. Hyd yr ydym yn deall, nid oes neb eto wedi llwyddo i brofi fod y Lollardiaid, fel y gelwid

[1] *Hanes Crefydd yn Nghymru* (arg. 1816), tudal. 348.
[2] Cywydd Rhif LXVIII., llin. 1-4.
[3] Cywydd Rhif LIX., llin. 73-74.
[4] Cywydd Rhif LXXI., llin. 69-72.
[5] *Hanes Crefydd yn Nghymru*, tudal. 353.

dilynwyr Wickliffe, wedi ennill dysgyblion yng Ngwynedd yn y cyfnod yr oedd Iolo Goch yn byw ynddo.

Y mae caniadau duwinyddol Iolo, meddwn eto, yn profi ei fod yn ymlynol wrth yr unig grefydd oedd o fewn ei gyrhaedd. Yr oedd ganddo barch mawr i ordinhadau yr Eglwys. Rhoddai y pwys mwyaf ar yr offeren; yr oedd Mair yn bob peth yn ei olwg; ac yr oedd yn dduwinydd goleuedig, ag ystyried yr oes yr oedd yn byw ynddi. Eto, yr oedd yn credu, fel y credai pawb y pryd hwnw, yn effeithioldeb pererindodau i Rufain ac i Dŷ Ddewi; ac nid oedd yr un traddodiad, wedi ei lunio gan fynachod celwyddog, am Dewi Sant, St. Patrick, a seintiau ereill, yn rhy ofergoelus ganddo ei gredu.

## 9.—SEFYLLFA WLEIDYDDOL EI OES.

Hwyrach y gall fod yn fanteisiol i ni ddeall rhai o ganiadau Iolo Goch pe sylwem ychydig ar sefyllfa wleidyddol ei oes. O blegid fe ganodd i'r brenin Edward III. ac ereill a gymmerasant ran yn helyntion terfysglyd yr amseroedd hyny.

Gydag eithrio dau wrthryfel dibwys, un dan arweiniad Llywelyn Bren, yn 1315; a'r llall dan Syr Gruffydd Llwyd, yn 1322, aeth y bedwaredd ganrif ar ddeg heibio heb i'r Cymry ddangos unrhyw wrthwynebiad yn erbyn y llywodraeth Seisonig a osodwyd arnynt ar eu gorchfygiad yn y rhan olaf o'r ganrif flaenorol. Yr oedd y Cymry erbyn hyn wedi digaloni; o blegid yr oedd eu holl wrthryfeloedd blaenorol wedi troi allan yn fethiant hollol. Ac nid oedd ganddynt arweinydd, yng ngwroldeb a doethineb yr hwn y gallent ymddiried i'r fath raddau fel ag i'w tueddu i wneuthur unrhyw ymdrech ychwanegol er ad-ennill eu hannibyniaeth. Yn ystod yr hanner can' mlynedd y bu Edward III. yn teyrnasu, ni chafodd ei flino unwaith gan y newydd fod ei ddeiliaid Cymreig wedi codi mewn gwrthryfel. Mewn canlyniad, yr oedd yn gallu crynhoi ei holl adnoddau yn erbyn ei elynion tramor; ac yr oedd llawer o'r Cymry yn ei gynnorthwyo yn y rhyfeloedd hyny. Hwyrach i'r uniad hwn yn erbyn y tramorwyr fod yn foddion i ryw raddau i'r Cymry anghofio eu casineb blaenorol at y Seison. Yr oedd y casineb yn ymgolli yn yr ymdrafodaeth a ystyrid o ddyddordeb cyffredinol i'r ddwy genedl.

Pan esgynodd Edward III. i'r orsedd bodolai anghydfod rhwng y Seison a'r Ysgotiaid, yr hwn a barhaodd i dori allan yn awr ac





eilwaith hyd ddechreu yr eilfed ganrif ar bymtheg. Yr oedd y Cymry wedi bod yn cynnorthwyo ei dad, Edward II., yn erbyn yr Ysgotiaid. Yn 1309, anfonodd Edward II. orchymmyn am 1,400 o wŷr traed o Ogledd Cymru i fyned allan gydag ef i Ysgotland; o'r rhai yr oedd Meirionydd ac Ardudwy i anfon 300, a Dyffryn Clwyd i anfon 200. Ac yn 1325, gwelwn iddo orchymmyn i saith o wŷr wrth arfau (*men at arms*) a 274 o draed-filwyr o Ogledd Cymru i ymgyfarfod yn y Bala, i gael eu cymmeryd oddi yno trwy yr Amwythig a Portsmouth, er gwasanaethu y brenin yn Gascony.[1] Ac y mae genym fwy o gyfeiriadau at Edward III. yn galw am wasanaeth y Cymry nac a ganiatâ ein gofod i ni eu dyfynu.

Hwyrach mai yn Ffrainc yr ennillodd y Cymry fwyaf o enwog-rwydd yn y cyfnod hwn. Ar farwolaeth Charles IV., yn 1328, hawliai Edward III. goron Ffrainc yn erbyn Philip o Valois; ond ni fynai y Ffrancod wrandaw ar ei hawl. Bu hyn yn ddechreuad yr ystorm a dorodd allan yn ddiweddarach. Adnewyddodd ei hawl yn 1338; ac ym mis Medi, 1339, gwarchäeodd y milwyr Seisonig o flaen Cambrai. Yn y flwyddyn ddilynol, ymladdwyd brwydr Sluis, pryd y profodd y Seison yn fuddugoliaethus. Parhaodd y rhyfeloedd rhwng Lloegr â Ffrainc, yn cael eu gwahanu gan yspeidiau o heddwch, hyd 1374, pryd y cytunwyd ar gad-oediad am flwyddyn. Adnewyddwyd y cad-oediad yn y flwyddyn ddilynol, yr hwn a barhaodd hyd farwolaeth Edward, yn 1377.[2] Ond y brwydrau pwysicaf a ymladdwyd yn y cyfnod hwn, yn ddiammeu, oedd y rhai a gymmerasant le yn Cressy, yn 1346, ac yn Poictiers, yn 1356; pryd yr arweinid y byddinoedd Prydeinig gan Edward, y Tywysog Du. Dywedir wrthym i'r Cymry ymladd yn wrol yn y brwydrau hyn; ac yr oedd amryw o honynt yn dal swyddau uchel yn y fyddin. Crybwylla un awdwr fod y Cymry a'r Cernywiaid, gan eu bod yn ysgafn eu harfogaeth, yn cael eu rhoi ar waith yng Nghressy i ladd ac yspeilio y marchogion trwm-arfog.[3] A braidd na feddyliem mai adgofion am ddewrder a boneddigeiddrwydd y Tywysog Du a barodd i'r Cymry ddangos y fath ymlyniad at ei fab, yr hwn, Mehefin 22, 1377, a esgynodd i'r orsedd dan yr enw Richard II.

---

[1] *The Kymry* (by Rev. Robert Owen, B.D.), p. 93.
[2] *Comprehensive History of England*, vol. i., p. 478.
[3] *The Kymry*, p. 93.

Nis gwyddom pa bryd y cyfansoddodd Iolo Goch ei gywydd cyntaf. Y mae yn naturiol casglu iddo ganu rhai o'i ganiadau serch ar adeg gynnar yn ei oes. Ond gwyddom mai rhyfeloedd Ffrainc a fu yn achlysur iddo gyfansoddi ei gywyddau gwleidyddol cyntaf. Tua diwedd y flwyddyn 1346, neu yn fuan wedi hyny, cawn iddo gyfansoddi "Cywydd Marwnad Syr Rhys Wgawn," yr hwn oedd yn gadben ar 300 o wŷr ym mrwydr Cressy.[1] Milwr enwog arall, yr hwn a gymmerodd John, brenin Ffrainc, yn garcharor ym mrwydr Poictiers, yn 1356, oedd Syr Hywel y Fwyall. Ac yr oedd Iolo yn teimlo cymmaint o ddyddordeb yn yr orchest hono fel ag y canodd gywydd moliant iddo.[2] Ar gyfrif y gwrhydri a ddangosodd y milwyr Seisonig yn rhyfeloedd Ffrainc, yn benaf, y mae Iolo yn seilio ei gywydd moliant i'r brenin Edward III.[3] Y mae y cywyddau hyn i'w cymmeryd, fe dybiem, fel dangoseg o'r brwdfrydedd a deimlid gan y Cymry, neu o leiaf gan adran helaeth o honynt, mewn gwleidyddiaeth dramor; ac yn awgrymu ar yr un pryd fod y genedl wedi dyfod yn deyrngarol i Goron Lloegr.

Yn ystod teyrnasiad Richard II., ni chymmerodd dim o bwys le mewn cyssylltiad â Chymru. Esgynodd i'r orsedd pan nad oedd ond rhyw un mlwydd ar ddeg oed; ac hyd nes iddo gyrhaedd ei eilfed flwydd ar hugain llywodraethid y deyrnas gan ddirprwyaeth. Yr oedd iddo lawer o elynion cryfion er y dechreu, sef ei berthynasau agosaf ef ei hun. Hwyrach nas gellir eu gosod yn fwy eglur ger bron nag yn y daflen ganlynol :—




[1] Cywydd Rhif I.
[2] Cywydd Rhif II.
[3] Cywydd Rhif III.








Yr oedd ewythrod y brenin ieuanc, yn enwedig y Duciaid o Gaerwerydd a Chaerloyw, yn eiddigeddus am ei fod yn sefyll rhyngddynt hwy a'r orsedd. Ac yn lle teyrnasu yn y fath fodd fel ag i ennill eu parch a'u hufudd-dod, ymddygodd yn ystod ei deyrnasiad yn annoeth ac analluog. Yr oedd yn ammhenderfynol ei feddwl, ac o dymher nwydwyllt; yr oedd yn hoff o orwychedd a moethau, a thrwy hyny yn wastraffus. Ymddygodd yn hynod annoeth yn ei ddewisiad o gyfeillion,a rhoddodd y swyddau a'r teitlau uwchaf i anturiaethwyr tlodion a digywilydd. Er fod Lloegr ar delerau anheddychol gyda Ffrainc ac Ysgotland, ni ddangosodd Richard ei hun mewn un modd yn alluog i orchfygu nac i ymheddychu. Arweiniodd fyddin i Ysgotland, mae'n wir, yn 1385, ac ymdeithiodd cau belled ag Aberdeen, gan losgi a difrodi ar y ffordd[1] Ymheddychodd â Ffrainc, yn 1396, trwy gymmeryd Isabella, merch Charles VI, yr hon nid oedd ond wyth, ac yntau yn 32, mlwydd oed—yn ail wraig. Am ddangos ei wrthwynebiad i'r briodas hon, carcharodd ei ewythr, Duc Caerloyw, yr hwn yn fuan a fu farw yn y carchar. Oddeutu yr un amser cododd cweryl rhwng y Duc o Norffolc a Harri Bolingbroke, yr hyn a arweiniodd i alltudiaeth y ddau o'r deyrnas. Ac ar farwolaeth John o Gaunt, yn 1399, fforffedwyd ei etifeddiaethau. Ym mis Mai, 1399, aeth Richard gyda byddin i'r Iwerddon i ddial llofruddiaeth Roger Mortimer, Iarll March[2]; a thra yr oedd y brenin yn oedi yn yr Iwerddon, dychwelodd Harri Bolingbroke i'r deyrnas dan yr esgus o hawlio etifeddiaethau fforffededig ei dad—John o Gaunt. Ond yr oedd gan Harri amcan arall mewn golwg. Y diwedd fu iddo gymmeryd Richard, ar ei ddychweliad o'r Iwerddon,

[1] Cywydd Rhif IX., Nodiadau Arweiniol.
[2] Cywydd Rhif IV., Nodiadau Arweiniol.

yn garcharor. Cludwyd ef o gastell Fflint, trwy Gaerlleon, i Lundain, ac yno carcharwyd ef yn y Twr. Y mae diwedd Richard yn aros eto mewn gradd o dywyllwch. Dywedir iddo gael ei symmud o Lundain i Gastell Pontefract, Sir Gaerefrog, lle y tybir iddo gael ei newynu i farwolaeth. Tybir iddo farw oddeutu canol mis Ionawr, 1400 ; symmudwyd ei gorff—yr hyn a gostiodd £80 i'r wladwriaeth—o Pontefract i Lundain, pryd y dangoswyd ef i amryw ar y ffordd. Ar ol gadael iddo orwedd am ddeuddydd yn Eglwys St. Paul, lle y gweinyddwyd gwasanaeth difrifol, symmudwyd ef drachefn i'w gladdu yn King's Langley, Sir Hertford.[1] Ym mhen rhai blynyddoedd wedi hyny, codwyd ef drachefn, trwy orchymmyn Harri V., ac ail gladdwyd ef yn Mynachlog Westminster. Wedi'r cyfan, ni fynai llawer gredu mai corff Richard oedd hwnw ; ond mai ystryw o eiddo Harri ydoedd, er dangos ei fod wedi marw, ac mai rhywun arall tebyg iddo a gladdwyd yn ei le.

Ar y 30ain o Fedi, 1399, coronwyd Harri Bolingbroke yn frenin Lloegr, dan yr enw Harri IV. Ni orweddodd y goron yn esmwyth mewn un modd ar ei ben yntau. Cafodd lawer o drafferth gyda'r Ysgotiaid a'r Ffrancod; ac am rai blynyddoedd blinid ef gan ymraniadau ym mhlith ei ddeiliaid Seisonig, o blegid yr oedd adran helaeth o honynt yn credu fod Richard yn fyw, er gwaethaf ei gladdedigaeth; ac yr oeddynt am ei adferyd i'r orsedd. Er y cymmerir yn ganiataol fod y Cymry yn bleidiol i Richard, eto nid oes hanes iddynt ddangos eu teimlad mewn unrhyw ddull cyhoeddus. Ond yn wir cyn iddynt gael amser yn brin i wneyd hyny, cododd ystorm o gyfeiriad arall, yr hon a achlysurodd gyfres o ryfeloedd rhyngddynt hwy a'r Seison, y rhai a barhasant am bymtheng mlynedd.

## 10.—GWRTHRYFEL OWAIN GLYNDWR.

Fe ganodd Iolo Goch gynnifer o gywyddau i Owain Glyndwr, fel y tybiem mai nid ammhriodol mewn un modd fyddai i ni fyned yn frysiog dros hanes yr helyntion a achlysurodd iddo gyfansoddi y cywyddau hyny. Y mae mor esgusodol ynom, o leiaf, ag oedd i olygwyr *Gwaith Lewis Glyn Cothi* flaenori ei ganiadau gyda braslun maith o helyntion Rhyfeloedd y Rhosynau.

---

[1] Wylie's *Hist. Eng. under Henry IV.* p. 117.

Yn dilyn Richard II. i'r Iwerddon, yn 1399, yr oedd Cymro o'r enw Owain, mab i Gruffydd Fychan o Glyndyfrdwy,[1] yr hwn o herwydd enw ei gartref a elwir yn Owain Glyndwr. Yr oedd Owain yn un o'r ychydig a safodd gyda'i benadur hyd yr adeg pan y cymmerwyd ef yn garcharor yn Fflint. Dygwyd Owain i fyny yn far-gyfreithiwr; ond yn lle dilyn yr alwedigaeth hono, trodd allan yn un o wŷr y llys; a hoffodd y brenin Richard ef gymmaint fel y cymmerodd ef i'w osgordd fel un o ysweiniaid y corff. Yr oedd ei haniad urddasol, ei addysg ragorol, ei ymddygiad boneddigaidd a hynaws, yn gymmwysderau arbenig i ŵr llys; a cheir awgrymiadau yng nghywyddau Iolo Goch, yn gystal ag yn y traddodiadau a gasglwyd gan Shakespeare, mai un felly oedd Owain. Os rhoddir coel ar y traddodiadau, yr oedd digon o arwyddion wedi ymddangos ar amser ei enedigaeth mai terfysglyd a gwaedlyd fyddai ei oes. Dywedir wrthym, gyda'r difrifwch mwyaf, fod meirch ei dad yn sefyll mewn gwaed at eu torau y noson y ganwyd ef;[2] ac y mae y geiriau a rydd Shakespeare yng ngenau Glyndwr, mewn atebiad i Hotspur, yn dangos fod amryw draddodiadau rhyfedd yng nghylch ei enedigaeth wedi cyrhaedd y bardd Seisonig hwnw.[3]

Ond prin y credwn i Owain Glyndwr gael llawer o brofiad fel milwr tra y bu yn llys Richard. Gwyddom iddo fyned i Ysgotland yn 1385, ac i'r Iwerddon yn 1399, efo'r brenin, gyda'r amcan o ddarostwng gwrthryfeloedd; a dyna gymmaint a wyddom. Awgryma Iolo Goch i Owain gyflawni gwrhydri yn Ysgotland[4]; er fod rhai haneswyr yn dyweyd na welodd y fyddin Seisonig wyneb y gelyn. I Owain fyned i Ysgotland gyda'r brenin yn y flwyddyn a nodwyd a brofir yn y dystiolaeth a roddodd yn Llys Marchwriaeth, Medi 3, 1386, yn achos *Scrope v. Grosvenor*. Amcan y prawf hwnw oedd ceisio profi pa un ai Syr Richard Scrope ai Syr Robert Grosvenor oedd a hawl i wisgo y pais-arfau mewn dadl. Rhoddodd Owain Glyndwr ei dystiolaeth o blaid Syr Robert Grosvenor, ac ym mhlith pethau ereill dywedodd iddo weled Syr Robert yn eu gwisgo ar "*ymdaith ddiweddar ein harglwydd frenin presennol*

---

[1] Gwel Cywydd Rhif VIII., Nodiadau Arweiniol.
[2] Pennant's *Tour in Wales* (edit. 1784), vol. i., p. 326.
[3] Henry IV., Part i., Act iii., Scene i.
[4] Cywydd Rhif IX., Nodiadau Arweiniol.

*i Ysgotland*," yr hyn a awgryma fod Syr Robert ac yntau ym mhlith dilynwyr y brenin y pryd hwnw.[1]

Pan gymmerwyd Richard yn garcharor, tybir i Owain ymneillduo i'w breswylfod yn Sycharth, ym mhlwyf Llansilin. Ac y mae y dysgrifiad a rydd Iolo Goch o'i gartref yn un tra dymunol.[2] Ac oni buasai am yr anghydfod a gododd rhyngddo a Reginald de Grey, Arglwydd Rhuthyn, ond odid na threuliasai Owain ei fywyd yn eithaf cysurus yn Sycharth, gan arolygu diwylliant ei winllanoedd a'i berllanau, gan fwynhau cathlau melus yr adar yn y llwyni cyfagos, edmygu lliwiau y blodeu, ymddifyru wrth hela ei geirw, saethu ei golomenod a'i gwningod, a genweira ei bysgod;

---

[1] Ceir hanes y prawf hwn, yr hwn a barhäodd o 1385 hyd 1390, yng nghyda chrynodeb o'r tystiolaethau a bywgraffiadau o'r tystion, mewn tair cyfrol a gyhoeddwyd gan Syr Harris Nicholas, yn 1832. Yn y gwaith hwnw—*The Controversy between Sir Richard Scrope and Sir Robert Grosvenor*, vol. i., p. 254, y mae crynodeb o dystiolaeth Owain Glyndwr, mewn Ffrancaeg-Normanaidd, o'r hon y rhoddwn rydd-gyfieithiad yma:—

"Syr Oweyn de Glendore o'r oedran o saith mlwydd ar hugain ac uchod, ar ol cymmeryd ei lw a'i fanwl holi mewn perthynas i hawl Syr Robt. Grosvenor i ddwyn yr arf-arwyddion—*glâs*, gyda thaleitheg *aur* (*dazure ov un bend' dore*)—a ddywedodd fod y cyfryw arfau yn perthyn yn gyfiawn i Syr Robert Grosvenor. Gofynwyd iddo pa fodd y gwyddai; ac atebodd iddo glywed gan hen bobl gyfrifol, y rhai a ddywedent fod hynafiaid y dywededig Syr Robert yn amser Gorchfygiad Lloegr yn dwyn y cyfryw arfau yn ddiwrthwynebiad, ac na chlywodd neb yn amgen hyd nes y cychwynwyd y cynghaws hwn. Gofynwyd iddo hefyd, a welodd efe y dywededig Syr Robert un amser yn gwisgo y cyfryw arfau; ac atebodd iddo ei weled, sef ar ymdaith ddiweddar ein harglwydd frenin presennol i Ysgotland. Gofynwyd iddo ym mhellach a welodd efe un amser freinlenau neu hen gof-ysgrifau ereill wedi eu harwyddo â seliau gyda'r cyfryw arfau yn gerfiedig arnynt; ac atebodd yntau iddo weled, ac ychwanegodd eu bod yn dra hynafol, fel y gellid barnu wrth edrych ar y memrwn a'r cwyr. Hefyd, dywedodd y tyst dywededig mai llais y cyhoedd a thraddodiad yn siroedd Caer a Fflint, a siroedd ereill cymmydogaethol, ydoedd fod y cyfryw arfau yn perthyn, a'u bod wedi arfer a pherthyn, i'r dywededig Syr Robert a'i hynafiaid."

Dengys y dystiolaeth uchod, ym mhlith pethau ereill, fod Owain Glyndwr yn farchog ar y pryd, ac ei fod hefyd rhwng 27 ac 28 oed—felly ganwyd ef yn 1359. Ond gwyddom fod amryw yn dyweyd yn wahanol, gan osod ei enedigaeth yn 1348, 1349, 1352, 1354, a 1364.

[2] Cywydd Rhif X.

a chau dreulio ei nosweithiau yng nghwmni beirdd a thelynorion. Ond nid felly y bu. Y mae y modd y trawsfeddiannodd yr Arglwydd Grey y dernyn cyttir a berthynai i hynafiaid Owain yn ddigon hysbys; ac y mae pawb wedi clywed am y modd y ceisiodd Owain ad-feddiannu y cyttir trwy gyfraith, yn lle trwy rym arfau; ac y llwyddodd. Ar ddiorseddiad Richard, meddyliodd Grey fod yr adeg yn un fanteisiol iddo hawlio y cyttir eilwaith gyda'r dybiaeth y byddai Harri Bolingbroke yn debycach o'i ffafrio ef nag Owain. Dywedir, er nad ydym yn gwybod ar ba awdurdod, i'r olaf appelio at y Senedd am gyfiawnder, ac na wnaed yr un sylw o'i hawliau. Pa fodd bynag, cafodd Grey gyfleusdra yn fuan i greu rhagfarn a llid y brenin yn erbyn Owain. Penderfynodd Harri, yn gynnar yn 1400, fyned â byddin yn erbyn yr Ysgotiaid, ac anfonodd wŷs i Owain i fyned allan i'w gynnorthwyo. Ymddiriedwyd y wŷs i Grey i'w throsglwyddo iddo; ond esgeulusodd wneyd hyny hyd nes yr oedd yn rhy ddiweddar i Owain roddi yr ufudd-dod angenrheidiol iddi.[1] Yna gosododd Grey y mater o flaen y brenin fel anufudd-dod bwriadol. O bosibl mai oddeutu y pryd hwn y perthyn y dygwyddiad a adroddir yn y chwedl ganlynol:—

Dafyd ap Gruffyd ap Llywelyn ap Iorwerth Drwyndwn pan ddihenyddwyd yn Amwythig, ac wrth i ddihenyddu y cymmerth y cigydd i galon ac a'i taflodd i'r tân, ac neidiodd y galon o'r tân ac a drawodd y cigydd yn ei lygad ac a dynnodd i Lygad A Harri 4dd Brenhin Lloegr a ysgrifennodd at Arglwydd Grae o Ruthin i erchi iddo ef trwy rhyw ystryw fradychu Owen Glyndwr Ac yno y gyrrodd Arglwydd Rhuthyn at Owain i ddoedyd iddo y byddai yn ciniawa gydag Owen y dydd ar dydd ac yr atebodd Owen y byddai roesaw wrthaw oni ddygai gydag ef uwch ben deng ŵr ar hugain ac a ddaeth yr arglwydd yn yr oed terfynedig, ac ychydig gwmpeini gydag ef a gallu mawr yn arfog dan lech yn dyfod ar i ôl, a phan aeth Owen i ginhiawa ef a osodes wersyll ar ben Brynn i Wersylly tra byddai Owain ar giniaw a phan oedd Owen ar ganol ciniaw nycha y gwelynt y gwersyllwyr lonaid y ddôl heb enni o wŷr arfog a doedasant i Iolo Goch i rybuddio Owain Ac yna y doeth Iolo i mewn canys di dyb oedd ef ac y canodd ar ddammeg yr englyn rhybydd yma ar osteg rhag tybied yr Arglwydd fod twyll ynddo Er bod yr Arglwydd yn dallt traethawd Cymraeg nid oedd fe yn dallt yn mydr ni—

Coffa ben a llen a llywenig—Lys
a las nos Nadolig

---

[1] Pennant's *Tour in Wales* (edit. 1784), vol. i., p. 332.

Coffa Golwyth Amwythig
Or Tân a neidiodd naid dig.
IOLO GOCH.[1]

Os ydyw y chwedl uchod yn wir, awgryma pa mor gartrefol yr oedd Iolo Goch yn Sycharth; yn gystal a'i fod yn ddigon cyfrwys, er cymmaint a ddywedir am ei ffyddlondeb i Owain, i gadw ei hun yn "ddi dyb;" hyny yw, yn un ag nad oedd ei deyrngarwch yn cael ei ammeu. Dros ba hyd y llwyddodd i gadw ei hun felly sydd fwy nas gallwn ei ateb.

Nid oes yn brin ddau awdwr yn cytuno ar drefn ac amseriadau y gwahanol frwydrau y cymmerodd Owain Glyndwr ran ynddynt. Ac ni chaniata ein gofod i ni fanylu ar yr anghyssonderau cyssylltiedig. Yr oll a allwn wneyd ydyw rhedeg mor frysiog ag y mae modd dros y prif ffeithiau. Dywedir yn gyffredin mai y peth cyntaf a wnaeth Owain yn y ffurff o ymosodiad oedd rhoddi tref Rhuthyn ar dân ar ddiwrnod ffair, Medi 20, 1400; ac mai ar y diwrnod hwnw y cymmerodd arno ei hun y teitl o Dywysog Cymru. Pa fodd bynag, ar yr 8fed o Dachwedd, arwyddodd y brenin weithred yn yr hon y datganai fod etifeddiaethau Owain, sef Glyndyfrdwy yn Edeyrnion, Sycharth yng Nghynllaith, ac Iscoed a Gwynionydd, yn fforffededig, gan eu trosglwyddo i'w frawd ei hun, John, Iarll Somerset.[2] A dywed rhai i'r brenin fyned â byddin i Gymru, gan ymdeithio can belled a Llanfaes ym Môn, pryd yr ymosododd ar y Brodyr Llwydion oedd yn y fynachlog hono;[3] tra y mae ereill yn gwadu hyn.[4] Yn ol ysgrif a gyhoeddwyd yn yr *Iolo MSS.*, gwnaeth Owain gryn ddifrod yn Neheudir Cymru rywbryd yn ystod yr un flwyddyn. Dywedir

---

[1] Cymmerwyd yr adroddiad uchod o'r *Add. MS.*, 14,964, fol. 189. Y mae i'w gael hefyd ar fol. 60 o'r un ysgriflyfr; ac y mae yn argraffedig yn *Greal* Llundain, tudal. 164. Ar yr olwg gyntaf, y mae yn anhawdd gweled pa gyssylltiad a ddichon fod rhwng y llinellau dechreuol ag ymddygiad bradwrus yr Arglwydd Grey. Ond wrth fanylu, gwelir fod tynged Dafydd ap Gruffydd, yn yr Amwythig, yn cael ei ddwyn i mewn fel eglurhad ar englyn Iolo, yr hwn a geir ar ddiwedd y dyfyniad. Cyfeiriad at yr amgylchiad hwnw yn yr Amwythig a ddefnyddiwyd gan Iolo er amlygu y fradwriaeth.

[2] Pennant's *Tour in Wales* (edit. 1784), p. 340.

[3] *Ibid.*, p. 339.

[4] Nicholas's *Synop. of the Peerage*, vol. i., p. 133.

iddo ennill Castell Caerdydd, a dinystrio cestyll Pen llin, Llandochau, Tref Fflemin, Dindryfan Bwtler, Tal y Fan, Llanfleiddian, Llancwyfan, Malffawnt, a Phenmarc, yn gystal a llosgi llawer o bentrefydd ac eglwysydd oddi amgylch. Llosgodd hefyd, meddir, bentrefydd Llanfrynach, Aberthin, a Llanilltyd Fawr, heb law lleoedd ereill a berthynent i'r bobl a wrthodent ymuno ag ef. Ond yr oedd llawer yn ymuno ag ef gyda'r parodrwydd mwyaf. Ac fel yr oedd eu nifer yn cynnyddu aent rhagddynt i ddinystrio cestyll, i anrheithio a difrodi, gan rannu yr yspail rhyngddynt. Yn yr adeg hon, medd yr un ysgrif, cyfarfu gwŷr Owain â rhai o bleidwyr y brenin, ar le a elwir Mynydd Owain, ger y Bontfaen; ac ar ol deunaw awr o ymladd caled, nes yr oedd y gwaed yn cyrhaedd at egwydydd y meirch, gyrwyd gwŷr y brenin ar ffo.[1] A chaniatau fod y chwedl hon yn wir, gallem dybied ei bod wedi ei chyn-amseru, o blegid y mae yn ammheus genym a fu Owain yn y Deheudir yn 1400. Ond y mae y chwedl o ran ei sylwedd hefyd, fel llawer o'r hyn a geir ym mhlith Ysgriflyfrau Iolo Morganwg, yn rhy debyg i ramant i ni allu rhoddi llawer o ymddiried ynddi.

Yn gynnar yn haf 1401, yr oedd Owain yn gwersyllu ar y rhan hono o fynydd Pumlumon a elwir Hyddgen, gyda chwech ugain o wŷr arfog (*men of arms*).[2] Tra yn gwersyllu yma, elai allan ar ymgyrchiadau anrheithiol ar hyd y wlad oddi amgylch. Llosgodd faesdrefi y Trallwm, gan ddifrodi y cymmydogaethau cylchynol. Dinystriodd Abatty Cwm Hir, yn Sir Faesyfed; cymmerodd gastell Maesyfed, a thorodd benau y gwarchodwyr, triugain mewn nifer, ym muarth y castell. Ond penderfynodd Fflandrwysiaid y Rhos a Cheredigion ei ddal; ac ymosododd pymtheg cant o honynt arno yn ddisymmwth yn ei wersyllfan yn Hyddgen, ar ol iddo ddychwelyd o un o'i deithiau difrodol. Ond er iddynt ei amgylchynu ef a'i wŷr, torodd ei ffordd allan trwy eu rhengau; ac ymladdodd ef a'i ddilyn-

---

[1] *Iolo MSS.*, p. 98.

[2] Pennant's *Tour in Wales*, vol. i., p. 342. Sylwa Mr. T. O. Morgan (*Arch. Cambr.*, 1851, p. 28) ar y nifer a rydd Pennant yma, ac awgryma fod y "*men of arms*" yn golygu yr un peth a "*men at arms*" y Ffrancod, pob un o'r rhai a gynnwysai dri o saethyddion, un cleddyfwr, ac un gwastrodwr; felly, yn ol Mr. Owen, a gadael y gwastrodwyr allan, nifer milwyr Owain y pryd hwn oedd 480.

wyr mor ddewr fel y lladdasant ddau cant o'r Fflandrwysiaid, a gyrasant y gweddill ar ffo.[1] Ym mis Mai, yn y flwyddyn hon, yr ydym yn cael Hotspur (Henry Percy) yn gostwng y gwrthryfel yng nghymmydogaethau yr Aran a Chader Idris, ym Meirionydd, gyda 12 o bicellwyr a 100 o fwäwyr; ond nid ymddengys fod Owain Glyndwr yn y rhan hono o'r wlad ar y pryd.[2] Ond yr oedd y gwrthryfel mor gryf yng Nghymru fel y penderfynodd y brenin arwain byddin yno yn bersonol. Cyrhaeddodd Ystrad Fflur gyda byddin gref oddeutu dechreu mis Mehefin. Dinystriodd yr Abatty, a gwnaeth gryn ddifrod ar diriogaethau y rhai a wrthodent ymostwng iddo. Ond gorfu iddo ymadael yn fuan oherwydd fod ei fyddin yn teimlo oddi wrth newyn a lludded.[3] Ym mis Tachwedd, yn yr un flwyddyn, anfonodd Owain lythyr at Frenin Ysgotland, yn yr hwn yr erfyniai "ar ei liniau" am gynnorthwy i ymryddhau oddi wrth eu cyd-elynion; gan adgoffa eu bod ill dau yn hanu o'r un cyff—y Brutus chwedlonol—Owain o Camber, a brenin Ysgotland o Albanact. Ar yr un pryd, anfonodd lythyr arall at arglwyddi yr Iwerddon i'r un perwyl, yn yr hwn y dywed, er ei fod ef yn bersonol anadnabyddus iddynt, eto fod y "Broffwydoliaeth," yn yr hon y credid cymmaint gan y Cymry, yn rhagfynegi y byddai i'r Gwyddelod, yn gystal a'r Ysgotiaid, gynnorthwyo yn yr un achos. Ac y mae yn adgoffa iddynt mai tros gyhyd o amser ag y gallai y Cymry gadw eu hannibyniaeth, a dim yn hwy, y gallent hwythau ddysgwyl mwynhau yr heddwch a'r tangnefedd a ddymunent yn yr Iwerddon.[4] Derbyniodd ychydig o gynnorthwy wedi hyn gan yr Ysgotiaid; ond nid oes hanes i'r Gwyddelod dalu y sylw lleiaf i'w gais.

Yng ngwanwyn y flwyddyn 1402 yr ymddangosodd y "seren wib," am yr hon y canodd Iolo Goch gywydd yn brudio llwyddiant y Cymry;[5] a diammeu mai oddeutu yr un adeg y dylid amseru amryw o'i Gywyddau Brud. Ac y mae yn dra thebyg i'r cywyddau fod yn foddion i galonogi Owain a'i ganlynwyr. Bwriadodd y

---

[1] *Welsh Sketches*, Third Series (edit. 1854), p. 63.

[2] Nicholas's *Proceedings and Ordinances of the Privy Council*, vol. i., pp. 652-3.

[3] Pennant's *Tour in Wales*, vol. i., p. 344.

[4] Wylie's *Hist. Eng. under Hen. IV.*, vol. i., p. 248.

[5] Cywydd Rhif XI.





brenin wneyd ymgais arall at ei ddarostwng ym mis Gorphenaf, 1402; ond ni roddodd ei fwriad mewn gweithrediad. Yn y mis blaenorol, anrheithiodd Owain diriogaethau Edmund Mortimer, Iarll March, yn siroedd Henffordd, Brycheiniog, a Maesyfed. Nid oedd yr Iarll ar y pryd ond tua deg oed, a chedwid ef fel math o garcharor gan y brenin. Ond mewn canlyniad i'r anrheithiadau hyn, casglodd Syr Edmund Mortimer, ewythr yr iarll ieuanc, fyddin gref i fyned allan yn erbyn Owain. Cyfarfu y ddwyblaid ar y Bryn-glas, mynydd ger llaw Pilleth, ychydig i'r de-orllewin o Dref-y-clawdd, yn Sir Faesyfed; a'r diwedd fu i ddilynwyr Owain ladd oddeutu 1,100 o wŷr Mortimer, gan gymmeryd yr olaf yn garcharor. Eglurir y gorchfygiad hwn mewn gwahanol ffyrdd; sef, yn ol rhai, i fwäwyr Mortimer droi eu bwäu yn erbyn eu plaid eu hunain; ac, yn ol ereill, i denantiaid yr Iarll ffoi ar yr ymosodiad cyntaf.[1] Dywedir hefyd i'r merched Cymreig ymddwyn yn ysgeler a chreulawn tuag at y lladdedigion a'r clwyfedigion, o'r hyn y rhydd Shakespeare ddysgrifiad.[2] Ymddengys fod y brenin yn credu—neu yn ewyllysio credu—yn y chwedlau a ledaenid am lwfrdra, neu annheyrngarwch, Mortimer a'i wyr; ac nad oedd eu hymosodiad ond ffug. Cymmerodd hyny yn esgus dros wrthod ei ganiatad i'w ryddhau trwy bridwerth. Ymddengys, yn ol rhai adroddiadau, fod gan Owain garcharor pendefigaidd arall yn ei feddiant ar yr un pryd, sef yr Arglwydd Grey o Ruthyn, yr hwn a orchfygwyd gan Owain, meddir, yn ymyl Rhuthyn, ar y 30ain o Ionawr, 1402.[3] Dywed rhai mai yn ddiweddarach yn y flwyddyn y cymmerwyd Grey yn garcharor, a hyny ar lanau yr Hafren, tra y dywed ereill mai ar lanau y Fyrnwy bu y dygwyddiad. Pa fodd bynag, gwyddom i Grey gael ei ryddhau Tachwedd 11, trwy dalu, neu addaw talu, 10,000 o forciau. Hysbysir ni hefyd i Owain yn ystod yr un haf dalu ymweliad â Llandaf, lle llosgodd lŷs yr esgob a thŷ yr archddiacon, ac iddo ddifrodi Abergafenni a'r oll o Gaerdydd, oddigerth mynachdŷ y Brodyr Llwydion.[4] Ond, o bosibl, mai at yr un

---

[1] Pennant's *Tour in Wales*, vol. i., pp. 351-2.
[2] Henry IV., Part i., Act i., Scene i.
[3] Wylie's *Hist. Eng. under Henry IV.*, vol. i., p. 249.
[4] Pennant's *Tour in Wales*, vol. i., p. 354.

ymgyrch y cyfeirir yma a'r hon a adroddir yn yr *Iolo MSS.* dan y flwyddyn 1400. Yn yr un flwyddyn—Medi 20, 1402—yr amserir coroniad Owain ym Machynlleth, am yr hyn y dywedir cryn lawer; ac ym mhlith pethau ereill i Syr Dafydd Gam geisio ei fradlofruddio yng nghanol ystafell lawn o bleidwyr y gwron Cymreig! Beth bynag am y manylion—pa un ai cynnyg yn ddirgelaidd neu yn gyhoeddus a wnaeth Syr Dafydd—ymddengys iddo gael ei garcharu a'i gadw yng ngharchar hyd y flwyddyn 1412.[1] Gallem dybied mai y flwyddyn 1402 oedd yr un fwyaf gobeithiol yn hanes y gwrthryfel; ac y mae yn eithaf tebyg mai oddeutu y pryd hwnw y canodd Iolo Goch ei gywydd iddo pan oedd "yn fwyaf ei rwysg." Ond trodd y bardd allan yn gau-broffwyd truenus pan y dywedodd :—

Por a ladd meawn ymladdgors
Pedwar kan mil o hil hors.[2]

Ym mis Tachwedd, 1402, priododd Syr Edmund Mortimer ferch i Owain Glyndwr,[3] a thrwy hyny daeth y gorchfygiedig a'r gorchfygwr yn gyfeillion. Yn y mis dilynol anfonodd Syr Edmund y llythyr a ganlyn at denantiaid ei nai, ym Maelienydd :—

Fy anwyliaid a'm caredigion. Yr wyf yn eich llongyfarch ac yn eich hysbysu fod Owain Glyndwr wedi codi cyffro, amcan yr hwn yw adfer ei goron i'r Brenin Richard, os yn fyw; ac os nad ydyw, fod i fy anrhydeddus nai, etifedd y goron ddywededig, gael ei wneyd yn frenin Lloegr; a bydd i'r dywededig Owain hôni ei hawl i Gymru. A chan yr ystyriaf y cyfryw gyffro yn deg a rhesymol, cydsyniais i ymuno ynddo ac i gynnorthwyo er ei amddiffyn; a thrwy ras Duw, deued i ddyben da, Amen! Yr wyf yn mawr obeithio, ac o'm calon yn dymuno arnoch fy nghynnorthwyo a'm galluogi i ddwyn fy ymdrech yma i derfyniad llwyddiannus . . . . Fy hoff anwyliaid, Duw a roddo ras i chwi i lwyddo ar eich dechreuad, ac i gyrhaedd diwedd boddhaol. Ysgrifenwyd ym Maelienydd y 13eg o Ragfyr.

EDMUND MORTIMER.[4]

Methasom a chael hanes am ddim gwrhydri a wnaed gan Mortimer a'i ganlynwyr; ond bu Mortimer yn foddion i ennill Hotspur i bleidio Owain. Nid oedd hyn yn orchwyl caled, o blegid yr

---

[1] Rymer's *Foedera*, vol. viii., p. 753.
[2] Cywydd Rhif XII., llin. 41-42.
[3] Wylie's *Hist. Eng. under Henry IV.*, vol. i., p. 344.
[4] Ellis's *Original Letters*, Second Series, vol. i., p. 24.

oedd oerfelgarwch wedi dechreu rhwng Hotspur a'r brenin. Achoswyd yr oerfelgarwch mewn rhan o herwydd anghydwelediad mewn perthynas i'r carcharorion Ysgotaidd a gymmerasai Hotspur ym mrwydr Homildon Hill, ac mewn rhan o herwydd i'r brenin wrthod pridwerth Mortimer, chwaer i'r hwn—Elizabeth—oedd gwraig Hotspur.[1] A chytunodd Hotspur a Mortimer i gynnorthwyo Owain. Ond cyn i ddim gael ei wneyd, ymosododd y Tywysog Harri o Fynwy—wedi hyny Harri V.—ar Sycharth a Glyndyfrdwy, yn absennoldeb Owain. Yr oedd y Tywysog wedi cael ei benodi yn rhaglaw Cymru a'r Cyffiniau ar y 7fed o Fawrth, 1403 ; ac ar y 15ed o Fai canlynol anfonodd lythyr at y Cyfrin Gynghor yn hysbysu ddarfod iddo, mewn canlyniad i fwriad Owain o roddi gwrthwynebiad pellach, arwain nifer o filwyr at Sycharth, "yr hwn oedd ei brif lŷs ac wedi ei adeiladu yn gadarn." Gan na welwyd neb yno, llosgwyd yr holl fangre, yn cynnwys tai y tenantiaid oedd gerllaw. Aeth y tywysog a'i wŷr oddi yno "i'w le arall yn Glyndyfrdwy;" ni chafwyd neb yno ychwaith, ond llosgwyd maesdy hardd oedd yn y parc, a diffaethwyd yr holl wlad oddi amgylch. Daliwyd yn yr ardal un o gadlywyddion Owain, yr hwn a roddwyd i farwolaeth yn y fan ; er iddo gynnyg £500 os arbedid ei fywyd. Wedi hyny aethant i gwmmwd Edeyrnion, a diffeithasant y "wlad brydferth a phoblog" hono; a dychwelasant i'r Amwythig trwy Bowys.[2]

Nis gwyddom pa le yr oedd Owain y pryd hwn, os nad oedd ar ei ffordd i'r Deheudir. Pa fodd bynag, yr ydym yn ei gael yno yn nechreu Gorphenaf, 1403, yn ymosod ar amryw fanau yng nghymmydogaeth Caerfyrddin. Mewn llythyr dyddiedig Gorphenaf 7, yr hwn a ysgrifenwyd gan Jenkin Hanard, ceidwad castell Dinefwr, at Drysorydd Brycheiniog, dywedir fod Owain Glyndwr, Henry Don, Rhys Ddu, Rhys ap Gruffydd ap Llywelyn, a Rhys Gether[3] wedi ennill tref Caerfyrddin, ac fod Wygmor, ceidwad castell Caerfyrddin, wedi rhoddi y castell i fyny; iddynt losgi y dref a lladd 50 o wŷr; eu bod yn bwriadu am Gydweli, a bod castell Dinefwr yn warchäedig ganddynt. Dywed Hanard mewn llythyr arall, dyddiedig ar yr 11eg o'r un mis, mai nifer dilynwyr

[1] Wylie's *Hist. Eng. under Henry IV.*, vol. i., p. 246.
[2] Ellis's *Original Letters*, Second Series, vol. i., p. 10.
[3] Rhys Gethin?

Owain yr adeg hono oedd 8,240 o waewffyn "o'r fath ag oeddynt." Daeth y Barwn Carew allan i'w wrthwynebu; ac ar y 12fed o'r un mis lladdodd Carew adran o fyddin Owain, a anfonasid allan i gyfarchwilio, heb adael un yn fyw o'r saith gant.[1]

Oddeutu yr un adeg ag yr oedd Owain yn anrheithio yn y Deheudir, hysbyswyd y brenin fod Hotspur (Henry Percy)—mab Iarll Northumberland—gyda llu o filwyr ar ei ffordd i Gymru er ymuno â'r gwrthryfelwyr, yn cael ei gynnorthwyo gan nifer o'r Ysgotiaid dan arweiniad Iarll Douglas. Prysurodd y brenin gyda byddin gref i'w cyfarfod. Cyfarfuant ar wastadedd yn ymyl yr Amwythig. Ac ar yr 21ain o Gorphenaf ymladdwyd un o'r brwydrau mwyaf gwaedlyd sydd ar gof a chadw yn hanes ein rhyfeloedd cartrefol, yr hon a adnabyddir wrth yr enw "Brwydr yr Amwythig." Ym mhlith ereill a laddwyd yr oedd Hotspur ei hun; a throdd y fuddugoliaeth o du y Brenin. Y mae Owain yn cael ei gyhuddo gan rai haneswyr o lwfrdra yn yr amgylchiad hwn, gan y dywedir ei fod, ar y dydd yr ymladdwyd "Brwydr yr Amwythig," yn llechu gyda 12,000 o wŷr yng Nghroesoswallt; ac mai yr unig wasanaeth a wnaeth i Hotspur oedd anfon adran o 4,000 i'r frwydr dan arweiniad Syr Jenkin Hanmer, ei frawd yng nghyfraith.[2] Ond gan fod prawf fod Owain yng nghymmydogaeth Caerfyrddin ar y 12fed o leiaf, ac i'r frwydr gael ei hymladd ar yr 21ain, y mae yn lled ammheus fod unrhyw sail i'r cyhuddiad.

Ym mis Hydref, 1403, tiriodd lluoedd o'r Ffrancod a'r Llydawiaid ar draethellau Caerfyrddin, ac ymosodasant ar gestyll Cydweli a Chaerfyrddin, fel cynnorthwywyr i Owain. Yn ddiweddarach yn yr un flwyddyn, ac yn nechreu y flwyddyn ganlynol, ymosodasant ar amryw gestyll yng Ngogledd Cymru, ac yn eu plith Aberteifi, Aberystwyth, Llanbedr, Harlech, Criccieth, a Chaernarfon; ac yn Ebrill, 1404, aethant ar ymgyrch ddifrodol can belled a Sir Amwythig.[3] Yn fuan ar ol hyn, fel y gallem dybied, y daeth Owain a'i wŷr i wrthdarawiad â byddin o'r Seison ar Fynydd Cwmdu, yr hon a arweinid gan Richard Beauchamp, Iarll Warwick. Cymmerodd y Seison feddiant o faner Owain. Ymgyf-

---

[1] Ceir manylion am y brwydrau hyn yn Sir Gaerfyrddin, yn Ellis's *Original Letters*, Second Series, vol. i., p. 17.

[2] Pennant's *Tour in Wales*, vol. i. p. 363.

[3] Wylie's *Hist. Eng. under Henry IV.*, vol. i., pp. 429-38.





nerthodd yntau yn ebrwydd, ac a'u hymlidiodd, nes goddiweddyd y Seison mewn lle a elwid Craig y Dorth, ger llaw Mynwy. A bu raid i Beauchamp, i'r hwn yr oedd tiriogaethau eang yn y rhanbarth hono, alw allan ei holl ddeiliaid er cadw y wlad rhag difrod.[1] Ar y 10fed o Fai, 1404, yr ydym yn cael Owain yn Nolgellau yn arwyddo tystlythyr yn awdurdodi Gruffydd Yonge, ei ganghellydd, a John Hanmer, ei frawd yng nghyfraith, i fyned i Ffrainc i wneuthur cynghrair â'r Ffrancod. Y mae, yn y llythyr hwn, yn gosod ei hun allan fel tywysog Cymru, o blegid ar ei ddiwedd dywedir "yn y bedwaredd flwyddyn o'n llywyddiad," gan gyfrif o'r ymgodiad cyntaf yn 1400. Ond amcan anfoniad y cenhadau i Ffrainc oedd ceisio cynnorthwyon yn erbyn y Seison; a derbyniwyd hwy yn groesawus gan y Ffrancod.

O Mai 10, 1404, pryd yr arwyddodd y tystlythyr uchod yn Nolgellau, nis gwyddom ddim o hanes Owain hyd Ionawr 12, 1405, pryd y cadarnhäodd y cytundeb â Ffrainc, "o'i gastell yn Llanbadarn." Y mae y rhan fwyaf o'r awdwyr Cymreig yn dyweyd mai yn 1405 y bu Owain ar "ddifancoll;" a nodir amryw o ogofeydd ac ymguddfanau fel y lleoedd y bu yn llechu ynddynt. Ond ymddengys i ni fod y flwyddyn hon yn llawn mor debygol. Os felly, yn y flwyddyn 1404 y canodd Iolo Goch y Cywydd Rhif XIV.

Ar yr 11eg o Fawrth, 1405, cododd gwrthryfel yng Ngwent a Morganwg. Yr oedd Harri o Fynwy ar y pryd yn Henffordd; a phan hysbyswyd ef, anfonodd adran o'r fyddin, dan arweiniad Syr Gilbert Talbot, i'w ddarostwng. Cyfarfuant â'r gwrthryfelwyr yn Grosmont, Sir Fynwy. Lladdwyd o 800 i 1,000 o'r Cymry, a gorfodwyd y gweddill i ffoi. Pan glywodd Glyndwr am y golled hon, anfonodd adran o'i ganlynwyr, dan arweiniad un o'i feibion, yn erbyn y Seison, ac ymladdwyd brwydr ffyrnig ar Fynydd y Pwll Melyn, Sir Frycheiniog, ar y 15fed o'r un mis. Ond y waith hon eto lladdwyd a chymmerwyd yn garcharorion gynnifer a 1,500 o'r Cymry. Ac ym mhlith y lladdedigion yr oedd Tudur, brawd Owain Glyndwr. Tybiwyd ar y cyntaf mai Owain ei hun ydoedd, nes y gwelwyd nad oedd yr un ddafaden oddi ar ei lygad, sef yr unig nôd gwahaniaethol rhwng y ddau frawd.[2] Hawdd ydyw

---

[1] Pennant's *Tour in Wales*, vol. i., pp. 367-8.
[2] *Ibid.*, p. 370.

casglu i'r colledion pwysig hyn ddigaloni llawer ar y Cymry. Ond tua diwedd Mehefin, neu ddechreu Gorphenaf, 1405, glaniodd deugain o longau, yn cynnwys byddin o 12,000 o wŷr yn Aberdaugleddyf. Hwn oedd y cynnorthwy hir-ddisgwyliedig o Ffrainc. Ymosodasant ar amryw leoedd yn Neheudir Cymru, ac ymunodd Owain Glyndwr â hwynt yn Ninbych-y-Pysgod, yn arwain 10,000 o wŷr. Ar ol ymdeithio yng nghyd cyrhaeddasant fryn Woodbury, ym mhlwyf Whittley, naw milltir i'r gogledd-orllewin o Gaerwrangon. Ond aeth y brenin â byddin gref i'w cyfarfod yno. Cymmerodd amryw ysgarmesoedd le; ond nid ydyw haneswyr yn cytuno pa un o'r pleidiau a enciliodd gyntaf. Yn y cyfamser, fodd bynag, yr oedd y llynges Seisonig wedi llosgi a chymmeryd meddiant o'r llongau Ffrengig, fel nas gallai y Ffrancod ddychwelyd i'w gwlad; a bu raid i Owain ddarparu lluestai iddynt nes iddo lwyddo i gael llongau i'w cludo adref ym mis Mawrth y flwyddyn ddilynol.[1] A dyna bron yr oll gynnorthwy a gafodd Owain gan y Ffrancod; felly methiant hollol y profodd y cynghrair.

Sonir am gynghrair triphlyg rhwng Owain, Mortimer, a Iarll Northumberland yn nhy Dafydd Daron, Deon Bangor, lle y trefnid fod iddynt ennill y deyrnas a'i rhanu rhyngddynt. Rhydd Shakespeare[2] ddysgrifiad lled fanwl o'r ymgyfarfyddiad, yr hwn a amserir yn gyffredin tua'r flwyddyn 1402. Ond dywed Mr. Wylie, ar awdurdod Giles, i'r cytundeb hwnw gael ei arwyddo Chwefror 28, 1405[3] (hyny yw, yn ol yr hen ddull o gyfrif, yn niwedd 1405, ac yn ol y cyfrif newydd, yn nechreu 1406). Ond ni ddeilliodd dim o'r cytundeb hwnw.[3] Yr oedd ei achos erbyn hyn yn dechreu gwywo, ac yr oedd ei ganlynwyr yn prysur wrthgilio. Gwibiai y tywysog ieuanc, Harri o Fynwy, yma a thraw ar hyd Gymru gyda byddin gref, yr hyn a fu yn foddion i ddarostwng y gwrthryfel i raddau helaeth. Tua dechreu 1406 gwrthgiliodd trigolion Ystrad Tywi oddi wrth Owain; ac erbyn mis Tachwedd yr oedd gwŷr Môn, y rhai mwyaf ymlynol wrtho o bawb, wedi gwrthgilio, gan ymostwng yn ffurfiol i'r brenin.[4]

---

[1] Pennant's *Tour in Wales*, vol. i., p. 375.
[2] *Henry IV.*, Part i., Act iii., Scene i.
[3] Wylie's *Hist. Eng. under Henry IV.*, vol. i., pp. 355-6.
[4] Ellis's *Memoirs of Owen Glendowr*, pp. 80-83.





O hyny hyd 1409, nid oes ar gael grybwyllion am unrhyw ddygwyddiadau pwysig; a thybir fod Owain yn ystod y cyfnod hwn yn ymguddio yn y coedydd a'r mynyddoedd. Ond ym mis Mai, yn y flwyddyn hon, gorchymmynodd y brenin i Edward Charlton, arglwydd Powys, ddarostwng yr ymgyrchiadau anrheithiol oedd yn cymmeryd lle ar y cyffiniau. Ac yn fuan ar ol hyny, derbyniodd Edward, Duc Caerefrog, a chwech o bendefigion ereill, orchymmyn cyffelyb. Yr oedd Owain yn y cyfamser, yn anhysbys o'r darpariaethau hyn, wedi anfon Rhys Ddu a Philip Scudamore, gydag adran o'r gwrthryfelwyr, i Sir Amwythig; a daeth Duc Caerefrog ar eu gwarthaf, gan eu gorchfygu. Cymmerwyd Rhys a Scudamore i Lundain, lle eu dienyddwyd fel teyrnfradwyr. Ac yn y mis Tachwedd dilynol rhoddwyd amryw ereill o ganlynwyr Owain i farwolaeth, sef Howel ap Ieuan ap Howel, Walter ap Ieuan Fychan, Rhys ap Ieuan ap Rhys, Ieuan Goch ap Morgan, Dafydd ap Tudur, Rhys ap Meredydd, Madoc Bery, Siencyn Backer, Dafydd ap Cadwaladr, a Thomas Dayler.[1] Ond parhaodd yntau yn ddigon cryf i roddi peth trafferth i swyddogion arglwyddi y cyffindiroedd; yn gymmaint felly fel y cynnygiasant ddyfod i ammodau heddwch ag ef ar eu cyfrifoldeb eu hunain, heb ymgynghori â'u harglwyddi. Ni wnaeth hyn ond drygu achos y Seison, gan fod Owain trwy gymmodi â rhai yn alluog i grynhoi hyny o fyddin oedd ganddo yn erbyn y lleill. Ym mis Mai, 1410, arweiniodd ei ddilynwyr, yn cael eu gwneyd i fyny o ychydig Gymry, a'r gweddillion o'r cynghreirwyr Ysgotaidd a Ffrengig oedd yn aros, i wneuthur ymosodiadau difrodol ar y cyffiniau; a pharhäodd felly trwy gydol yr hâf hwnw. Cynhyrfodd hyn y brenin drachefn; ac ar y 23ain o Dachwedd, anfonodd lythyrau at Iarll Arundel, Syr Richard L'Estrange, Arglwydd Powys, a'r Arglwydd Grey o Ruthyn, yn eu cyfarwyddo fod y cytundebau a wnaed gyda Glyndwr yn anghyfreithlawn, ac yn gorchymmyn eu dileu; hefyd annogai hwynt i'w ymlid ef a'i bleidwyr; gan ymddwyn tuag atynt gyda'r llymder mwyaf eithafol.[2] Ond y mae y ffaith i Owain lwyddo i gadw Syr Dafydd Gam yn garcharor hyd 1412, yn profi nad oedd eto wedi ei amddifadu o'i holl allu.

[1] Pennant's *Tour in Wales*, vol. i., p. 386.
[2] *Ibid.*

Bu farw Harri IV. Mawrth 20, 1413, ac olynwyd ef gan ei fab, Harri o Fynwy, yr hwn oedd ar y pryd oddeutu 25 mlwydd oed. Ni wyddom am ddim ymosodiad nac anrhaith a wnaed ar ol hyn gan Owain Glyndwr. Ar y 5ed o Orphenaf dilynol, yr ydym yn cael i Harri V. awdurdodi Syr Gilbert Talbot i wneuthur cytundeb heddwch ag Owain, ac i gynnyg maddeuant llawn iddo ef a'i ddilynwyr os ymostyngent; a dywedir i'r cynnyg gael ei drosglwyddo trwy Dafydd Holbetch, is-oruchwyliwr arglwyddiaethau Maelor ac Ial. Ni ddywedir pa dderbyniad a roddodd Owain i'r negesydd, a chaniatau iddo ei gyrhaedd. Ond y mae y ffaith ddarfod i'r un cynnyg gael ei roddi drachefn i Meredydd, mab Owain, Chwefror 24, 1416, yn awgrymu nad oedd Owain ei hun wedi ymostwng. Dywedir i Meredydd dderbyn y cynnyg; ac iddo ar ei ymostyngiad gael maddeuant. A thrwy hyny adferwyd heddwch rhwng Cymru a Lloegr ar ol mwy na phymtheng mlynedd o ymrysonfa ammhenderfynol.[1] Mewn ysgriflyfr ym Mheniarth dywedir i Owain farw Dy'gwyl St. Matthew, 1415[2]; ond y mae y lle y bu farw yn aros yn ansicr. Nodir amryw o leoedd; ond tybir yn fwyaf cyffredin iddo farw yn nhŷ un o'i ferched, Scudamore neu Monnington, yn Sir Henffordd; ac iddo gael ei gladdu ym mynwent Monnington.

Ar ol rhoddi amlinelliad o'r gwrthryfel, yr ydym yn addef ein hanallu i gytuno â'r rhai hyny nad ydynt byth yn blino ar glodfori Owain Glyndwr. Nis gallwn anghofio mai cweryl personol, ac nid gwladgarwch, oedd wrth wraidd y gwrthryfel. Nid oedd gan Owain ar y cyntaf uwch amcan na dial y camwri a dderbyniodd oddi ar law Arglwydd Rhuthyn. Ond gan fod y Cymry, yn awr ac eilwaith, yn gobeithio y cyfodai un o'u plith eu hunain i'w gwaredu oddi wrth ormes y Seison, bu y cweryl crybwylledig yn achlysur iddynt adgyfodi "Proffwydoliaeth Merddin," a phenderfynu, yn eu meddyliau ofergoelus, mai Owain oedd y "mab darogan." Dechreuwyd olrhain ei achau; a chafwyd allan i

---

[1] Pennant's *Tour in Wales*, vol. i., p. 394.

[2] *Hengwrt MS.*, No. 133. Darllena y cofnodiad fel y canlyn: –"Obitus Owain glyndwr die sancti mathei apostoli anno domini millimo ccccxv." Fel rheol, amserir ei farwolaeth ar yr 20fed o Fedi yn y flwyddyn hono; gan osod Dy'gwyl St. Matthew yn ol y cyfrif newydd.

foddlonrwydd, iddynt hwy ac yntau, ei fod yn hanu o holl hen dywysogion Cymru. Ac yna, ar ol i'r brenin fforffedu ei feddiannau, aeth yr anghydweledïad personol yn wrthryfel cenedlaethol.

Ar yr olwg gyntaf, meddai Owain amryw o gymhwysderau neillduol i fod yn arweinydd. Heb law ei waedoliaeth dywysogaidd, gellir nodi ei addysg foreuol, ei wybodaeth yng nghylch personau a phethau a gafodd pan yn llŷs Richard II., bywiogrwydd ei feddwl, a'i wroldeb naturiol. Wedi y cyfan, nid ydyw ei hanes yn profi ei fod yn faeslywydd medrus. Y mae genym enghreifftiau o'i lwyddiant pan y gorchfygodd y Fflandrwysiaid ar fynydd Pumlumon, a phan y gorchfygodd Syr Edmund Mortimer yn Sir Faesyfed; ond, a chymmeryd ei holl yrfa i ystyriaeth, gwelwn ei fod yn fwy o anrheithiwr a difrodwr nag ydoedd o filwr. Pan ddeuai byddinoedd y brenin i Gymru, byddai Owain a'i ganlynwyr, fel rheol, yn cadw o'r golwg. Pan lwyddai i sicrhau cynnorthwyon, byddent yn gorfod sefyll y frwydr eu hunain; o blegid byddai ef yn ddigon pell yn ymosod ar leoedd cymharol ddiamddiffyn. Fel maeslywydd doeth, dylasai gyfeirio nerth ei alluoedd fel ag i gyd-daraw ar y gelyn. Ond y mae yn bosibl nad oedd bob amser yn rhydd-weithredydd. Hwyrach, rhag achosi rhwyg ym mhlith ei ddeiliaid, ei fod yn aml yn gorfod myned i un man pan y dymunasai fyned i le arall. Gwyddom mai diffyg undeb, a chyndynrwydd i ymostwng i ewyllys eu llywodraethwyr, a fu yr achosion a brofasant yn felldith a dinystr i'r Cymry ym mhob oes. Yn lle ymuno â'u gilydd fel un gwr yn erbyn eu gelyn cyffredin, ymrysonent yng nghylch y manylion; a byddai y rhai na chaffent eu ffordd yn digio ac yn gwrthgilio. Nid oes ammheuaeth yn ein meddwl na phrofodd Owain lawer o ofid a siomedigaeth oddi wrth y duedd genedlaethol hon. Ymddengys i ni mai y coedwigoedd tewfrig, y ffyrdd geirwon, a gerwindeb yr hinsawdd, yn hytrach na dewrder a medrusrwydd y Cymry fel rhyfelwyr, a rydd gyfrif am aflwyddiant y Seison i'w darostwng am amser mor hir.

Anhawdd fyddai penderfynu pa fanteision neu anfanteision a ddeilliasent i'r Cymry pe buasai y gwrthryfel yn troi allan yn llwyddiant. I'n tyb ni, ni fuasai ond anfantais ddigymmysg; ond afreidiol ac ofer fyddai chwilio i ganlyniadau llwyddiant posibl. Pa fodd bynag, nid oes anhawsder o gwbl i benderfynu i'r

aflwyddiant droi allan yn dra anffodus i Owain ei hun yn gystal ag i'w gydwladwyr. Fforffedodd ef ei gysuron teuluaidd a'i holl feddiannau; a phrofodd y gwrthryfel yn dra niweidiol i'r wlad yn gyffredinol. Heb law yr holl waed a dywalltwyd a'r pentyrau o gnawd dynol a gladdwyd, parlyswyd amaethyddiaeth a masnach; a gwnaed gwlad ag oedd yn ddigon tlawd yn barod yn dlotach fyth. Y mae yn wir fod y Cymry yn cael eu gorthrymu yn dost gan y Seison, ond bu y gwrthryfel yn foddion i ychwanegu at eu gorthrymderau. Adferwyd deddfau gormesol Edward I., ac ychwanegwyd atynt, gan Harri IV.; ac y mae y deddfau hyny yn warth ar ddalenau ein hanesiaeth wleidyddol.

Er fod ein beirdd a'n gwladgarwyr yn parhau i glodfori Owain Glyndwr; yr oll a allwn yn onest ddyweyd am dano ydyw, mai efe oedd y prif symmudydd yn yr ymegniad olaf er ad-ennill annibyniaeth Cymru, ac iddo fod yr un mor aflwyddiannus a'i ragflaenoriaid. Nid ydym yn llai ein hedmygedd o hono o ran ei aflwyddiant; gan y credwn iddo wneyd ei oreu. Ond nis gallwn ganmol yr amcan oedd ganddo mewn golwg; a hyny am ein bod yn credu fod gwahaniad Cymru oddi wrth Loegr yn golygu dinystr i gysur a heddwch y ddwy genedl—y mae yn ammhosibilrwydd gwleidyddol.

## 11.—BARDD OWAIN GLYNDWR.

Gellir dyweyd mai Owain Glyndwr oedd y Cymro olaf a ddadweiniodd ei gledd yn erbyn Coron Lloegr; a gellir ychwanegu gyda'r un priodoldeb nad oedd cywyddau Iolo Goch ond ymegniad olaf yr awen er symbylu Owain a'i ganlynwyr. Ymddengys fod y gair HEDDWCH yn un o brif arwyddeiriau y beirdd; o leiaf gellid barnu hyny oddi wrth yr hyn a glywir ganddynt o'r "Orsedd," a phan yn cadeirio y bardd buddugol yn ein heisteddfodau. Ond wrth ddarllen gweithiau y cynfeirdd a'r gogynfeirdd, bron na feddyliem mai mewn ystyr wawdlyd yr ydym i ddeall yr arwyddair hwn. Fel dosbarth, y mae yn anhawdd taraw ar un mwy rhyfelgar ei yspryd na'r urdd farddol. Er enghraifft, tröer tudalenau y *Myvyrian Archaiology* a cheir prawf mai annog i dywallt gwaed a chanmol gwrhydri rhyfelwyr oedd y gorchwyl agosaf at chwaeth y beirdd. Ac o holl feirdd y bedwaredd ganrif ar ddeg nid oedd yr un yn fwy gwaedlyd na Iolo Goch.

Gelwir Iolo Goch gan ysgrifenwyr Cymreig yn gyffredin yn "Fardd Owain Glyndwr," neu yn "Fardd Teulu Owain Glyndwr;" ond y mae Gweirydd ap Rhys, fel y sylwasom, yn anghredu hyn am y rheswm fod Iolo "yn ŵr boneddig cyfoethog, yn meddu tiriogaethau eang, a llys godidog yng Nghoed Pantwn;" ac yn ychwanegu fod Iolo ei hun yn "addaw taith" i Sycharth, yr hyn, yn ol Gweirydd, sydd brawf pendant nad "Bardd Teulu Owen ydoedd."[1] Tra y dywed mewn man arall mai "Bardd Teulu" a "Phencerdd" Owain Glyndwr oedd Gruffydd Llwyd ap Dafydd ap Einion Lygliw.[2] Yr ydym eisoes wedi ymdrin ar hawliau Iolo i gael ei ystyried fel gwr boneddig cyfoethog; a phrin yr ydym yn gweled grym yn y ddadl a ddug Gweirydd mewn perthynas i Iolo yn "addaw taith" fel prawf i'r gwrthwyneb, os nad ydym i olygu fod "Bardd Teulu," fel dodrefnyn, yn gwbl gyssylltiedig â phreswylfod ei berchenog. Ac os caniateir fod Gruffydd Llwyd yn "Fardd Teulu" iddo, nid ydyw hyny yn cau allan y posibilrwydd fod Iolo hefyd yn dal y swydd hono, naill ai ar yr un adeg neu ynte fel blaenorydd neu olynydd iddo. Yr unig gywydd i Owain Glyndwr a briodolir i Gruffydd Llwyd—yr hwn hefyd a briodolir i Iolo Goch—ydyw yr un sydd yn dechreu gyda'r llinell:—

"Eryr digrif afrifed."[3]

I'n tyb ni, y mae y cwestiwn pa un a ydoedd Iolo yn "fardd teulu" i Owain Glyndwr ai peidio, yn un nas gellir ei benderfynu —os wrth "fardd teulu" y meddylir bardd *cyflogedig*. Nid ydym yn cael dim i ffafrio y dybiaeth, eithr yn hytrach i'r gwrthwyneb. Y mae yn dra thebyg i Iolo gael yr enw "Bardd Owain Glyndwr" ar y cyntaf o herwydd iddo gyfansoddi llawer o gywyddau iddo; ac yna i rywun, ar sail yr hyn a ddywedir am y bardd brenhinol yng Nghyfreithiau Hywel Dda, roddi iddo y teitl ychwanegol o "Fardd Teulu." Ond nid oes brawf, hyd y gwelwn, fod Owain yn cadw y fath swyddog o gwbl. Ei fod yn hoff o feirdd a barddoniaeth sydd ddigon eglur. Ceisia rhai brofi tuedd Owain at feirdd a barddoniaeth trwy haeru i Dante, y bardd Eidalaidd, ymweled ag ef yn haf 1404, yn Sycharth a Beddgelert; ac i Owain

[1] *Hanes Llen. Gymreig*, tudal. 129.
[2] *Yr un*, tudal. 185.
[3] Cywydd Rhif XV.

gyfieithu un o bryddestau Petrarch i'r Gymraeg.[1] Ni wyddom ddim am y cyfieithiad o Petrarch; ond gan i Dante farw yn y flwyddyn 1321, nis gallasai fod wedi ymweled â Sycharth na Beddgelert yn 1404. Hawddach o lawer genym gredu i Owain, pan y perthynai i lys Richard II., ddyfod i gyffyrddiad â Geoffrey Chaucer a John Gower—y ddwy seren foreuaf yn llenyddiaeth Seisonig—y rhai oedd yn uchel eu parch yn llys Richard. Yr oedd Shakespeare wedi clywed rhywbeth am hoffder Glyndwr at y beirdd, ac y mae yn awgrymu hefyd ei fod yn fardd; o blegid gwna iddo ateb Hotspur yn y geiriau a ganlyn:—

I can speak English, lord, as well as you:
For I was train'd up in the English court:
Where, being but young, I fram'd to the harp
Many an English ditty, lovely well,
And gave the tongue a helpful ornament:
A virtue that was never seen in you.[2]

Ond y mae cywyddau Iolo Goch yn profi fod Owain yn hoff o'r beirdd yn gyffredinol; ac nid ydynt yn awgrymu ei fod ef yn dal unrhyw berthynas agosach—fel "bardd teulu" er enghraifft—na rhyw fardd arall. Sylwer ar y dyfyniadau a ganlyn:—

Ag iechyd a phlant gwych-heirdd,
Yn Sycharth, Buarth y Beirdd.[3]

Ar bedair lloft o hoffter
Yngbyd cor clyd lle cair kler[4]

Pebyll y Beyrdd pawb lle bo
Pe beunydd caiff pawb ynno[5]

Ac yr oedd y fath son wedi myned allan am groesaw a lletty-garwch Owain fel y cyfeiria Lewis Glyn Cothi at y lle, yn yr oes ddilynol, fel "Sycharth buarth y ddwy Bowys."[6] Er fod Lewis Glyn Cothi yn cyfeirio at Sycharth ac at Owain Glyndwr fwy nag unwaith, nid ydyw un amser yn cyssylltu enw Iolo gyda'r naill na'r llall fel "bardd teulu." A phan grybwyllir am dano

---

1 *Hanes yr Hen Gymry* (gan y Parch R. W. Morgan), tudal. 228.
2 Henry IV., Part i., Act iii., Scene i.
3 Cywydd Rhif VIII., llin. 75-76.
4 Cywydd Rhif X., llin. 41-42.
5 *Yr un*, llin. 69-70.
6 *Gwaith Lewis Glyn Cothi*, tudal. 396.





gan Tudur Aled, fel y sylwasom, cyssylltir ei enw ag Ithel ap Robert, ac nid ag Owain Glyndwr. Ond i Owain y canodd Iolo y rhan fwyaf o'i gywyddau gwleidyddol. Y mae wyth o'i gywyddau yn cynnwys enw Owain yn y penawd;[1] ac y mae yn amlwg mai ato ef y cyfeirir yn y Cywyddau Brud. Canodd Iolo dri o gywyddau hefyd i bleidwyr Owain, sef Howel Coetmor, Rhys Gethin, a Ieuan ap Einion;[2] yn y rhai y ceir cyfeiriadau at y gwrthryfel. Felly, fe welir i Iolo, rhwng y naill ffordd a'r llall, gyfansoddi pymtheg o gywyddau i ganmol Owain Glyndwr neu i gefnogi ei achos. Neu, yn fwy cywir, fe *briodolir* pymtheg o'r cyfryw gywyddau iddo; ond fel y cawn ddangos eto, y mae un o honynt yn fwy nag ammheus. Prin y meddyliwn fod Pennant yn hollol deg tuag at Owain, wrth gyfeirio at y cyfeillgarwch a fodolai rhyngddo ag Iolo Goch, pan y sylwa fel y canlyn :—

Bu Iolo Goch, bardd enwog o'r cyfnod hwn, yn aros yn ei dŷ am dymhor. Daeth yno ar daer wahoddiad Owain; yr hwn, gan ddeall dylanwad nerthol yr urdd yma o ddynion ar yr hen Frythoniaid, a wnaeth ei dŷ, fel y dywed Iolo, yn gartref iddynt. Gwnaeth hwy yn offerynau ei weithrediadau dyfodol, ac i barotöi meddyliau y bobl gogyfer â'r adeg y bwriadai wrthryfela. Yr wyf yn benthyca dysgrifiad o dŷ y penaeth o waith Iolo, pan oedd yn ei holl orwychedd. Y mae yn ei gymharu, o ran ardderchogrwydd, i fynachlog Westminster; a hysbysa ni fod iddo borth, ac fod ffos o'i amgylch.[3]

Yn awr, nid oes brawf, na'r tebygolrwydd lleiaf, i Owain Glyndwr erioed feddwl am wrthryfela hyd ddiorsediad Richard II.; ac y mae yn ddigon eglur i Iolo gyfansoddi tri o'i gywyddau iddo cyn y gwrthryfel, os nad cyn esgyniad Harri IV. i'r orsedd. Ond eto, yn y cywyddau hyny y mae Iolo yn galw Sycharth yn "Fuarth y Beirdd" ac yn "Bebyll y Beirdd." Y mae yn ammhosibl i ni feddwl i Owain ragweled y dyfodol yn y fath fodd fel ag i arfolli y beirdd gyda'r amcan o sicrhau eu gwasanaeth mewn achos o gyfyngder. Nid oes ychwaith, hyd y gwyddom, nemawr o gyfansoddiadau barddonol am Glyndwr ar gael, heb law y rhai a gyfansoddwyd gan Iolo Goch. Yr ydym eisoes wedi nodi un, yr hwn a briodolir i Gruffydd Llwyd; a phriodolir "Cywydd Marwnad

[1] Cywyddau Rhif VIII.-XV.
[2] Cywyddau Rhif V.-VII.
[3] Pennant's *Tour in Wales*, vol. i., p. 328.

Owain Glyndwr" i Rhys Goch Eryri.[1] Felly, os ydyw Pennant yn gywir yn ei ddyfaliad am amcan Owain yn croesawu y beirdd, ymddeugys iddo gael ei siomi ym mhawb o honynt oddigerth Iolo Goch. Ond ymddengys i ni yn ddigon naturiol, yr un pryd, fod a wnelo cyfeillgarwch a charedigrwydd Owain i'r bardd ryw gymmaint â ffrwythlondeb ei awen. Y mae yn amlwg fod Iolo yn lled gartrefol yn Sycharth, ac yn cael ei groesawu yn fawr yno. Ond y mae yr un mor amlwg fod y bardd yn hollol ffyddlon i'w noddwr a'i gyfaill. Sylwa un awdwr fod y gwaed Seisonig oedd yng ngwythienau y bardd yn peri iddo fod yn fwy o sylwedydd pwyllog, nag o weithredydd, yn y gwrthryfel; ei fod yn cadw draw rhag unrhyw berygl a allasai ddygwydd iddo trwy gynnorthwyo ei gyfaill, gan foddloni yn unig ar ganu ei glod.[2] Ond ymddengys y sylw hwn yn hollol ddisail. A chaniatau ei fod yn "*a De Lacy on his mother's side*," fel y sylwa yr un ysgrifenydd, dylid cofio nad oedd oedran y bardd yn gyfryw ag y gallesid dysgwyl iddo wneuthur llawer o niwed i'r gelyn. Nid ydyw ei gywyddau yn profi fod ynddo ddim gwaed Normanaidd, nac ychwaith ei fod yn meddu y cydymdeimlad lleiaf â'r Seison. Anhawdd ydyw dychymmygu pa fodd y gallasai ddefnyddio iaith gryfach yn eu herbyn, a mwy cefnogol i'r Cymry. Ac y mae yn ddiammeu genym i'w gyfansoddiadau wneuthur llawer tuag at gynhyrfu y wlad i ymuno yn y gwrthryfel. Ond o ran dim a ddywedir yn un man, oddigerth gan y Dr. Wilkins yn y sylw a nodwyd, nid oes grybwylliad pa un a gymmerodd Iolo ran yn y gwrthryfel ai peidio. Ei oedran addfed ydyw yr unig reswm sydd yn peri i ni ammeu iddo gymmeryd rhan weithredol yn yr ymrysonfa. Ac os tybir ei fod ar y pryd oddeutu 90 mlwydd oed, yr hyn sydd yn ein synu fwyaf ydyw fod ei awen mor fywiog a nerthol ag yr ydoedd.

Y mae y crybwylliad uchod am ei oedran yn ein dwyn yn naturiol at amseriad tebygol ei farwolaeth. Nid oes gofnodiad am ei farwolaeth yn un man; ac ni wyddom i neb ganu marwnad ar ei ol. Yr oedd y beirdd hyny ag y mae genym brawf eu bod yn

[1] Yn *Add. MS.*, 14,970, fol. 109*b*—yr hwn a ddechreua fel hyn :—

"Y ddeu fab a addefwn
Hynod gerdd heno od gwn."

Y mae y cywydd hwn i'w weled hefyd yn *Add. MS.*, 14,866, fol. 253*b*.

[2] Wilkins' *Hist. of the Literature of Wales*, p. 65.





gyfeillgar ag ef wedi marw o'i flaen. Yr oedd yn gyfeillgar â Dafydd ab Gwilym, Llywelyn Goch, ac Ithel Ddu; a chanodd yntau ar eu holau. Sonia unwaith am Madog Dwygraig[1]; ac y mae yn debyg i hwnw farw o'i flaen. Pa fodd bynag, ni wyddom i neb gyfansoddi marwnad i Iolo Goch. Hwyrach y buasai y farwnad, pe wedi ei chyfansoddi, yn ein cynnorthwyo i benderfynu amseriad ei farwolaeth Ond yn awr rhaid i ni ymorphwys ar ei gywyddau ef ei hun er cael allan yr amseriad tebygol.

Yr ydym yn gweled iddo ganu "Marwnad Ithel Ddu y Bardd o Fôn," yr hon a ddechreua gyda'r llinell—"Dor yw o fro Feilyr Frych."[2] Ni wyddom ddim o hanes Ithel Ddu—pa bryd ei ganwyd, na pha bryd y bu farw. Y mae yn wir y dywedir ei fod "yn byw rhwng y blyneddoedd 1380 a 1421,"[3] ond nis gwyddom ar ba sail y gwneir yr haeriad. Pa fodd bynag, gan i Iolo Goch ganu marwnad iddo, ac os ydyw yr amseriad uchod yn gywir, rhaid i Iolo fyw hyd 1421. Ac os ganwyd ef, fel yr ydym eisoes wedi awgrymu, oddeutu 1310, gwelir iddo gyrhaedd yr oedran o 111, pa faint bynag yn ychwaneg! Ond y mae yn ymgynnyg i ni y dichon fod yr amseriadau a gysylltir ag Ithel Ddu yn anghywir. Yn yr un gwaith ag y dywedir i Ithel Ddu *fyw* rhwng 1380 a 1421, ceir i Madog Dwygraig *flodeuo* rhwng 1300 a 1370.[4] Ond y mae "Cywydd Duchan Gwyddelyn mab Hersdin Hogl" yn profi fod Ithel Ddu a Madog Dwygraig yn gydoeswyr;[5] ac felly y mae yr ysgrifenydd dan sylw yn gosod Madog Dwygraig yn rhy gynnar, neu ynte Ithel Ddu yn rhy ddiweddar. Y casgliad yr ydym yn dyfod iddo ydyw na ddylid rhoddi ond ychydig bwys ar yr amseriadau a geir yn ein gweithiau bywgraffyddol; yn enwedig pan na roddir gwell rheswm na thybiaeth noeth drostynt. Ac o ran unrhyw dystiolaeth bendant o fewn ein cyrhaedd, nid oes brawf i Ithel Ddu oroesi y bedwaredd ganrif ar ddeg. Nid oes yn y farwnad a ganodd Iolo Goch iddo ddim a'n galluoga i benderfynu amser marwolaeth Ithel Ddu.

---

[1] Cywydd Rhif XLI., llin. 47-48.
[2] Cywydd Rhif XXXVII.
[3] *Geir. Cen. Cymru* (O. Jones), cyf. i. tudal. 680.
[4] *Yr un*, cyf. ii., tudal. 231.
[5] Cywydd Rhif XLI., llin. 42-48.

Dywed Cynddelw i Iolo "fyw ar ol Owain Glyndwr;" a seilia ei haeriad ar englyn a briodolir iddo. Ac os efe a gyfansoddodd hwn, profir yn ddiammheuol i'r bardd fyw hyd y flwyddyn 1415. Ceir ef yn argraffedig yn *Ngreal* Llundain yn olaf o bedwar. Ac os Iolo oedd eu hawdwr, yna, yn ol yr un dull o ymresymiad, gwelir oddi wrth yr *ail* iddo fyw hyd yn oed ar ol y flwyddyn 1569! Ond wele yr englynion :—

Oedran Iesu gu gyvion—brynwr, a
Brenin yr Iuddewon,
Deunaw a phumcant union,
A mil, pan las gwartheg Môn.

Pymtheg cant gwarant oed gwiwreg—Ior nev,
Naw a thrugain chwaneg,
Poen loes gerth, pan las gwartheg
Lleyn eurwych dir Llanerch deg.

Deu cant, a mil, myn Dugain—oed
Duw, a dwy a phedwar ugain,
Pan las Llewelyn, fawr lain
Yn Muellt cyn term Owain.

Mil pedwar cant, heb ddim mwy—cov ydyw
Cyvodiad Glyn Dyvrdwy;
A phymthog praf ei safwy,
Bu Owain hen vyw yn hwy.

IOLO GOCH.[1]

Nid oedd derfyn ar hygoeledd golygwyr a gohebwyr *Y Greal*; onide, ni fuasai yr englynion uchod yn cael ymddangos ar ei dudalenau, gydag enw Iolo Goch wrthynt, heb yr un gair o eglurhad. Ymddengys i ni nad ydyw yr englynion ond gwaith rhyw fardd lled ddiweddar; ac yna i rywun yn ddiweddarach fyth, heb unrhyw reswm cryfach nag fod Iolo wedi canu cymmaint i Owain Glyndwr, feddwl mai ei waith ef ydoedd yr olaf. Yr ysgriflyfr hynaf yn yr

---

[1] *Y Greal*, tudal. 165. Ceir enghraifft arall o hygoeledd golygwyr y *Greal* ar tudal. 18, lle y dywedir :--

"Tudyr Hen ab Gronw ab Ednyfed Vychan, à wnaeth Briordy Bangor yn y vlwyddyn 1299, à vu varw, 1311. Iolo Goch à ganodd ei varwnad, 89 blwydd cyn rhyvel Owain ab Grufydd o Lyn Dyvrdwy, yn 1400; ac y mae yn debyg vod Iolo o leiav 110 mlwydd oed y pryd hyny. Naw mlynedd wedi hyny y mae Iolo yn cwynaw vyned Owain dan gudd, neu ar ddifancoll, yn y cywydd yn dechreu—' Y gwr hir, ni'th gar Harri.'"

hwn y gwelsom ni ef ydyw *Add. MS.*, 14,994, a ysgrifenwyd tua'r rhan olaf o'r eilfed ganrif ar bymtheg. Heb law nad ydyw yr englyn mewn un modd yn debyg i waith Iolo Goch, y mae yn lled ammheus genym y buasai yn rhuthro i wneyd y fath englyn bron ar farwolaeth ei arwr. Cyfansoddwyd yr englyn, yn ein tyb ni, gan un na wyddai ond ychydig am Owain Glyndwr, o blegid gelwir ef yn "Owain *hen*." Ond nid oedd Owain uwch law 56 mlwydd oed pan fu farw, felly nis gallasai fod yn *hen*. Pa fodd bynag, os barna y darllenydd mai Iolo oedd awdwr yr englyn, bydd o angenrheidrwydd yn rhwym o gydnabod fod Iolo yn byw mor ddiweddar a diwedd 1415. Ac os Iolo a wnaeth yr olaf, ymddengys oddi wrth y *Greal* mai efe a wnaeth y tri ereill hefyd. Felly yr oedd Iolo yn fyw mor ddiweddar a 1569 !

Y mae rhai yn gosod yr amser yr aeth Owain "ar ddifancoll" mor ddiweddar a'r flwyddyn 1412[1], tra y dywed ereill mai oddeutu 1405 y bu hyny. "Gorchfygwyd Owain Glyndwr," medd Gweirydd ap Rhys, "yn gynnar yn y fl. 1405; a gorfodwyd yntau i gymmeryd nawdd ym mhlith ei gyfeillion; a llechai'n fynych mewn ogofau a lleoedd anghyfannedd; ac ymddengys mai o gylch y pryd hyn y canodd Iolo Goch, pan y tybir ei fod tua chant oed, ei gywydd campus a elwir "Cywydd i Owain wedi ei fyned ar ddifancoll,"[2] yn yr hwn y geilw'r bardd arno ddyfod o wahanol barthau'r byd, i ail feddiannu ei Dywysogaeth."[3] Cydnabyddir yn lled gyffredin mai hwn oedd y cywydd olaf a gyfansoddwyd gan Iolo. Ond y mae yn anhawdd penderfynu i sicrwydd yr adeg ei cyfansoddwyd. Pa fodd bynag, nid oes unrhyw angenrheidrwydd dros ei amseru mor ddiweddar a 1412, nac ychwaith mor ddiweddar a 1405—er nad oes genym lawer i ddywedyd yn erbyn yr amseriad olaf. Yr ydym eisoes[4] wedi sylwi ein bod yn colli golwg ar Owain o Mai 10, 1404, hyd Ionawr 12, 1405; a gallasai y cywydd fod wedi ei gyfansoddi yn yr adeg hono

Yn awr, ar ol edrych yn fanwl dros y gwahanol haeriadau a wneir, gan eu cymharu yn ofalus â ffeithiau adnabyddus, nid ydym yn gweled fod unrhyw angenrheidrwydd arnom gredu i Iolo Goch

---

[1] *Dict. of Nat. Biography*, art. "Iolo Goch."
[2] Cywydd Rhif XIV.
[3] *Hanes Llen. Gymreig*, tudal. 133.
[4] Gwel tudal. 59, uchod.

fyw yn hwy na 95 o flynyddoedd, sef dyweder o 1310 hyd 1405. Ac wrth ganiatau hyn iddo, nid ydym mewn un modd yn gwneuthur cam ag ef. Y mae 95 o flynyddoedd yn oes faith; ond nid mor faith ag yr arweinir ni i dybied gan y rhai a ysgrifenasant arno, sef, dyweder o 1295 hyd farwolaeth Ithel Ddu yn 1421, yr hyn ni wna ei oes yn llai na 126 o flynyddoedd—neu, a derbyn amseriad yr ail o'r englynion a ddyfynwyd, o 1295 hyd 1569, yr hyn a wna ei oedran pan yn marw yn ddim llai na 274 o flynyddoedd! Ond nid yw hyn ond ynfydrwydd.

Ni chytunir ychwaith ar y lle y claddwyd Iolo. Dywedir yn *Greal* Llundain, fel y sylwyd eisoes, "ev a'i veibion a gladdwyd yn Monachlog Eglwysegl ger llaw Llangollen." Mewn "Awdl i Ddafydd, Abad Glyn Egwestl," o waith Gutyn Owain, ceir y pennill a ganlyn:—

O foliannau nef fal Enog
Y pwysai fydr Powys Fadog;
O eiliad Iolo,
Ar fawl y gwyr fo
Weddio'n addefog.

Ar yr hwn y sylwa Cynddelw fel y canlyn:—"Iolo Goch, yr hwn a gladdwyd yma. Dichon iddo gyfansoddi emynau at wasanaeth y fynachlog."[1] Ond os cyfansoddodd Iolo y cyfryw emynau, yr hyn sydd yn eithaf posibl, nid ydyw hyny yn profi pa le ei claddwyd. O'r ochr arall, dywedir mewn ysgriflyfr yn yr Amgueddfa Brydeinig[2] i Iolo Goch gael ei gladdu yn Llannefydd, ac i Rhys Goch Glyndyfrdwy gael ei gladdu yn Llandrillo. Ac y mae Cynddelw mewn man arall yn sylwi:—"Claddwyd ef, medd rhai, yn monachlog Pant y groes[3], ger Llangollen; ereill a ddywedant mai yn Llannefydd y claddwyd ef."[4] Ond yr oll a wyddom am le ei gladdedigaeth ydyw hyn:—(1), Dangosir penglog, yr hwn a gedwir yn barchus ym Mynachlog Pant y groes, fel yr un a berthynai i Iolo; ac yn (2), dangosir beddfaen rhyw Iorwerth ap Iorwerth, ond yr amseriad wedi treulio ymaith, ym

---

[1] *Gorchestion Beirdd Cymru*, tudal. 209.

[2] *Add. MS.*, 15,022, fol. 54.

[3] Yr un yw Mynachlog Glyn Egwestl a Mynachlog Pant y groes, yr hon a adnabyddir gan y Seison wrth yr enw *Valle Crucis Abbey*.

[4] *Gorchestion Beirdd Cymru*, tudal. 109.

mynwent Llannefydd, fel i ddynodi y fan lle claddwyd Iolo. Nid oes genym ddim i ddyweyd mewn perthynas i'r un o'r ddwy dybiaeth, heb law y carem wybod pa brofion sydd parthed i berchenog y penglog; a dymunem hefyd adgoffa y darllenydd mai Ithell, ac nid Iorwerth, oedd enw tad Iolo Goch.

## 12.—NODIADAU AR YR YSGRIFLYFRAU A DDEFNYDDIWYD.

Y mae cyfansoddiadau barddonol Iolo Goch yn wasgaredig mewn cynnifer o ysgriflyfrau, wedi eu hysgrifenu gan amrywiol bersonau, ac ar wahanol amserau, fel y mae yn ammhosibl—os dilynir yr ysgriflyfrau—sicrhau unffurfiaeth orgraffyddol. Dymunol fuasai casgliad o'r holl gywyddau wedi eu hysgrifenu gan y bardd ei hun, neu o leiaf, gan ryw un person yn fuan ar ol ei amser. Buasem trwy hyny yn alluog i roddi ger bron y darllenydd weithiau Iolo mewn ffurf a fuasai o werth ammhrisiadwy i'r ieithyddwr a'r myfyriwr Cymreig. Rhaid i ni addef ar y dechreu na ddilynwyd ein hymchwiliadau gyda'r llwyddiant a ddymunem. Y mae rhan helaeth o'r ysgriflyfrau y llwyddasom i'w gweled yn rhy ddiweddar o lawer i fod o wir werth i'r ieithyddwr. Ac wrth gymharu yr un cywyddau mewn gwahanol ysgriflyfrau, gwelwn eu bod wedi eu llygru a'u cyfnewid gymmaint, fel mai gorchwyl anhawdd ydyw eu hadnabod. Dichon fod y cyfnewidiadau yn tarddu o un, neu ychwaneg, o'r achosion canlynol:—

(1) Y cyfnewidiadau a wnaed gan y bardd ei hun. Nid ydyw ond peth cymharol gyffredin yn ein hoes ni fod awdwyr yn cyfnewid ac yn cywiro eu cyfansoddiadau. Ac o bosibl na wnaed hyny gan Iolo; ac yna i'r naill gopïwr ddilyn un copi, ac i gopïwr arall ddilyn y llall.

(2) Y mae yn debyg i amryw o'r cywyddau gael eu dysgu ar dafod-leferydd, ac yna eu hysgrifenu oddi ar y cof; felly, yr oedd diffyg neu ammherffeithrwydd y cof yn peri amrywiaeth.

(3) Rheswm arall a awgrymir ydyw diofalwch, esgeulusdra, neu anallu y copïwyr; a thybiwn y gellir priodoli cryn lawer o'r diffygion a'r camgymmeriadau dan y pen hwn.

(4) Ond o bosibl mai y prif reswm ydyw fod y copïwyr yn gwneyd cyfnewidiadau bwriadol. Yr oedd Iolo a'i gydoeswyr yn hynod o ddiffygiol o ran cynghanedd; yna ceisiai y copïwyr, y

rhai, fel rheol, oeddynt feirdd eu hunain, gywiro y gwaith gwreiddio Ond yr oeddynt trwy hyny yn tynu ymaith yn ddirfawr oddi wrth werth y cyfansoddiadau.

Rhydd y rhesymau uchod gyfrif nid yn unig am y gwahaniaeth a welir yn yr amrywiol gopïau, ond rhoddant eglurhad hefyd ar y diwyg diweddar, yn yr hwn y cynnygir gweithiau rhai o'n hen feirdd i'r cyhoedd. Dywedir yn gyffredin fod iaith ac arddull Dafydd ab Gwilym, yn ei gywyddau cyhoeddedig, mor syml a dealladwy a gweithiau beirdd y bedwaredd ganrif ar bymtheg. Ond nid ydyw y rhai a sylwant felly yn cofio mai nid iaith Dafydd ab Gwilym a ddarllenant; eithr cyfnewidiadau a chywiriadau Owain Myfyr a'r Dr. W. Owen Pughe—y rhai a olygasant ei waith. Nid ydym yn petruso dyweyd nad oes nemawr linell yn yr argraffiad o *Farddoniaeth Dafydd ab Gwilym*, a gyhoeddwyd yn 1789, yn hollol yr un fath ag y daeth o law yr awdwr. Dymunol a fuasai cyhoeddi gweithiau yr hen feirdd mor agosed ag y gellir, yn ddiffygion ac yn bob peth, fel y maent yn yr ysgriflyfrau hynaf; ac nid eu trwsio. Yn aml rhoddir attalnodau i mewn, a thrwy hyny priodolir ystyron i'r llinellau na feddyliwyd erioed am danynt gan yr awdwr. Ac yn lle ein gadael i ymgydnabyddu âg orgraff y bedwaredd ganrif ar ddeg, rhaid i'r golygwyr ddyfetha gwerth hanesyddol ac ieithyddol y caniadau dan yr esgus eu bod trwy hyny yn eu gwneyd yn ddealladwy i'r werin. Ond nid ydyw y cyhoedd, fel rheol, yn prisio y cyfryw gyfansoddiadau mewn unrhyw ddiwyg. Rhywbeth salw, ysgafn, a didrafferth i'r ymenydd a gâr y werin. Nid ydynt yn gofalu am hynafiaethau a hanes eu gwlad, er yr ymffrostiant lawer yn y cyfeiriad hwn. Ac nid ydyw y cyfryw gyfansoddiadau, ar ol eu cyfnewid a'u cyfaddasu ar gyfer y lluaws, o nemawr werth i'r dosbarth a'u darllenent pe y rhoddid hwynt ger bron yn eu ffurf gynhenid—nid ydynt o werth mwyach i efrydwyr ieitheg. A'r ystyriaeth hon a bâr i ni ofidio ein haflwyddiant i dd'od o hyd i'r oll o gyfansoddiadau Iolo mewn ysgriflyfrau cydoesol.

Eto, sicrheir ni fod llawer o'i gywyddau yn wasgaredig ar hyd y wlad; ond golygai y gwaith o'u casglu fwy o amser na'r flwyddyn a roddwyd at y gorchwyl gan bwyllgor yr Eisteddfod. Gan fod llawer o ysgriflyfrau Cymreig ym meddiant ein boneddigion—llawer o'r rhai ydynt mor anlengarol ag ydynt o anwybodus am

eu cynnwysiad—y mae bron yn annichonadwy cael unrhyw wybodaeth yn eu cylch; heb son am gael y fantais o'u defnyddio. Diammeu fod amryw o gywyddau Iolo yn yr hen gasgliad a wnaeth Paul Panton, o'r Plas Gwyn, tua dechreu y ganrif hon. Ond ni fu y casgliad—yr hwn sydd bellach wedi ei chwalu, fel y deallwn—o un math o ddefnydd i'r genedl, nac i neb arall. Ac yr ydym yn ofni weithiau mai yn gyffelyb y bydd gyda rhai casgliadau gwerthfawr ereill, a gedwir yn awr gyda'r fath ofal crintachlyd gan eu perchenogion. Ychydig o wybodaeth sydd o fewn cyrhaedd y myfyriwr am gynnwysiad y casgliadau anghyhoedd, o ddiffyg cronicliad. A chyda golwg ar yr ychydig lyfrgelloedd hyny ag y ceir *Catalogue* o honynt, ni roddir hysbysrwydd yn y cyfryw gofresau pa weithiau sydd yn yr ysgriflyfrau. Ni fyddai o nemawr fantais i'r efrydydd wybod fod ysgriflyfr neillduol yn cynnwys rhyw gymmaint o weithiau Iolo Goch mewn man neillduol; os na ddywedir pa rai ydynt, trwy ddyfynu y llinellau cyntaf. Ac yn wir, a chaniatau fod y cyfryw hysbysrwydd ar gael, ni byddai o unrhyw gynnorthwy i olygydd ei weithiau os na rydd eu perchenogion ganiatad a chyfleusdra i'w defnyddio. Gwyddom, er enghraifft fod yr ysgriflyfrau a ganlyn ym Mheniarth yn cynnwys *rhyw* gyfansoddiadau o waith Iolo Goch:—*Hengwrt MSS.*, Rhif 74, 134, 170, 191, 250, 252, 253*a*, 265, 270, 294, 301, 302, 309, 356, 361, 366, a 447; ond ni wyddom pa ganiadau sydd ynddynt, na dim ychwaneg yn eu cylch. Gwelsom grybwylliad[1] fod "*A MS. Book of Welsh Poetry by Iolo Goch*, etc.," ym meddiant Mr. Davies-Cooke, Gwysaney, ond camgymmeriad ydyw hyny. Ysgrifenodd Mr. Davies-Cooke yn dra charedig atom yn addaw y caem gopio unrhyw gywyddau o eiddo Iolo o'i ysgriflyfrau ef; ond ar ol ymchwiliad pellach cafwyd allan nad oedd dim o waith y bardd hwnw yn ei feddiant. Yr ydym yn crybwyll hyn er cywiro y camddywediad.

Gallem nodi amryw o gasgliadau ereill yn cynnwys gweithiau Iolo Goch, ond ni fyddai hyny o unrhyw ddyben. Rhaid i'r casglydd cyffredin ymddibynu, gan mwyaf, am ei ddefnyddiau ar y llyfrgelloedd cyhoeddus. Yr ystorfa gyflawnaf o ysgriflyfrau

---

[1] *Arch. Camb.* 1891, p. 62.

ydyw yr un a gedwir yn yr Amgueddfa Brydeinig. Y mae yno gynnifer a 53 o ysgriflyfrau yn cynnwys caniadau a briodolir i Iolo Goch, sef 52 yn cynnwys ei farddoniaeth, ac un yn cynnwys dau gyfansoddiad rhyddieithol. A ganlyn sydd daflen o honynt, yn yr hon a nodir pa weithiau a gynnwysant :—

*Add. MSS.*, 14,866—Rhif II., III., XXIV., XXV., XXXVII., LIII., LXVIII., LXXIII., LXXIV.
„ 14,868—Rhif XXIV.
„ 14,870—Rhif XXVII.
„ 14,873—Rhif II., XXIII., XXXIII., XLVI., XLVII., LXXIII., LXXVI., ac "Araith" Iolo.
„ 14,875—Rhif LXXIV.
„ 14,876—Rhif XII., XLVI.
„ 14,879—Rhif LIX.
„ 14,880—Rhif XXXVIII., XXXIX., LXVIII.
„ 14,882—Rhif XII., XXV., XXIX., LXII., LXXIV.
„ 14,885—Rhif LXXIV.
„ 14,886—Rhif LX.
„ 14,887—Rhif XIV. (dernyn), XIX., XX.
„ 14,889—Rhif XXVI.
„ 14,891—Rhif VII. (Pedair llinell yn unig.)
„ 14,892—Rhif XIV., XIX.
„ 14,893—Rhif XVI., XVII.
„ 14,894—Rhif IV., XI., XXIV., ac " Araith Iolo Goch."
„ 14,897—Rhif XIV., XIX.
„ 14,900—Rhif XII., LXV.
„ 14,906—Rhif XLVI., LXVIII., LXXVIII.
„ 14,908—Rhif LXX.
„ 14,932—Rhif XXVII.
„ 14,936—Rhif LIII., LX., LXIV.
„ 14,940—Rhif XII. (ddwywaith), XXV., XXIX., XLVI. (ddwywaith), LIII.
„ 14,958—Rhif LXXII.
„ 14,964—Rhif I., II., VII., XII., XXIII., XXIV., XXIX., XXX., XXXI., XXXIII., XL., XLI., XLV., XLVI., XLVII., LII., LIII., LX., LXIV., LXXIII., LXXIV.
„ 14,966—Rhif II., V., XXIX., L., LVIII., LXXIV.

*Add. MSS.* 14,967—Rhif III., IV., X., XVI., XXVII., XXXI., XXXII., XXXVIII., XL., XLV., XLVI., XLVIII., LV., LX., LXV., LXVI., LXVII., LXVIII., LXIX., LXXI. LXXIII. (ddwywaith).

,, 14,969—Rhif XXIX., XXX., XXXI., XLVII., LXXIII., LXXVI.

,, 14,970—Rhif II., III., IV., VIII., IX., X., XII., XIV., XVI., XXIV., XXV., XXVI., XXVIII., XXX., XXXI., XXXII., XXXIV., XXXV., XXXVI., XXXVIII., XXXIX., XL., XLVIII., LIII., LX., LXV., LXVII., LXIX., LXXI., LXXIII.

,, 14,971—Rhif IV., X., LIX., LXV., LXXII., LXXIII.

,, 14,972—Rhif LXXIV.

,, 14,973—Rhif LXVIII., ac "Araith Iolo Goch."

,, 14,975—Rhif LXXIV.

,, 14,976—Rhif III., XIII., XXIX., XXX., XXXVI., LXXIV.

,, 14,978—Rhif II., VII., XI., XII., XXV., XXVI., XLVI.

,, 14,979—Rhif XI., LIII., LIX., LXVIII., LXXIII.

,, 14,984—Rhif LV., LVII., LIX., LX., LXIII. (ddwywaith), LXVI., LXVIII., LXXIV.

,, 14,985—Rhif LXXII.

,, 14,986—Rhif XL.

,, 14,994—Rhif XIV. (dernyn), XIX., ac "Englyn Croniclaidd."

,, 14,997—Rhif X., LXXVII.

,, 14,998—Rhif LXX.

,, 15,001—Rhif XLII., XLIII., L., LIII., LXI.

,, 15,003—Rhif I., XIII.

,, 15,006—Rhif LI., LXXV.

,, 15,007—Rhif LVII.

,, 15,010—Rhif LXVIII., LXXII.

,, 15,016—Rhif LXVII.

,, 15,027—Rhif III.

,, 15,029—Rhif LXXIV.

*Add. MSS.*, 15,034—"Araith Iolo Goch," a chyfieithiad "Ymryson yr Enaid a'r Corph."

,, 24,980—Rhif LIII. (dernyn), LXXIV.

Gwelir oddi wrth y rhestr uchod fod 209 o ganiadau, neu ranau o ganiadau, a briodolir i Iolo Goch, heb law rhai englynion, yn y 52 ysgriflyfr a nodir. Ond nid oes mwy na 69 o honynt yn ganiadau gwahanol, gan mai copïau ereill o'r un rhai ydyw y 140 gweddill. Ar ol cryn chwilio, methasom a chael Cywyddau Rhif VI., XV., XVIII., XXI., XXII., XLIV., XLIX., LIV., na LVI. yn un o ysgriflyfrau yr Amgueddfa Brydeinig—er i ni droi tudalenau pob ysgriflyfr y cyfeirir ato yn y Llyfr-restr yn ofalus. Dywedir yn y Llyfr-restr (*Catalogue*) fod gwaith Iolo Goch i'w weled yn *Add. MS. 14,901*; ond erbyn troi yno, "Co. i Dydur ap Ierwerth Sais" a geir, yr hwn sydd wedi ei arwyddo gan "Rhys Cyn[fri]g, *nai* Iolo Goch."

Y mae saith o ysgriflyfrau yn Rhydychain yn cynnwys cywyddau gydag enw Iolo Goch wrthynt, yn y drefn a ganlyn:—

*Jesus MSS.*, *C. 101*—Rhif II., III., XIII., XXIV., XXXI., XXXVI., XLVII., XLIX., LXXIII., LXXIV., LXXVI.

,, *C. 111* (*Llyfr Coch o Hergest*)—Rhif XLII., XLIII., L., LXI.

,, *E. 138*—Rhif LIII., LXVIII.

,, *E. 139*—Rhif XXVII., XXXIX., XL., XLV., LXV., LXXIII.

,, *E. 140*—Rhif LXXVII.

*Bodleian MSS.* e. 1. (gynt 31,432)—Rhif V., VI.

,, e. 2 (gynt 31,433)—Rhif XLI.

Gwelir fod 28—neu 27 mewn gwirionedd, gan yr ymddengys Rhif LXXIII. ddwywaith—o gywyddau Iolo Goch yn ysgriflyfrau Rhydychain. Ond y maent oll oddigerth dau, sef Rhif VI. a L., yn yr *Additional MSS.*

Y mae un ysgriflyfr yn Llyfrgell Rydd Abertawy yn cynnwys 11 o ganiadau yn cael eu priodoli i Iolo Goch. Adnabyddir yr ysgriflyfr hwnw dan yr enw *Y Piser Hir*; a'r cywyddau dan sylw ydynt—Rhif II., III., IV., VII., VIII., XXII., XXIV., XXV., XLVIII., LIII., a LXIX. Bydd genym o bosibl ychydig i'w ddyweyd am yr ysgriflyfr hwn eto; ond y mae yr oll o'r cywyddau a

briodolir ynddo i Iolo Goch, gyda'r eithriad o Rhif XXII., i'w cael yn yr Amgueddfa Brydeinig.

Y mae ysgriflyfr (*Tonn MS.*) yn Llyfrgell Rydd Caerdydd yn cynnwys 3 o gywyddau y rhai a briodolir i Iolo Goch. Y mae dau o'r cywyddau hyny, sef Rhif XXIV. a XXVIII., yn ysgriflyfrau yr Amgueddfa Brydeinig; ac y mae y trydydd, sef Rhif XV., yn cael ei briodoli yn gyffredin i awdwr arall.

Trwy garedigrwydd Mr. N. Bennett, *Glanyrafon*,[1] cawsom y fantais o ddefnyddio ei ysgriflyfrau ef. Mewn saith o'i ysgriflyfrau ef cawsom 21 o ganiadau Iolo, ac englyn mewn ysgriflyfr arall:—

*Glanyrafon MSS. A.*—Rhif X., LX.
„ *B.*—Rhif XXX., XL.
„ *C.*—Rhif LIII., LXXII.
*D.*—Rhif XIX., LVII.
„ *F.*—Rhif XVI., XVIII.
„ *H.*—Rhif XIV., XVI., XXI.
„ *K.*—Rhif XI., XII., XXXIX., XLVI., LIII., LXV., LXXIII., LXXVIII.
„ *L.*—Englyn.

Gan fod dau o'r cywyddau hyn ddwywaith—sef Rhif XVI. a LIII.—felly 19 mewn gwirionedd sydd yn ysgriflyfrau Glanyrafon. Y maent oll ond dau yn yr Amgueddfa Brydeinig; ond methasom a chael y ddau hyny—sef Rhif XVII. a XXI.—mewn un man heb law ym meddiant Mr. Bennett.

Gwnaethom ddefnydd hefyd o ysgriflyfr o'r eilfed ganrif ar bymtheg, perthynol i Mr. Robert Evan Jones, Ty'nybraich, Dinas Mawddwy, yn yr hwn y mae dau gywydd yn cael eu priodoli i Iolo Goch, sef Rhif XIX. a XX.; ac y mae y ddau hyny yn yr

[1] Anghymmeradwya y beirniad ein dull o ysgrifenu *Glanyrafon*, yn un gair—yn lle *Glan yr Afon*. A diammeu ein bod yn anghywir. Ond gan i ni gael ein geni a'n magu o fewn rhyw filltir i'r lle, a chan na welsom neb erioed o'r blaen yn ei ysgrifenu yn *Glan yr Afon*, y mae y ffurf newydd mor ddyeithrol i'n llygad fel yr ydym yn cadw at yr hen. *Glyn Dyfrdwy* hefyd a fyddai yn gywirach na *Glyndyfrdwy*; ond cynghorir ysgrifenwyr gan Canon Silvan Evans i beidio "ag aflonyddu ffurfiau enwau ag sydd wedi eu hen arferu megys un gair, er y dylent o briodolder sefyll ar wahan"; a noda *Glyndyfrdwy* fel un o honynt. (*Llythyraeth y Gymraeg*, tudal. 78).

*Additional MSS.* Hefyd gwelsom ddau gywydd mewn ysgriflyfr o'r ddeunawfed ganrif, perthynol i Mr. Edward Griffith, Springfield, Dolgellau, sef Rhif LIV. a LXV. Y mae y blaenaf o'r ddau yn cael ei briodoli i awdwr arall yn yr ysgriflyfr hwnw ; ac y mae yr olaf yn yr Amgueddfa Brydeinig. Hefyd darllenasom y cywydd Rhif LXXVI., yr hwn sydd yn yr Amgueddfa Brydeinig, mewn ysgriflyfr perthynol i Mr. Isaac Foulkes, o Lerpwl; yr hwn a gopiwyd oddeutu 1700.

Ond trwy garedigrwydd Mr. Richard Williams, Celynog, Drefnewydd, galluogir ni i roddi i mewn un cywydd—sef Rhif LVI.—yr hwn nid ydyw i'w gael yn yr un o'r ysgriflyfrau a nodir uchod. Ac ni ddygwyddodd i ni weled y cywydd mewn un man arall.

O'r ffynnonellau uchod, gydag eithrio Rhif XLIV. a LIV., y cymmerwyd y casgliad a geir ar y tudalenau dilynol. A chyn myned ym mhellach, hwyrach y gallai fod o fantais i rywun pe nodem pa gywyddau o eiddo Iolo a geir mewn casgliadau argraffedig :—

*Gorchestion Beirdd Cymru.*—Rhif X., XI., XII., XIV., LIV., a LIX. Y maent oll oddigerth Rhif LIV. yn yr *Additional MSS.*

*Ceinion Llenyddiaeth Gymreig.*—Rhif I., II., III., X., XI., XII., XIII., XIV., XIX., XXIV., XXVII., XXIX., XXXVI., XLII. (gyda XLIII.), XLVII., L., LIII., LIV., LIX., LX., LXXII., LXXIII., a LXXIV. ; ac y maent oll, gyda'r eithriad o LIV., yn yr *Additional MSS.*

*Iolo Goch*, gan Robert Jones.—Rhif II., III., IV., XXV. (yn anorphenol), LIII., LIV., LIX., LX., LXIV., LXV., LXVI., LXIX., a LXXI. ; a'r oll ond LIV. yn yr *Additional MSS.*

Nid ydym wedi cyfarfod â Rhif LIV. a geir yn y llyfrau uchod yn cael ei briodoli mewn unrhyw *ysgriflyfr* i Iolo Goch ; a gellir dyweyd yr un modd am Rhif XLIV.—sef y gyfres o englynion a geir yng *Ngreal* Llundain. Gallwn grybwyll hefyd fod amryw gywyddau o waith Iolo yn wasgaredig yma a thraw mewn gwahanol

gylchgronau a llyfrau, megys *Y Brython*, *Cymru*, *Y Cymmrodor*, a *History of Powys Fadog*; ond y maent oll i'w gweled yn yr *Additional MSS.*

Pa fodd bynag, yn y *Cambrian Journal*, 1854, fe geir rhestr o gywyddau Iolo Goch, yr hon, os nad ydym yn camgymmeryd, sydd yn gyffelyb i'r un a ymddangosasai yn flaenorol ar glawr *Greal* Llundain. Yr ydym yn cael yn y rhestr hono, a'r mân grybwyllion a'i dilynodd, gyfeiriad at 3 o gyfansoddiadau i Iolo Goch, y rhai, ar ol llawer o ymchwiliad, a fethasom eu cael, sef :—

I.—Cowydd Marwnad i Rys Gruffudd o Borthwryd,[1]
llin. gyntaf :—"Bum i garllaw bwa maen."

II.—Daroganau Iolo Goch,
llin. gyntaf :—"Madwys im gael ammodau."

III.—Daroganau Iolo Goch,
llin. gyntaf :—"Y mae yn ei fryd wryd Annwyr."

O'r braidd na awgrymem mai yr un ydyw yr olaf a Rhif XVII. yn y casgliad canlynol, o blegid darllena llin. 5-6 yn hwnw fel hyn :—

Mae yn i fryd wryd ar
ruthro engl rethri anglaiar.

Pa beth bynag am y dybiaeth hon, ceir amryw enghreifftiau yn y casgliad canlynol o amrywiaeth darlleniadau yn nechreuad y gwahanol gywyddau, yr hyn ar y cyntaf a bâr i ni dybied mai cywyddau gwahanol ydynt. Sylwer, er enghraifft, ar Rhif XIX., yr hwn a ddechreua fel hyn :—

A genais mae yn eginaw
myn fy fydd gwn y dydd i daw.

Ond dechreua yn y rhan fwyaf o lyfrau trwy adael y llinellau hyn allan, gan gymmeryd y drydedd a'r bedwaredd :—

Pan el y neidr pen Ion
ai gwyr ai llu i Gaerlleon.

Eto yn Rhif LIX., yr hwn a ddechreua :—

Y byd wrth i bedwar bann
twyllodrus tywyll oedran ;

---

[1] Yn achau Lewys Dwnn yr ydym yn cael "Elen v. Thomas ap Rydderch ap Rys ap Gruffydd ap Llewelyn voethus o Langathen a Borthwryd" (*Dwnn's Herald. Visit.*, vol. i., p. 224). Yn Sir Gaerfyrddin y mae Llangathen a Borthwryd.

yn lle fel yn y cyffredin :—

Yr un bai, ar ein bywyd
Ar bawb a hudol yw'r byd.

A thrachefn yn Rhif LXV., yr hwn a ddechreua :—

Mair edrych arnaf amerodres
Morwyn benaf wyd mair unbenes ;

tra y dechreua mewn rhai ysgriflyfrau fel hyn :—

Doeth ith etholes Iessu
Em addwyn yn fam iddo.

Hwyrach, hefyd, mai nid annyddorol a fyddai i ni roddi rhestr yn y fan hon o'r ysgriflyfrau o'r rhai y cymmerasom destynau y cywyddau, gydag amcan o'u hamseriad :—

*Llyfr Coch o Hergest.* Ysgrifenwyd y cywyddau a berthynant i Iolo Goch, fel y tybir, rhwng 1400 a 1425 :—sef Rhif XLII., XLIII., L., a LXI.

*Add. MS.*, 14,967 (*Llyvr Huw Lleyn*), yr hwn a ysgrifenwyd, fel y dywedir yn Llyfr-restr yr Amgueddfa Brydeinig, gan Gutyn Owain, oddeutu diwedd y bymthegfed ganrif.[1] Cymmerwyd o hwn Rhif III., IV., X., XVI., XXVII., XXXI., XXXII., XXXVIII., XL.,. XLV., XLVI., XLVIII., LV., LX., LXV., LXVI., LXVII., LXVIII., LXIX., LXXI., a LXXIII.

*Bodleian MS.* e. 1. (gynt 31,432), a ysgrifenwyd oddeutu 1600, o'r hwn y cymmerwyd Rhif V. a VI.

*Add. MS.*, 14,882, a ysgrifenwyd tua diwedd yr unfed ganrif ar bymtheg.—Rhif LXII.

*Add. MS.*, 14,889, a ysgrifenwyd oddeutu 1600.—Rhif XXVI.

*Add. MS.*, 14,893, a ysgrifenwyd yn yr 16 a'r 17 ganrif.—Rhif XVII.

*Add. MS.*, 14,971, a ysgrifenwyd oddeutu 1620.—Rhif LIX.

---

[1] Hwyrach mai y nodyn a ganlyn a geir ar fol. 139 o'r ysgriflyfr ydyw yr unig sail dros ddyweyd mai Gutyn Owain a'i copïodd :—

"John Trevor a droes y vuchedd honn or lladin yn gymraec a gvttvn Owain Ai hysgrivenodd pan oedd oed Krist mil cccclxxxviij o vlynyddoedd yn amser hari seithved nid amgen y drydedd vlwyddyn o goronedigaeth yr vn harri."

A gellid tybied oddi wrth y llawysgrif nad ydyw yn waith diweddarach na thua diwedd y bymthegfed ganrif. Pa fodd bynag, y mae bron yr oll o'r nodiadau a'r cywiriadau a geir ar ymyl y dalenau mewn llaw lawer diweddarach.

*Ysgriflyfr Mr. R. Williams, Celynog* (oddeutu 1620).—Rhif LVI.

*Glanyrafon MS., B.* (oddeutu 1620).—Rhif XXX.

*Jes. MS., E.* 140 (oddeutu 1625).—Rhif LXXVII.

*Jes. MS., E.* 138 (ar hwn ceir y nodyn—"Liber Roberti Dauies de Gwissane Armigeri Script. A.D. 1628").—Rhif LIII.

*Jes. MS., E.* 139 (oddeutu 1630-50).—Rhif XXXIX.

*Jes. MS., C.* 101 (oddeutu 1630-50).—Rhif XLVII., XLIX., a LXXIV.

*Add. MS.*, 14,978 (*Llyvr Caer Rhun, No. 1*, oddeutu 1640).—Rhif VII.

*Add. MS.*, 14,984 (*Llyvr Caer Rhun, No. 7*, oddeutu 1640).—Rhif LVII., a LXIII.

*Add. MS.*, 14,886 (a ysgrifenwyd gan David Williams, oddeutu 1643-47).—Rhif XXXVII.

*Glanyrafon MS., H.* (oddeutu 1650).—Rhif XXI.

*Glanyrafon MS., K.* (oddeutu 1650).—Rhif XI. a XII.

*Add. MS.*, 14,966 (oddeutu 1650).—Rhif II. a LVIII.

*Add. MS.*, 14,887 (oddeutu 1660).—Rhif XIX. a XX.

*Add. MS.*, 14,906 (oddeutu 1660).—Rhif LXXVIII.

*Add. MS.*, 15,006 (oddeutu 1709-14).—Rhif LI. a LXXV.

*Add. MS.*, 14,873 (*Y Delyn Ledr*, a ysgrifenwyd gan William Morris, oddeutu 1739-60).—Rhif LXXVI.

*Add. MS.*, 15,010 (*Y Digrif Doeth*, a ysgrifenwyd gan William Roberts, tad Thomas Roberts, Llwynrhudol, oddeutu 1759-63).—Rhif LXXII.

*Y Piser Hir* (yn Llyfrgell Rydd Abertawy). Yn blaenori hwn ceir y teitl a ganlyn:—"Pigion o Waith y Beirdd enwocaf Yng-hymru o A.D. 1360 i 1757 wedi eu casglu gan y Parch D. Ellis, Curad Amlwch, 1794." Rhoddodd David Ellis hwn yn anrheg i Dafydd Ddu Eryri, a bu wedi hyny gan Owen Williams, o'r Waunfawr. Yna aeth i feddiant yr Archddiacon Newcome, a phrynodd Edward Parry, Caerlleon, ef ganddo yntau yn Hydref, 1851. Ar ol marwolaeth Parry, gwerthodd ei weddw ef i Talhaiarn am £3; ac yn y flwyddyn 1856 gwerthodd Talhaiarn ef am £5 i'r Parch Robert Jones, o Rotherhithe. Ar ol marwolaeth Mr Jones, gwerthwyd ei lyfrau, a'r *Piser Hir* yn eu mysg, i Lyfrgell Rydd Abertawy. Ymddengys fod amryw gopiau o'r *Piser Hir* yn myned

dan yr un enw. Adysgrifenwyd ef gan Dafydd Ddu Eryri; gan Owen Williams, o'r Waunfawr; a chan Sion Wyn o Eifion. Ond o'r ysgriflyfr gwreiddiol yn Abertawy y cymmerwyd Rhif XXII., yr hwn, fel y gwelir yn ein nodiadau ar y cywydd hwnw, a gambriodolir i Iolo Goch.

*Add. MS.*, 15,003 (a ysgrifenwyd gan Iolo Morganwg, Dr. W. Owen Pughe, ac Owain Myfyr, tua diwedd y ddeunawfed ganrif).—Rhif I. a XIII.

*Add. MS.*, 14,964 (*Yr Hirwyn*, a ysgrifenwyd gan Owain Myfyr, tua diwedd y 18fed ganrif). Un o neillduolion yr ysgriflyfr hwn ydyw, fod yr *ch* yn cael ei hysgrifenu yn *x*; ac hefyd fod enwau yr awdwyr ar frig y tudalenau, yn lle ar ddiwedd eu cyfansoddiadau.—Rhif XXIII., XXIX., XXXIII., XLI., LII., a LXIV.

*Add. MS.*, 14,908 (a ysgrifenwyd gan Dr. W. O. Pughe, tua diwedd y 18fed ganrif).—Rhif LXX.

*Add. MS.*, 14,970 (a ysgrifenwyd gan Iolo Morganwg, oddeutu 1800-1).—Rhif VIII., IX., XIV., XXIV., XXV., XXVIII., XXXIV., XXXV., a XXXVI.

*Tonn MS.* (yn Llyfrgell Rydd Caerdydd). Adysgrifenwyd gan William Rees, Llanymddyfri, yn 1858, o'r hwn y cymmerwyd Rhif XV. Ceir ychwaneg o fanylion am yr ysgriflyfr hwn yn ein nodiadau ar y cywydd hwnw.

*Glanyrafon MS.*, *F.* (a adysgrifenwyd gan Mr. Bennett o ysgriflyfrau o'r eilfed ganrif ar bymtheg).—Rhif XVIII.

Hwyrach y cymmerai ormod o'n gofod i ni nodi amseriadau yr ysgriflyfrau o'r rhai y cymmerasom y darlleniadau gwaelod-ddalenol. Pa fodd bynag, perthyna y mwyafrif o honynt i'r eilfed ganrif ar bymtheg. Yn wir, yn y cyfnod hwn y copïwyd y rhan fwyaf o'r ysgriflyfrau a gynnwysant weithiau Iolo Goch a'i gydoeswyr. A gallem dybied fod rhyw frwdfrydedd neillduol wedi meddiannu ein beirdd a'n llenorion at gopïo ysgriflyfrau yn y ganrif hono—yn enwedig rhwng 1600 a 1650. Ond nid oes dim o'n hysgriflyfrau, a'u cymmeryd oll i ystyriaeth, yn arddangos cymmaint o drwstaneiddwch ac esgeulusdra a'r rhai a adysgrifenwyd y pryd hwnw.

Dewisasom, hyd y gallasom, yr ysgriflyfrau hynaf fel testyn, ond yn unig pan y tybiem eu bod yn fwy diffygiol na'rhai diweddarach; a gosodasom, hyd y gallem, ddarlleniadau o ysgriflyfrau

ereill ar waelod y ddalen er egluro y cyfryw. Tybiasom fod y cynllun hwn yn llawer gwell na chymmysgu darlleniadau amryw ysgriflyfrau er ceisio gwneyd un testyn clytiog. Y *Llyfr Coch o Hergest*, yn ddiammeu, ydyw yr unig un ag y cawn ynddo ddim byd yn debyg i lythyraeth Iolo ei hun, ac efe yn unig a werthfawrogir genym ar y cyfrif hwnw. Pa fodd bynag, er y buasai yn well genym fod yr oll yn yr un orgraff, eto, deillia un fantais o ddefnyddio ysgriflyfrau perthynol i wahanol gyfnodau, gan ein bod trwy hyny yn canfod neillduolion orgraffyddol yr amserau hyny.[1]

## 13.—NODIADAU CYFFREDINOL AR FARDDONIAETH IOLO GOCH.

Nid ydyw ond peth lled gyffredin fod yr un caniadau yn cael eu priodoli i wahanol awdwyr mewn gwahanol ysgriflyfrau. Anaml y byddai yr awdwyr yn rhoddi eu henwau wrth eu cynnyrchion; ac yna byddai y copïwyr yn eu priodoli i'r rhai hyny a farnent hwy; o ran arddull, fel yn debycaf o fod yn awdwyr iddynt. Y mae yr

[1] Hwyrach y goddefir i ni yn y fan hon roddi nodyn bychan i mewn, *ar ol* i'r cyfansoddiad gael ei ddychwelyd o'r gystadleuaeth. Dymunem ddyweyd i ni gymmeryd pob gofal a allasem i ddilyn yr ysgriflyfrau a nodir yn *hollol fanwl*. Ar ol ysgrifenu y cywyddau a geir yn yr Amgueddfa Brydeinig, cymmerasom y drafferth i gymharu ein hysgrifau *ddwy waith* drachefn gyda'r ysgriflyfrau gwreiddiol. A dymunem ddiolch hefyd yn y fan hon i'r Canon Silvan Evans am ei garedigrwydd yn caniatau i ni gopïo 39 o honynt mewn ysgriflyfr yn ei feddiant ef—wedi ei gymmeryd o'r *Additional MSS.*—cyn i ni fyned i Lundain ar y perwyl hwn y tro cyntaf. Felly, gellir dyweyd i ni fyned, yn ymarferol, dros y rhan fwyaf o'r cywyddau a geir yn Llundain *bedair* gwaith. Copïwyd a chymharwyd y cywyddau sydd yn Rhydychain i ni ar y *cyntaf* gan Mr. Gwenogvryn Evans, ac yr ydym yn dymuno talu diolch calon iddo yma. Ar ol y gystadleuaeth, aethom ein hunain i Rydychain, nid o ran y meddyliem y gallem wneyd yn well—ond rhag nad oeddem ni wedi dilyn adysgrifau Mr. Evans yn ddigon manwl. Dymunem hefyd ddiolch yn wresog i Mr. N. Bennett, Glanyrafon, am gopïo o'i ysgriflyfrau ef; ac hefyd am ganiatau i ni eu cymharu drachefn. Rhaid i ni ddiolch hefyd i'r Parch. Henry Parry, Abertawy, am gopïo amryw gywyddau o'r *Piser Hir*; ac i Mr. John Ballinger, Llyfrgellydd, Caerdydd, am gopïo tri o gywyddau o'r *Tonn MS.* Yr ydym yn dra diolchgar i bob un o'r boneddigion uchod. Ac yr ydym yn cymmeryd y cyfleusdra hwn i ddiolch iddynt, gan mai nid nyni a fydd yn ysgrifenu y Rhagymadrodd.

un ansicrwydd i'w ganfod gyda golwg ar awduriaeth emynau a chyfansoddiadau diweddar ereill. Ni ddynodir dim llai na 19 o ganiadau allan o'r 78 a geir yn y casgliad canlynol gyda *, i'r amcan o ddangos eu bod yn cael eu priodoli i ereill yn gystal ag i Iolo Goch. Yn ol rhai ysgriflyfrau, ei eiddo ef ydynt; ond yn ol ereill, dywedir mai yr awdwyr canlynol a'u cyfansoddasant :—

Rhif XI.—Gr. Llwyd ap Ll. ap Einion.
" XV.—Gr. Llwyd ap Ll. ap Einion.
" XXII.—Guto'r Glyn.
" XXIX.—{Llawdden, neu Gwilym ab Ieuan Hên, neu Gruffudd ap Dafydd Fychan.}
" XLVI.—Rhys Goch Eryri.
" XLVIII.—Dafydd ab Gwilym.
" LII.—Dafydd ab Gwilym.
" LIII.—Gr. ap Maredydd ap Dafydd.
" LIV.—Edward ab Rees.
" LVII.—{Dafydd ddu Hiraddug, neu Sion Cent.}
" LVIII.—Sion Cent.
" LIX.—Sion Cent.
" LX.—Sion Cent.
" LXVII.—Tudur Aled.
" LXVIII.—Sion Cent.
" LXXII.—Sion Cent.
" LXXVI.—Dafydd ab Gwilym.
" LXXVII.—Dafydd ab Gwilym.
" LXXVIII.—Dafydd ab Gwilym.

O'n rhan ein hunain yr ydym yn sicr na chyfansoddodd Iolo mo Rhif XXII. na LII., ac yr ydym yn ammeu yn fawr ai efe oedd awdwr Rhif LXXVIII. Credwn fod y cywyddau hyn yn dwyn digon o brofion nad oedd a fyno efe ddim â hwynt. Nis gellir bod yr un mor sicr am y lleill, er fod rhai o honynt yn lled ammheus. Ond gan eu bod oll yn cael eu priodoli i Iolo Goch, ac fod yn anhawdd penderfynu pwy yw awdwr rhai o honynt, rhoddwn yr oll i mewn yn y casgliad.[1] Gwelir mai i Sion Cent a Dafydd

[1] Teg yw dyweyd i ni adael rhai o honynt allan yn fwriadol pan yn anfon y casgliad i'r gystadleuaeth; ond ar ol darllen y feirniadaeth tybiasom mai gwell oedd cynnwys y cyfan.

ab Gwilym y priodolir y rhan fwyaf o'r rhai ammheus uchod. A barnu oddi wrth hyny a allwn gasglu am y beirdd hyn wrth ddarllen eu gweithiau, yr oedd Dafydd ab Gwilym o nodwedd lon a chwareus; yr oedd Sion Cent yn ddifrifol a chrefyddol; tra y cyfranogai Iolo Goch o'r naill nodwedd fel y llall. Ac y mae yn deilwng o sylw fod pob un o'r cywyddau ammheus uchod a briodolir i Dafydd ab Gwilym ar destynau nodweddiadol o hono ei hunan, tra y mae y rhai a briodolir i Sion Cent ar destynau crefyddol.

Pa un bynag a ddygwyd Iolo i fyny yn un o'r prifysgolion, a'i raddio yn M.A. ac yn Ddoethawr o'r ddwy gyfraith—fel y dywedir yn gyffredin—y mae yn amlwg oddi wrth ei weithiau ei fod yn ŵr o ddysg a diwylliant. Yr oedd yn llenor ac yn fardd. Heb law y ddau gyfansoddiad rhyddieithol a geir ar ddiwedd y casgliad hwn—un o honynt yn gyfieithiad o'r Lladin—dywedir iddo ysgrifenu Hanes Tair Talaith Cymru. Cyfeirir at y gwaith hwn gan Lewys Dwnn fel y canlyn :—" Iolo Goch, Master of Arts, Poet Lawrell or Cheif Poet, who hath written concerning the 3 provinces of Wales, and he was the cheifest of Poets."[1] Y mae Dwnn yn rhoddi nodiadau cyffelyb am amryw feirdd ereill. Ond, a oedd yn golygu mwy nag iddynt gyfansoddi caniadau yn cynnwys enwau ac achau personau, ac enwau lleoedd yng Nghymru? Pa fodd bynag, nis gwyddom am unrhyw waith rhyddieithol o'r fath o eiddo Iolo.

Y mae y ffaith ei fod yn cael derbyniad mor groesawgar ym mhalasdai ei gydoeswyr yn cadarnhau y dybiaeth ei fod o gyrhaeddiadau uwch na'r cyffreddin. Heb law ei fod yn adnabyddus i brif foneddigion Gwynedd, dengys Lewis Glyn Cothi nad oedd yn anadnabyddus yn y Deheudir :—

Iolo'n wir yn Nglyn Aeron
A wnaeth wers yn y iaith hon;
Eithr y mab oedd athraw mawr,
Ac i Rydderch yn gerddawr.
Wiliam, v'aur es talm yw vo;
Mi i Wiliam yw Iolo.[2]

Mewn cywydd i William Sion o Lan Egwad, yn Sir Gaerfyrddin, y ceir y dyfyniad uchod; ac yr oedd Gwilym Sion yn ddysgybl

---

[1] *Dwnn's Herald. Visit.*, vol. i., p. 331.
[2] *Gwaith Lewis Glyn Cothi*, tudal. 315.

barddonol i Lewis Glyn Cothi. Ymddengys oddi wrth y dyfyniad, yn gystal a'r hyn a ddywedir gan y golygwyr, fod Iolo Goch yn arfer ymweled â Glyn Aeron, a'i fod yn athraw barddonol i un o hynafiaid Gwilym Sion. Felly, gan fod Iolo yn adnabyddus o Sycharth, yn Sir Ddinbych, i Benmynydd ym Môn, ac oddi yno drachefn i Sir Gaerfyrddin, yr oedd wedi cael mantais i ymgydnabyddu â chryn nifer o oreuon cymdeithas yr oes yr oedd yn byw ynddi. Ond pa un ai yn y cymmeriad o glerfardd, fel y mwyafrif o feirdd ei amser, neu ynte fel gwr o sefyllfa—hyny yw, gwr boneddig tlawd, sydd fwy na allwn ei benderfynu. O'n rhan ein hunain yr ydym yn ffafrio y golygiad olaf.

O'i gymharu â Dafydd ab Gwilym, gwelwn eu bod yn gwahaniaethu mewn amryw bethau. Gydag eithrio ychydig o ganiadau, defnyddiodd Dafydd ei awen i ganu i ferch ; ond yr oedd Iolo yn troi ei sylw at gynnifer o destynau fel ag y gellir yn briodol ei alw yn fardd aml-ochrog ; a chanodd lawer ar destynau sylweddol. Gwahaniaethant yn fawr hefyd yn eu harddull. Y mae arddull Dafydd yn heinyf, yn chwareus, ac yn syml ; ond y mae Iolo yn canu yn fwy trymaidd a thywyll. Y mae Dafydd yn nofio ar y wyneb, tra y mae Iolo yn ymgladdu yn y dyfnder ; cerdda Dafydd mor wisgi ac ysgafndroed fel mai prin y teimlwn oddi wrtho, ond y mae Iolo yn fwy arafaidd a throed-trwm. Swynir ni gan felusder odlau Dafydd, tra y mae Iolo yn aml yn lled glogyrnaidd. Rhaid rhoddi y flaenoriaeth i Dafydd o ran ystwythder ei gynghaneddion, ond i Iolo o ran treidd-der a dyfnder amgyffrediad. Y mae awen Dafydd yn chwareu yn ein hymyl, tra y mae eiddo Iolo yn ceisio ein hudo i'w dilyn i gyffiniau cyfriniaeth gaddugawl. Rhaid priodoli llawer o'r gwahaniaeth hwn, fodd bynag, i natur eu testynau. Pan y mae Iolo yn canu ei ganiadau serch, medr fod mor ysgafn a nwyfus ag ydyw Dafydd ; ac y mae ei arabedd yn llawn mor finiog.

Teimlir wrth ddarllen cywyddau Iolo na ddarfu iddo erioed feistroli y cynghaneddion i berffeithrwydd. Nis gwyddom pa mor bell y gorphwysa y bai hwn ar ei gopïwyr ; ond ceir yn ei ganiadau gryn lawer o linellau heb ynddynt ddim cynghanedd o gwbl ; ac y mae ei waith yn cael ei fritho gan dwyll-odl. Yn y peth hwn yr oedd mwyafrif o feirdd ei oes, megys Sion Cent, Rhys Goch Eryri, Dafydd Nanmor, ac ereill, i raddau pell yn ddiffygiol ; ond

yn sicr nid oedd yr un o'r prif-feirdd hyny yn fwy euog o hyn nag oedd Iolo. Diammeu y gellir rhoddi cyfrif am dano yn y ffaith mai newydd-beth oedd y "mesur Cywydd," a'r "gynghanedd gaeth" berthynol iddo, yn amser Iolo Goch. Yr oedd y mwyafrif o'r beirdd yn y drydedd ganrif ar ddeg a'r bedwaredd ar ddeg yn canu ar fesur anghyfawdl, ac heb ond ychydig gynghanedd. Tybir yn gyffredin, ac y mae sail i'r dybiaeth, mai Dafydd ab Gwilym oedd y cyntaf i ganu ar fesur "Cywydd Deuair Hirion," am yr hyn y gwobrwywyd ef yn Eisteddfod Gwern y Clepa, yr hon a gynhaliwyd, meddir, yn y flwyddyn 1328. Pa fodd bynag, nid ydym yn cael neb o'r beirdd yn arfer y mesur hwn hyd y bedwaredd ganrif ar ddeg. Brithir cyfansoddiadau y cyfnod hwn â phob math bron o gynghanedd, megys y "groes rywiog," y "gynghanedd lusg," a'r "gynghanedd sain"—yr olaf, o bosibl, a ganfyddir amlaf. Ac er mai Dafydd ab Gwilym, fel y dywedir, oedd dyfeisydd y "mesur Cywydd," ac er ei fod ar y cyfan yn canu yn esmwyth arno, eto nid ydyw mewn un modd yn rhydd oddi wrth feiau; o blegid brithir ei gywyddau yn fynych â llinellau anghywir. Rhydd hyn sail dros osod i fyny amddiffyniad i Iolo. O bosibl mai efe oedd un o'r rhai cyntaf i fabwysiadu y mesur hwn ar ol i Dafydd ab Gwilym ei ddwyn i arferiad; ac mewn canlyniad, nis gellir dysgwyl iddo ei drin i berffeithrwydd. Ac y mae yn rhaid addef hefyd fod ganddo lawer o linellau wedi eu cynghaneddu yn rymus; ond y mae yr effaith a gynnyrchant yn cael ei ddileu yn aml gan gloffni ac annaturioldeb y rhai a'u dilynant.

Ar ol y sylw uchod ar y wisg, ni a awn rhagom i edrych ar ansawdd ei ganiadau. Iolo Goch, yn ddiammeu, oedd prif fardd gwleidyddol ei oes. Ni chanodd neb o'i gydoeswyr gymmaint ag a wnaeth ef ar y materion oedd yn tynu sylw y cyhoedd yn y bedwaredd ganrif ar ddeg a dechreu y bymthegfed. Pan yr oedd Dafydd ab Gwilym yn ymddifyru wrth anfon llythyrau serch at Ddyddgu, ac yn edmygu gwallt a llygaid Morfudd, yr oedd Iolo yn gwylied gyda phryder yr ymrysonfa yn Ffrainc, ac yn llawenychu yn y fuddugoliaeth a gafodd y Seison yng Nghressy. Ond ei gywyddau i Owain Glyndwr a wnaeth Iolo yn enwog; ac fel bardd Owain Glyndwr yr adnabyddir ef. Eto nis gellir ystyried ei gywyddau gwleidyddol mewn un modd yn hanesyddol. Nid ydynt yn cynnwys ond ychydig mewn cymhariaeth o ddefnyddiau i'r

hanesydd. Nid ydyw yn cynnyg at ddarlunio yr un frwydr; ac nid oes yn ei ganiadau ond ychydig o gyfeiriadau at bersonau a gymmerasant ran yn y gwrthryfel, nac ychwaith at y lleoedd yr ymladdwyd y brwydrau ynddynt. Buasem yn dysgwyl cyfarfod â Reginald de Grey, Iarll Arundel, Arglwydd Powys, a Syr Dafydd Gam; ond ni enwir yr un o honynt. Ni ddywedir wrthym i Ruthyn gael ei llosgi, nag i'r Fflandrwysiaid gael eu gorchfygu ar Pumlumon, ac ni sonir am orchfygiad Syr Edmund Mortimer yn Sir Faesyfed. Yn yr ystyr yma, nid ydyw cywyddau Iolo Goch yn taflu goleuni mor gryf ar ryfeloedd Owain Glyndwr ag a deflir yng nghaniadau Lewis Glyn Cothi ar Ryfeloedd y Rhosynau. Proffwydo am fuddugoliaethau, ac nid dysgrifio brwydrau, a wnai Iolo Goch. Cynhyrfu a symbylu y Cymry i'r frwydr trwy adgoffa iddynt wroldeb eu hynafiaid oedd ei neges; ac nid cynnorthwyo yr hanesydd diweddar i ffurfio barn gywir am yr hyn a gymmerodd le. Nid ei feio yr ydym, ond crybwyll ffaith; ac nis gellir ei feio, o blegid bardd ydoedd, ac nid hanesydd.

Dengys ei gywyddau mawl nad oedd Iolo yn ol i un o feirdd ei oes, nac i feirdd unrhyw oes, am wenieithio. Wrth eu darllen, gallem dybied ar y cyntaf nad oedd ei arwyr ond ychydig o raddau yn îs na'r duwiau a fawrygai beirdd Groeg a Rhufain. Y mae yn gwastraffu ansoddeiriau i ffurfio gor-ganmoliaeth i'r rhai hyny a'u gwahoddent at eu byrddau. Yn yr adran hon o'i ganiadau, yn gystal ag yn yr adran dduwinyddol, yr ydym yn cael y bardd yn y fath ymdrech i osod allan yr hyn a ewyllysiai, nes y mae yn dyhyspyddu ei adnoddau, ac yn ail adrodd ei hun—a hyny bron yn yr un geiriau. Yn wir, cyfarfyddir â'r un llinellau mewn cywyddau gwahanol yn fynych. Ond hwyrach mai y rhai hyny a ysgrifenasant ei ganiadau o'u cof oedd yn gyfrifol am ran helaeth o'r ail adroddiadau hyn.

Ond nid oes brinder iaith i'w weled yn ei duchan-gerddi—ac y mae ei ansoddeiriau yn fynych yn afiednais a dichwaeth. Nid ydyw "Gargantua" Rabelais yn brin mor afiednais ag ydyw Iolo yn ei ganiadau i "Hersdin Hogl," "Gwyddelyn," a "Madawc." Ond rhaid ei feirniadu yng ngoleuni yr oes yr oedd yn byw ynddi. Rhaid addef nad ydyw ei gywyddau duchan ef yn fwy eithafol, nac yn wir yn brin mor eithafol yn y cyfeiriad hwn, na chaniadau amryw o'i gydoeswyr; yn enwedig eiddo Madog Dwygraig.[1] Nod

[1] *Myv. Arch.*, pp. 324-26.

angen duchangerdd, yn ol safon yr oes bresennol, ydyw gwawdiaith lem, ond eto yn chwaethus; ac nid difrïaeth isel a phersonol. Ac nid ydyw caniadau Dafydd ab Gwilym pan yn goganu ei elynion penaf, megys y Bwa Bach a Gruffydd Gryg, yn arddangos y fath ddiffyg chwaeth ag a wneir gan Iolo Goch yn y caniadau a nodasom.

Braidd yn ddiffygiol o chwaeth ydyw Iolo hefyd yn ei gywyddau serch; ond nis gellir cwyno llawer arnynt. Y mae ei iaith yn frasach, yn enwedig pan yn canu i'r "Ferch a wisg yn sientli,"[1] na dim a geir yng nghaniadau serch Dafydd ab Gwilym. Ond dylid cofio ein bod wedi casglu pob cywydd a allasem o waith Iolo; a'n bod wedi rhoddi i mewn ei rai gwaethaf, yn gystal a'i oreuon. Eto y mae genym le i gredu i Dafydd ab Gwilym ganu amryw nad ydynt i'w cael ym mhlith ei weithiau argraffedig. Gwelsom saith o "gywyddau maswedd," y rhai a briodolir iddo; ac nid oes eu hacrach o fewn cylch ein llenyddiaeth.

Y mae Iolo yn ei ganiadau duwinyddol yn ymgodi uwch law yr oll o'i gydoeswyr. Ni chanodd neb o honynt fwy nag a ganodd efe ar destynau crefyddol. Yr unig eithriad – os eithriad hefyd – yw Sion Cent. Yr ydym wedi ceisio ei gyferbynu â Dafydd ab Gwilym am y rheswm eu bod yn gydoeswyr, ac hefyd am yr ystyrir yr olaf—ac yn briodol felly—fel prif fardd ei oes. Ond nis gellir cymharu y ddau ar y pen hwn, a hyny am y rheswm na chanodd Dafydd fwy na rhyw ddwy neu dair o ganiadau crefyddol. Ac yn sicr nid ydyw hyny a ganodd mor gymmeradwy a'r rhai a gyfansoddodd Iolo. Ac ystyried yr oes yr oedd Iolo yn byw ynddi, oes o dywyllwch moesol ac o ofergoeledd, y mae ei ganiadau crefyddol yn ddi-guro. Y maent yn anadlu yspryd defosiynol, gweddïgar, a gostyngedig. Y mae rhyw beth ynddynt ag sydd yn ennyn ein cydymdeimlad â'r bardd pan yr ymdrechai am gael cip-olwg ar berffeithiad y saint trwy haeddiant iawnol Crist a gweithrediadau nerthol Yspryd Duw. A cheir ganddo syniad lled glir am ddaliadau crefyddol y cyfnod.

A rhoddi pob peth at eu gilydd, yr ydym yn cael fod Iolo Goch yn sefyll yn y dosbarth blaenaf o feirdd ei oes. Nid ydym yn ystyried ein hunain yn gymhwys i farnu pwy oedd y mwyaf; nac ychwaith i geisio penderfynu ym mha le y saif oddi wrth Dafydd

---

[1] Cywydd Rhif XLIX.

ab Gwilym. Gwyddom, fodd bynag, i Dafydd ganu llawer mwy nag ef; ac yr ydym yn teimlo fod Dafydd yn fwy celfyddgar. Ond yn nyfnder ac eangder ei feddylddrychau, nid yw Iolo yn ail iddo. Ac y mae y ffaith iddo ganu cymmaint yng nglyn â gwrthryfel Owain Glyndwr, yn gystal a rhagoroldeb ei gywyddau crefyddol, yn rhoddi arbenigrwydd neillduol ar safle y bardd o Lechryd.

Coleddai yr hen feirdd syniadau uchel am Iolo fel bardd. Rhestrir ef ganddynt oll ym mysg y goreuon. Ac yn sicr nid ydyw tystiolaeth pobl ereill, yn enwedig pan y gellir ystyried y bobl hyny yn feddiannol ar farn, mewn un modd i'w diystyru. Coleddid syniadau uchel am Iolo gan Dafydd ab Gwilym ei hun. Yn ei gywydd "I un o'r Brodyr Llwydion," sylwa :—

Bydd yr un rhôl ag Jolo,
Defod hardd, hen fardd y fro.[1]

Yn ei gywydd "Marwnad Llywelyn ap y Moel" y mae Rhys Goch Eryri yn cyffelybu ei wrthddrych i brif feirdd yr oes, a chenfydd "ym mysg archangylion mair" y rhai a ganlyn :—

Y gwyl Ddafydd ab Gwilym
A Madog Benfras gras grym
A Gruffudd Gryg dyblig daith
Deilwng wlad Bowys dalaith
Rhys uchod loywglod liwglaer
Fab Dafydd Llwyd ysgwyd aer,
A fu yn gofwy annerch
Bob amser drysorer serch
A Iolo wych athro hael
gyweithas a gwiw Ithael
Pan ddel enaid Llywelyn
Pybyr at yr henwyr hynn
I wrandaw gloyw buraw glwys
Py rodiad ar Paradwys
Gyda'r rhain llawn ugain llu
Aethasant i Borth Iesu
Ar hiraeth cywyddiaeth cof
Draig wynedd a drig ynof.[2]

---

[1] *Barddoniaeth Dafydd ab Gwilym*, tudal. 433. Ceir y llinellau hyn, bron yr un fath, mewn cywydd arall o waith Dafydd ab Gwilym, yr hwn a gam-briodolir i Iolo Goch.—Gwel Cywydd Rhif LII.

[2] *Add. MS.*, 14,970, *fol.* 13*b*.

Ac y mae Hugh D'd Llyn ap Madog yn "Cow. Mar. Tudur Aled" yn cymharu Tudur i :—

Ail Iolo o Lewelyn
ag odv/r/ chwith gwenith gwyn.[1]

Hefyd yn "Cow. Mar. Tudur Aled" gan Lewis Daron, dywedir:—

Yn gwynedd bonedd ai barch
Yn neheubarth yn hybarch
Bwriwyd Aled brawd Iolo
Byth hyd farn beth wedi fo
Awdur fu hyd ar i fedd
Awduriaeth aed i orwedd.[2]

A meddai Edward ab Ralph, yr hwn oedd yn gynghaneddwr rhagorol ei hun, feddwl uchel am Iolo. O blegid yn ei "Gywydd Marwnad Sion Tudur a fu farw 1602," nis gallai ddefnyddio iaith gryfach i ganmol ei wrthddrych na'i gyffelybu i Iolo, Rhys Goch, a Dafydd ab Gwilym :—

Pen trysawr, pwyntiau'r oesoedd,
Pen cerdd y dewisgerdd oedd ;
Ail Iolo gynt, ieiliau gel,
Neu Rys Goch, iawnrwysg uchel ;
. . . . . . . . .
. . . . . . . . .
Claddu Arch cloddio'r erchwyn,
Cloi ar i gorph, claiar gwyn ;
Er Dafydd, llywydd y llu,
Ym ap Gwilym, heb gelu,
Ni wn, rheibiwyd ni'n rhybell,
Guddio erioed gywyddwr gwell.[3]

Cyfeirir at Iolo gan Sion Powel o Lansannan, mewn cywydd a wnaeth tua chanol y ddeunawfed ganrif i Mr. Robert Birchinshaw o Voel Hedog, Llansannan, yr hwn a gymhara, ym mhlith ereill, i :—

A Gwalchmai a ganai gerdd
Ddi vloesgaidd o velusgerdd
A Rhys wr dyvrys divroch
Glew ei gerdd ag Iolo Goch.[4]

---

[1] *Add. MS.*, 14,966, *fol.* 194*b*.
[2] *Add. MS.*, 14,966, *fol.* 198*b*.
[3] *Y Brython*, cyf. iv., tudal. 466.
[4] *Add. MS.*, 15,060, *fol.* 25*b*.

Ychydig oedd yn fwy cydnabyddus â gweithiau Iolo na Rhys Jones, o'r Blaenau; a phan yn canu "Cywydd Marwnad Huw Morris y Prydydd," ni anghofiodd ei restru ym mhlith y llu enwogion a roddasant fri ar lenyddiaeth Cymru:—

Cu orhendaid cywreinddoeth
Oedd Iolo Goch a'i ddelw goeth.[1]

Pa fodd bynag, credwn fod digon o werth yng nghaniadau Iolo Goch, yn gystal ag yn eiddo amryw ereill o'i gydoeswyr, i'w cadw rhag difancoll. Heb feddu adnabyddiaeth drwyadl â gweithiau yr hen feirdd, er fod ynddynt lawer o sothach, ac er fod y gwrthddrychau a ddysgrifiant yn fynych yn cael eu gorliwio a'u gorganmol, bydd yn annichonadwy i efrydydd hanes ffurfio syniad eglur am Gymru yn yr oesau a fu.

[1] *Dewisol Ganiadau yr Oes Hon* (arg. 1827), tudal. 76.

# CANIADAU GWLEIDYDDOL.

## I.

### CYWYDD MARWNAD SYR RHYS WGAWN A LAS YM MRWYDR CRESSI YN FFRAINC Y 26ᴰ O AWST, 1346.

NOT IN THE COLLECTION.

*(O'r Add. MS., 15,003, fol. 62).*

Y MAE y cywydd hwn i'w gael hefyd yn *Add. MS.*, 14,964, dan y penawd "Marwnad Syr Rŷs;" ac y mae yn argraffedig yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig,* cyf. i., tud. 13, dan y penawd "Cywydd Marwnad Syr Rhys ab Thomas, o Ddinefwr." Methasom a chael dim o hanes y "Syr Rhys Wgawn," neu "Rhys ab Thomas," hwn; heb law i Dafydd ab Gwilym (*Barddoniaeth,* tudal. 194) ganu cywydd iddo, yr hwn sy'n dwyn y penawd a ganlyn:—"Dymuniad o foddi y Bwa Bach, a oedd yn myned yn rhyw swyddog gyda Rhys Wgan i Ffraingc a 300 o wyr gantho tan Edw. III." A sylwa golygwyr Dafydd ab Gwilym (tudal. iii.) ar y cywydd hwnw fel y canlyn:—

"The Poem No. 99, addressed to Captain Rhys Gwgan, was composed by our Bard when he was distressed on being deprived of his beloved Morfudd, which is another circumstance deserving attention. This poem invokes the demons of mischief that some misfortune might befal his successful rival Cynfrig Cynin, or Little Hunch-back; whom he wished to expose to the danger of their influence, by sending him with Captain Rhys Gwgan, when the latter joined the English army at the head of three hundred Welshmen to follow Edward III. to France, in one of the wars with that kingdom. The last of the several wars which that prince had with

France commenced in 1369; and it is probable that Dafydd ab Gwilym could not, by reason of his infancy, have written the poem in question at the time of any of the former wars; therefore we must conclude that this was the period in which Captain Rhys Gwgan embarked for France, and consequently the poem was composed about the year 1369."

Rhan o ymresymiad golygwyr Dafydd ab Gwilym ydyw y dyfyniad uchod, yn yr hwn y ceisiant brofi iddo gael ei eni oddeutu'r flwyddyn 1340 ac iddo farw oddeutu 1400—ond fel y cawn ddangos eto (Cywydd Rhif XXVII.) y mae y ddau amseriad a gynnygir yn anghywir. Ymddengys i ni nad ydyw yr oll—neu agos yr oll—o'r "*Sketch*" a ysgrifenwyd gan William Owen (y Dr. W. O. Pughe) o flaen *Barddoniaeth* Dafydd ab Gwilym ond ymgais i wneyd i'r naill gamgymmeriad brofi camgymmeriad arall.

Ond y mae y cywydd canlynol o eiddo Iolo Goch yn penderfynu tu hwnt i bob ammheuaeth amseriad y cywydd a nodwyd o waith Dafydd ab Gwilym. Cyfeirir yn llin. 9 at Frwydr Cressy, yr hon a ymladdwyd yn 1346; ac yn llin. 27, yr ydym yn cael enw y brenin oedd ar Ffrainc ar y pryd —"Philib oerwib wr." Ond yn ol rhestr o frenhinoedd Ffrainc o'n blaen (*Penny Cyclop.*, vol. x., p. 427), yr ydym yn cael i Philip VI. esgyn i orsedd Ffrainc yn 1328, ac iddo gael ei olynu gan ei fab, John II., yn 1350. Felly yr oedd y Dr. Pughe ym mhell o'i le pan yn amseru mynediad Rhys Wgan i Ffrainc yn y flwyddyn 1369.

Rhaid i ni bellach grybwyll un peth sydd yn ymddangos i ni yn dywyll yng nglyn â'r cywydd canlynol. Gwelir yn y penawd i Rhys gael ei ladd ym Mrwydr Cressy; ac y mae y darlleniad o'r cywydd yn cadarnhau hyny. Ond yn llin. 44, rhoddir ar ddeall iddo gael ei gladdu yng Nghaerfyrddin. Ac ymddengys o'r hyn lleiaf yn ammheus, os cafodd ei ladd yn Ffrainc, y buasid yn dwyn ei gorff i Gymru i'w gladdu, yng nghanol terfysg a helyntion rhyfel. Os dygwyd ei gorff drosodd, rhaid fod Rhys yn wr o gryn bwysigrwydd a dylanwad. Eto, y mae yn bosibl mai ei

glwyfo a gafodd yn Ffrainc; ac i'r clwyf hwnw brofi yn angeuol iddo ar ol ei ddychweliad adref. Pa fodd bynag, nid ydym yn canfod dim yn y cywydd ag sydd yn taflu unrhyw oleuni ar hyn. Ond y mae yn amlwg oddi wrtho iddo ymladd yn wrol yn Cressy; ac iddo gael ei gladdu yng Nghaerfyrddin. Yn wir, awgryma y bardd ei fod yn y claddedigaeth.

Y mae y cywydd yn un gwerthfawr, yn gymmaint a'i fod yn cynnwys darlun lled gyffrous o'r frwydr a nodir. Ac y mae y ffaith ddarfod i Iolo Goch ganu cywydd marwnad i wr o Sir Gaerfyrddin yn profi fod cylch ei adnabyddiaeth yn eang; ac yn profi hefyd ei fod yn cymmeryd dyddordeb dwfn yn helyntion milwrol a gwleidyddol ei oes. Gallwn amseru y cywydd hwn, gyda gradd helaeth o sicrwydd, tua'r rhan olaf o'r flwyddyn 1346.

Nis gwyddom beth sydd i'w feddwl wrth yr ymadrodd—"Not in the Collection"—sydd wedi ei ysgrifenu gydag inc coch mewn llaw ddiweddarach o dan y penawd, os nad oedd yr un a'i gwnaeth o dan yr argraff mai Dafydd ab Gwilym oedd awdwr y cywydd, ac nad oedd y cywydd i'w gael yn y casgliad o'i weithiau. Gellid tybied oddi wrth rai nodiadau o eiddo Iolo Morganwg ar y cywydd—fel y gwelir eto—ei fod ef yn tybied mai Dafydd oedd ei awdwr. Ond ni ddygwyddodd i ni ei weled mewn un man yn cael ei briodoli i neb amgen nag i Iolo Goch.

Llyma oerchwedl cenhedlawr[1]
Llas penn Cymry nenn yn awr,
Gwahanwyd brawd briawd bronn
Ag enaid Llyfr y Ganon,
Syrthio angel syrth anghlaer
Syr *Rhys* oedd yn ngwregys aur[2]

[1] "Cenhedlawr" = cenedlor = cyndad; amddiffynydd teulu.

[2] "Syrthio angel oedd swrth
anglaer
Syr Rys aur yngwregys aer."
*Add. MS.*, 14,964.

Yn hyn y mae *C. Ll. G.* yn cytuno, ac eithrio ei fod yn rhoddi "angl" yn lle "angel." Ac mae y naill fel y llall yn gadael allan llin. 7 ac 8.

N

*Wgawn* drynn a roe'r gwîn draw
I'w genedl gwae o'i gwynaw,
(a) Gwae ai gweles Yng *Nghressi*[1]
Gwr diwael mewn trafael tri
Där gwn gyd dan gyngyd Gai — Dörgwn *in a.*,
Dewr loywfryd dwyn ei lifrai,[2]
Bann wisgawdd rydd ganclawdd Ri
(b) Balaen uwch llethrbenn Beli,[3] — Llethrdir *in al.*

[1] "Yn gressi" yn *Add. MS.*, 14,964. Ar ddiwedd y cywydd, yn yr ysgriflyfr a gymmerwyd yn destyn, y mae y nodyn canlynol, gyda chyfeiriad at y llinell hon :—

"(a) Pan ystyrier pob amgylchiad nid tebyg bod Dafydd ab Gwilym lawer llai na deng mlwydd ar hugain oed pan aeth y Bwa bach gyda Syr Rhys Wgawn i Gressi, bu Dafydd dros ryw faint o amser yn ymganlyn a Dyddgu, merch Ifor Hael, &c. cyn iddo erioed weled Morfudd ; bu hefyd yn ei chanlyn hithau lawer blwyddyn, tebygid, cyn iddi briodi'r bwa bach.

Pa sawl gwaith er trymgwaith trwch
y ffôais O ! cofféwch
rhagddaw'r cawell ysgaw cau
ai dylwyth fal medelau ?

Tebygid wrth hynn, a phethau eraill, mae wedi'r hir erlid ar Ddafydd *druan* ai garchariad, &c. ydd aeth y Bwa bach i Ffrainc, odid fawr nad oedd Dafydd yn ddengmlwydd ar hugain y pryd hynny, sef yn 1346 pan fu ymladdfa Cressi. Wrth hynn gellir casglu geni or Bardd ynghylch y flwyddyn 1316, neu yn hytrach yn gynt, sef o ddeg i bymtheg ar hugain o flynyddau wedi marw Llywelyn ab Gruffudd."

Gwelir yn ein sylwadau ar Cywydd Rhif XXVII. fod dyfaliad Iolo Morganwg parthed i amser genedigaeth Dafydd ab Gwilym yn anghywir.

[2] "Dorgwn gyd dan gyngyd cai
Dewr loywbryd mewn dur lifrai."—*Add. MS.*, 14,964.
"Dorgwn cyd dan gyngyd Cai,
Dewr loyw-fryd, mewn dur lifrai."—*C. Ll. G.*

Y mae y geiriaduron yn ddystaw am "Dorgwn" a "Där gwn." Ai nid ffurff arall ar *dargynnull* (= casglu yng nghyd) ydyw "dargwn?"—yn casglu ei fyddin, fe ddichon a feddylir, dan fwriadu (=cyngyd) am y "cai" = cei (*quay*) —sef, i'r lan.

Y mae "mewn dur lifrai" (livery) = milwr-wisg ddur, yn ymddangos yn well darlleniad na "dwyn ei lifrai."

[3] "Pan wisgawdd rydd gamlawdd ri
Balaen uwch Llethr ben Beli."
*Add. MS.*, 14,964, a *C. Ll. G.*

Tybiwn nas gall y testyn fod yn gywir. Enw ar fath o lysieuyn ydyw "canclawdd" = canclwm = *Knotgrass* (*Persicaria*) ; ac o bosibl mai "cymmlawdd" = *cynhwrf* a feddylir —sef, y cynhwrf a achosid pan wisgai ei "balaen" = *steel*

Yno'n braff baladr saffwy
Gwr a welad nid rhâd rhwy,[1]
Ag aruthur gael yn ael nos
ag oeri[2] traed ag aros,
Pan ddaeth at ffrangc[3] ar trangc trwm
ai lorf ar engyl larwm
Yno y bu cyn tynnu tân[4]
Cynnwrf ymlaen twrf taran,
Arwydd trympeu beren bar
A lluched mellt tân llachar,[5]
Llew brwysg yn llywio a braich
Llu Brenin yn lle Brynaich,[6]

*blade*, a elwid felly oddi wrth dref Milan, yn yr Eidal, yr hwn le oedd yn enwog am y cyfryw arfau yn y canol oesoedd. (Gwel *Geir. Cymraeg*, D. Silvan Evans, s.v. "Balaen"). Ar ddiwedd y cywydd, yn yr ysgrif a gymmerwyd yn destyn, y mae gan Iolo Morganwg nodyn cyfeiriedig oddi wrth llinell 14, fel hyn :—

(b) "Llethrdir Beli — *Belgium*. Belgic Gaul a thir Beli, felly y gelwir y wlad honno gan y Beirdd Cymreig."

[1] "Yno i gweled nid rhad rhwy
Gwr praff wrth baladr saffwy."
*Add. MS.*, 14,964.

"Gwr praff wrth baladr saffwy,
Yno gwelad nid rhad rhwy."
*C. Ll. G.*

[2] "Ac oeri."—*Add. MS.*, 14,964, a *C. Ll. G.*

[3] "Ffranc."—*Add. MS.*, 14,964, a *C. Ll. G.*

[4] "Ynno y bu cyn tynnu tân."
*Add. MS.*, 14,964.

[5] "Arwydd trympai borau bar
A lluched melldan llachar."
*Add. MS.*, 14,964.

"Arwydd trympau berau bâr,
A lluched mellt, dân llachar."
*C. Ll. G.*

Golygir wrth "beren bar," fel y tybiwn, fod ei waywffon yn myned yn llidiog—wrth arwydd (neu floedd) y trwmped. Y mae Gwalchmai yn defnyddio ymadrodd cyffelyb :—

"Ar lad lad lachar ar bar beri
Ar fwyr fwyr fyrfgawd ar fawd fodi."—*Myv. Arch.*, p. 145.

Ac medd Llywelyn Fardd :—

"Aruaeth ehelaeth wrth y holi
Arueu o deheu bareu beri."—
*Myv. Arch.*, 249.

Yn dilyn llinell 24 yn *Add. MS.*, 14,964, ceir :—

"An galw iw golofn winllys
Glod eurgledd rod Arglwydd Rŷs."

Ac yn gyffelyb yn *C. Ll. G.*, ond fod "nod" yn cael ei roddi yn lle "rod."

[6] "A llew braisc yn llywio a braich
Llu Brenin yn lle Brynaich."
*Add. MS.*, 14,964.

Y mae "brwysg" yn well na "braisg" o ran cynghanedd a synwyr. "Braisg" ydyw *tew*, *praff*, a'r cyffelyb ; ond wrth "brwysg" yma y golygir *tanbeidrwydd*.

Gwybu Philib oerwib wr
28 Ei falais od oedd filwr,[1]
Uthr Benn Dragon[2] lonn lendyd
Aeth Paris ar gis[3] i gyd,
Delw Sant Iorys ai Dylaw dwylaw *in ol.*
32 Ar grog drwy fawr annog draw,[4]
Ni chiliodd yn wacheliad [5]
Ni chyrchodd Gwart lart er câd [6]
Blaidd oedd a threm ddiaiddil[7]
36 Blaidd y fo a bläodd fil,[8]
Da oedd ei[9] gof mewn gofid

1 "Gwybu Phylip aerwil ŵr
Ei falais od oedd filwr."
*Add. MS.*, 14,964.
"Gwybu Phylib aerwib ŵr,
Ei falais, od oedd filwr."
*C. Ll. G.*

"Aerwib"=*darting through the battle*, sydd gywir, yn ddiammeu; nid "aerwil."

2 Cyffelybir Syr Rhys yma, o ran ei wrhydri, i Uthr Bendragon, tad y brenin Arthur.

3 Gis=ergyd. Gwel Cywydd Rhif III., llin. 41.

4 "Deli Sain Sior ai dwylaw
Ar grog drwy fawr annog draw."—*Add. MS.*, 14,964.
"Delw Sain Sior a'i dwylaw,
A'i grog drwy fawr annog draw."—*C. Ll. G.*

Sant Sior, yr hwn a anwyd yn Epiphaneia, yn Cilicia, yn y bedwaredd ganrif. Pan aeth y Croesgadwyr Seisonig i'r dwyrain yn 1096, cawsant fod coffadwriaeth y Sant yn cael ei gadw, a'i fod yn cael ei dderbyn gan y Cristionogion fel noddwr buddugoliaeth ar faes y gwaed. Fel y cyfryw gwnaeth Edward III. ef yn noddwr Urdd Marchogion yr Ardas; a deuwyd i'w alw yn nawdd-sant Lloegr. Ym mrwydr Cressy, symbylid y milwyr trwy waeddiadau—"Yn enw Duw a Sant Sior," tra mai arwyddair y Ffrancod oedd, "Yn enw Duw a Sant Denis."

5 Yn egwan. "Yr wyf yn teimlo yn wachel" (=*feeble*) sydd ymadrodd cyffredin yn rhai parthau o Gymru.

6 "Ni chyrchodd gwart cart er câd."—*Add. MS.*, 14,964, a *C. Ll. G.*

Nis gwyddom pa un ai "lart" ai "cart" sydd gywir; ac nis gallwn ddyfalu eu hystyr yma. Ond oddi wrth rediad y llinell, tybiwn mai y meddwl ydyw na ddarfu iddo ym mhoethder y gâd encilio i ymofyn am adgyfnerthion.

7 "Ddieiddil."—*Add. MS.*, 14,964; "ddi eiddil."—*C. Ll. G.*

8 "Blaidd oedd fo a blaeuodd fil."—*Add. MS.*, 14,964.
"Blaidd oedd fo, bw laddodd fil."—*C. Ll. G.*

Tybiwn fod "bläodd," neu blaiodd, yma yn golygu anrheithio.

9 "i."—*Add. MS.*, 14,964. Amcan y llinell hon ydyw mynegi ei fod yn gwbl hunan-feddiannol yn y perygl mwyaf.

ai laif[1] yn gyflawn o lid,
Uchel oedd niferoedd nêf
Ai aergrefft[2] uwch helm eurgref
mi ai gwelais, lednais[3] lyw,
Dydd anrhaith nad oedd unrhyw,
Yngo fy nghâr yn anghudd
Yng haer / Yng nghaer fardd Emrys yng ghudd[4]
Corph mawr ar y llawr gerllâw
ai genedl yn ei gwynaw
ai wayw ar gae, gwae ai gwyl
ai Emys[5] yn ei ymyl
ai lem lifaid[6] drem drydoll
ai aesawr[7] ai i'r llawr oll,
ai bebyll didwyll du
Ner ai faner i fynu,
ai arwyl[8] ai hwyl hyloyw
ai gurai[9] ai helm las loyw

[1] Glaif=cleddyf.

[2] "Eurgrest."—*Add. MS.*, 14,964, a *C. Ll. G.* Eur grest=*the golden crest.*

[3] "Ledrais."—*Add. MS.*, 14,964; "lednais."—*C. Ll. G.*

[4] "Ynghor fyngharw yn gyhudd
Ynghaer fardd Emrys yng-hudd."—*Add. MS.*, 14,964.
"Yn nghor fy ngharw yn gyhudd,
Yn Nghaer fardd Emrys yn nghudd."—*C. Ll. G.*

Rhoddir mynegiad yma i'r syniad ag sydd erbyn hyn yn cael derbyniad lled gyffredinol, sef mai oddi wrth Myrddin Emrys (Merlin Ambrosius), bardd a flodeuai yn y bummed ganrif, y cafodd tref Caerfyrddin ei henw.

Tybiwn oddi wrth llin. 41-44 i Rhys Wgan gael ei gladdu yng Nghaerfyrddin; yr hyn sydd braidd yn rhyfedd os lladdwyd ef yn Ffrainc. Ond gwel ein nodiadau ar ddechreu y cywydd.

[5] "Emys"—y lluosog o *Amws*=*charger, steed, stallion, a horse*, &c. Dyfyna y Canon Silvan Evans (*Geir. Cymraeg*, s.v. "Amws") luaws o enghreifftiau o lenyddiaeth y canol oesoedd, yn y rhai y rhoddir y gair "emys."

[6] "Lefaid" gyda "lifaid?" ar ymyl y ddalen.—*Add. MS.*, 14,964; "lifaid."—*C. Ll. G.* "Lifaid" (o llifo=*whetting*) sydd gywir, mae'n debyg.

[7] "Aesawr"=tarian.

[8] "Arwyl"=defodau angladdol.

[9] "Guras."—*Add. MS.*, 14,964, a *C. Ll. G.* Guras=llurig (=*cuirass*

ai seirch[1] yn gyfryw a sur[2]
56 ai eisiau yn ei asur,[3]
ai enaid ydoedd Ener[4]
aed ef i wenwlad Nef Ner.

Iolo Goch ai cant.

[1] "Seirch" = harneis; rhyfelwisgoedd yma, fe allai. Ceir y gair mewn gwahanol ffurfiau, megys *gwrymieirch*, *gwrymseirch*, ac weithiau, trwy gamddarllen *s* yn *f*, ysgrifenir *gwrymfeirch*.

[2] "Ddyr" a geir yn *Add. MS.*, 14,964, ond "Sŷr" yn *C. Ll. G.*, gyda "lluosrif o seren" fel eglurhad ar waelod y ddalen.

[3] "Asur"=glas; cyfeiriad, mae'n debyg, at ei arfbais.

[4] "Ener"=cyfrwng dealltwriaeth. *Agent of Intelligence* a rydd Pughe yn gyfystyr; ond rhydd Richards *Prince*, &c.

# II.

## COW: MOL: SR. HOWEL Y FWYALL RHYFELWR.

---

*(O'r Add. MS., 14,966, fol. 129).*

Y mae y cywydd hwn i'w weled hefyd yn *Add. MSS.*, 14,866, 14,873, 14,964, 14,970, 14,978; yn *Jesus MS.*, C. 101, p. 107; yn *Y Piser Hir*, p. 79; ac yn argraffedig yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 11; *The Works of Iolo Goch* (gan R. Jones), p. 54; *Y Brython*, cyf. iii., tudal. 350; ac yn *Cymru* am Medi, 1891, tudal. 65. Yn *Add. MS.*, 14,964, ceir y penawd a ganlyn i'r cywydd:—

"CYWYDD I SYR HOWEL Y FWYALL AP GRUFFDD. O 'FIONYDD.—a wnaethpwyd yn Farchog yn Ffrainc gan y Tywysog Edward ap Edward y 3dd. pan ddaliwyd Brenin Ffrainc, e ddywedir mai Syr Howel ai cymerth ag a roes ffrwyn yn ei Ben afael o hono gan y Tywysawg yn ei Orymdaith, Saig iddo ei hun, a Saig yw Fwyall, ag yn ol hynny roddi rhent Melinau Caerlleon Gawr, ac yn ddiweddaf Castell Criccieth a'i Berthynasau."

Nid ydyw amser genedigaeth na marwolaeth Syr Hywel y Fwyall yn hysbys; ac nid ydyw pawb yn cytuno yng nghylch enw ei dad. Dywed Pennant mai ei dad oedd Gruffydd ab Hywel ab Meredydd, tra y tybia Williams, yn ei *Eminent Welshmen*, mai enw ei dad oedd Einion ab Gruffydd ab Hywel. Heb law fod y cywydd canlynol (llin. 45) yn dyweyd mai Gruffydd oedd ei dad, y mae o'n blaen achres o eiddo y Chevalier Lloyd (*Hist. Powys Fadog*, vol. vi., p. 32), yr hon, os yn gywir, sydd yn cadarnhau golygiad Pennant. Dyfynwn fraslun a honi yma:—

Collwyn ab Tangno, Arglwydd Eifionydd, &c., oedd yn byw yn Nhŵr Bronwen, Harlech. ═ Madlen Benlydan, merch Cynan ab Gwaethfoed, Arglwydd Ceredigion, a chwaer Ednowain Bendew.
|
a




Ond mewn ysgrif a ymddangosodd yn *Y Brython*, cyf. iii., tudal. 207-95, yr "hon a gaed mewn llyfryn teuluol, ym mhlith pentwr o bapyrau yn Ystymllun, a ddarparasid i gael eu llosgi," dywedir mai tad Hywel y Fwyall oedd Meredydd ab Einion, ac mai ei fam oedd Gwenllian, merch Gruffydd ab Ednyfed Fychan; a thrwy hyny gwneir Hywel yn daid iddo ei hun, os ydyw yr achres uchod yn gywir.

Pa fodd bynag, ymddengys fod Syr Hywel yn rhyfelwr enwog. Dywedir gan rai (*Dwnn's Herald. Visit.*, vol. ii., p. 46, note 8) iddo ddefnyddio ei gad-fwyall yn egnïol ym Mrwydr Cressy, lle y gwnaed ef yn farchog ac y derbyniodd y rhoddion a nodir genym rhagllaw. Dichon iddo gym-

meryd rhan ym mrwydr Cressy, yr hon a ymladdwyd yn 1346; ond fe dybir mai am gymmeryd John, brenin Ffrainc, yn garcharor y cafodd Hywel ei greu yn farchog. Os felly, ni wnaed ef yn farchog hyd 1356, pryd yr ymladdwyd Brwydr Poictiers. Ceir crynodeb lled dda o'r hyn a ddywedir yn gyffredin am ei ddyrchafiad yn yr ysgrif y cyfeiriwyd ati yn *Y Brython*, cyf. iii., tudal. 288:—

"Yr hynaf o feibion y Meredydd uchod oedd Hywel, yr hwn oedd filwr dewr, ac a aethai gyda'r Tywysog Du i Frwydr Poictiers, pryd y cafodd Brenin Ffrainc ei gymmeryd yn garcharor. Yn ol tystiolaeth ein cydwladwyr, efe, sef Hywel, a'i cymmerodd; ond pa fodd bynag y bu, ymladdodd mor ddewr gyda'i fwyall, fel yr urddodd y Tywysog ef yn Farchog, ac a orchymynodd i wledd gael ei pharotoi o flaen ei gad-fwyall, neu ei waewffon, er coffadwriaeth am ei wasanaeth a'i wroldeb. Oddiwrth yr achlysur yma y gelwid ef yn Syr Hywel y Fwyall. Yr oedd y wledd, neu'r saig-fwyd hon, yn cael ei chadw i fyny ar ol ei farwolaeth, a'i rhoddi i'r tlodion er lles i'w enaid ef; ac yr oedd yn perthyn i'r saig wyth o osgorddwyr (*yeomen*) yn gwasanaethu ar gost y brenin, y rhai a alwyd ar ol hyn yn Osgorddwyr y Goron; a derbynient wyth geiniog y dydd o gyflog parhäus. Parhaodd hyn hyd ddechreu teyrnasiad Elisabeth, yn ol tystiolaeth y Rhingyll Roberts o Hafod y Bwch, ger Gwrecsam, a Robert Turnbridge o Gaerfallen, ger Rhuthyn."

Wrth ddarllen y cywydd, er gwaethaf anghyssondeb y gwahanol ddarlleniadau, yr ydym yn cael allan fod Hywel yn fab i ryw Gruffudd, ac ei fod, pan y cyfansoddwyd ef, wedi ei urddo yn farchog, ac yn byw mewn rhwysg mawr yng Nghastell Criccieth; iddo roddi "y ffrwyn ym'hen Brenin Ffrainc"—hyny yw, ei ddal—ac iddo dori penau llawer o'r Ffrancod. Nid ydyw Iolo Goch mewn un modd yn brin o'i ganmoliaeth iddo am ei ddewrder; ac y mae yn cyfeirio hefyd at ei haelioni—yn enwedig o'i win. Wrth hyn, tybiwn i'r cywydd hwn gael ei gyfansoddi wedi i

Hywel ddychwelyd o Ffrainc ar ol brwydr Poictiers—yn sicr nis gallasai fod wedi ei gyfansoddi cyn y flwyddyn 1356.

A welai neb a wela[1]
yn y nos o iawn a wna[2]
pan fum[3] mwya[4] poen a fu
yn hunaw anian henu[5]
cynta dim a wela yn wir[6]
caer fowrdeg acw ar fordir[7]
a gwyr ar fyrddau a gwawl
a chasdell gwych gorchesdawl[8]
a glasfor amgylch glwysfaen
geirw am groth twr gwrwm graen[9]
a cherdd chwibanogl[10] a chlod
gwawr hoynys a gwr hynod[11]

[1] "A welai'r neb a welaf" ydyw y darlleniad mwyaf cyffredin. Ac y mae y bardd yn cymmeryd arno ofyn, gallem feddwl, beth a welai mewn breuddwyd.

[2] "Yn y nos pand iawn a wnaf." *Add. MS.*, 14,970.
"Pand"=pa ond.

[3] "Fym."—*Jes. MS.*

[4] "Mwyaf."—*Add. MS.*, 14,970.

[5] "Yn huno anian henu." *Add. MSS.*, 14,970 a 14,964.
"Yn huno ag yn hyny." *Jes. MS.*
Tebyg mai "henu" (=henaidd= *antiquated*) a ddylai y gair olaf fod.

[6] "Cyntaf y gwelaf mewn gwir." *Add. MS.*, 14,970.
Credwn fod y testyn yn llawer gwell na'r darlleniad hwn.

[7] "Caer fawrdeg accw ar fordir." *Add. MS.*, 14,970.
"Caer fowrdeg cai ar fordir." *Add. MS.*, 14,964.

[8] Yn y rhan fwyaf o lyfrau gosodir y llinell flaenaf yn y ban yn olaf—a hyny, feddyliem, er gwell—er enghraifft:—
"A chastell gwych gorchestawl
A gwyr ar fyrddau a gwawl."
*Add. MS.*, 14,970.

[9] "A glasfor wrth fur glwysfaen
Garw am groth twr gwrwm graen."—*Add. MS.*, 14,970.
Y mae hwn yn ddysgrifiad cywir o Gastell Criccieth, godreu yr hwn a olchir gan donau gleision y beisfor.

[10] "Chwibiengyl a chod."—*Add. MS.*, 14,970. Cyfeiriad a geir yma at y gerddoriaeth, &c., oedd i'w glywed o fewn muriau y castell.

[11] O hyn i'r diwedd y mae y llinellau wedi eu cyfleu mor wahanol yn yr amrywiol lyfrau, fel y llenwai ein holl ofod i ni nodi yr amrywiaeth. Yn *Add. MS.*, 14,970, ar ol llin. 12, ceir:—
"Rhianedd nid rhai anhoyw
Yn gwau y sidan glan gloyw
Gwyr beilch yn chwareu gar barth
Tawlbwrdd a secr gar talbarth."

eres ir oedd heniriad[1]
ar lawr Gwynedd wleddfawr wlad
[2]oll gwbl ar all gwybod
betwn lle mynwn y mod
OES heb yr[3] un syberw wyd[4]
breuddwydiaw yn brydd ydwyd[5]
y wal deg a weli di
da dyddyn o doed iddi[6]
ar gaer elgur[7] ar greigloff[8]
ar garreg rûdd ar gwrr groff[9]
hon yw Criciaeth ar gwaith gwiw[10]
ai hen adail hon ydyw[11]
ar gŵr llwyd cadr paladrddellt
Syr Howel ar mangddel mellt[12]

1 "Eres nad oes henuriad." *Add. MS.*, 14,970.

2 Y mae llin. 15-16 yn cael eu gadael allan yn y mwyafrif o'r ysgriflyfrau.

3 Hebyr=hebai, neu ebai; sef yr "un syberwyd" yn ateb y bardd—yn y llinellau dilynol.

4 "Syberwyd."—*Add. MS.*, 14,964. Syberwyd = *high-minded, liberal, beautiful.*

5 "Breuddwydio obry 'ddydwyd."—*Add. MS.*, 14,970; "Breuddwydion bur yddydwyd" yn ol *Add. MS.*, 14,964.

6 "Da dyddyn a doud iddi." *Add. MS.*, 14,970.
"Da dyddyn ydoedd iddi." *Add. MS.*, 14,964.
"Da dyddyn a doid iddi." *Jes. MS.*

7 "Eglur"—yn y llyfrau ereill.

8 'Groglofft."—*Add. MS.*, 14,970 Wrth groglofft yn y fan hon, yn ol R.J., y golygir brig y tŵr.

9 "Grofft."—*Add. MS.*, 14,970.

10 "Hon yw Crucciaith ai gwaith gwiw."—*Add. MS.*, 14,970.
"Honn yw Krikiaith gwaith gwiw."—*Jes. MS.*

11 "Hen adail honno ydiw." *Add. MS.*, 14,970.
"Hen adail honn ydiw." *Jes. MS.*

Saif Criccieth yng nghwmmwd Eifionydd, yn y rhan ddeheuol o sir Gaernarfon. Dywedir ei fod yn lle tra hynafol, gan y perthynai i Ednyfed Fychan, yr hwn oedd yr unfed-ar-bymtheg-a-thriugain fel disgynydd o Henwyn, Duc Cernyw, barwn Bryn Ffanigl, ac arglwydd Criccieth. Adeiladodd Ednyfed amddiffynfa yma, yr hon, wedi syrthio i adfeiliad, a adgyweiriwyd ac a gadarnhawyd gan Edward I. (*Geir. Cen. Cymru*, gan O. Jones, cyf. i., tudal. 338).

12 "Yw Syr Hywel mangddel mellt."—*Add. MS.*, 14,970.
"Yw Syr Howel maniwel mellt."—*Jes. MS.*

Eglurhad R. J. ar "mangddel" yw "mangnel=*battering ram*"; ond yr ydym yn methu a chael y gai yn ein geirlyfrau.

y gwr gwnllwyth twrchllwyth trin[1]
nowswylld yn rhoi barnaswin[2]
mewn gorfflwch[3] aur goreurym[4]
oi law yn fy llaw yn llym[5]
ag ysdondardd[6] hardd hirddu
yn hâl twr da filwr fu[7]
tri fflowrdilis[8] oris erw
yn i sabl[9] nid ansyberw
a thri blodeuyn gwyn gwiw
ar ûnllûn ddail arianlliw[10]
ai wraig[11] Syr wregis[12] euraid
Howel[13] ion rhyfel yn rhaid[14]

[1] "Ar gwn llwyd wr treiglwr trin."—*Add. MS.*, 14,970.
"A gwr gwnnllwyd twrch trwyth trin."—*Jes. MS.*
Hwyrach mai cyfeiriad sydd yma at Twrch Trwyth ab Tared Wledic, am yr hwn y dywedir yn "Kulhwch and Olwen" (*Mabinogion*, Oxford edit., pp. 123-5; 135-41). Os felly, y darlleniad yn *Jes MS.* ydyw y cywiraf; ac y mae *Add. MS.*, 14,964 yn gyffelyb.

[2] "Nawswyllt yn rhoi barneiswin."—*Add. MS.*, 14,970.
"Farneiswin" yn *Jes. MS.* Barneiswin=math o win Eidalaidd.

[3] "Gorfflwch"=*goblet.*

[4] "Gorauryn." — *Add. MS.*, 14,970.

[5] "Yn llynn."– *Add. MS.*, 14,970; "fellyn."—*Jes. MS.*

[6] "Ystondardd." — *Add. MS.*, 14,970. Ystondardd=lluman.

[7] "Yn nhal twr da filwr fu." *Add. MS.*, 14,970.
"Ynhal twr ysta filwr fu." *Jes. MS.*
Y lluman, neu y faner, yn hongian ar ben y tŵr.

[8] "Fflwr dilis." —*Add. MS.* 14,964; "fflwr delis."—*Jes. MS.* *Fleur-de-lys* = caminod,— math o flodeuyn a ddygir ym mhais-arfau Ffrainc.

[9] "Y sabl."—*Add. MS.*, 14,970. "Sabl" (*sable*)=du.

[10] "O'r unllun dail arianlliw." *Add. MS.*, 14,970.
Arfbais Syr Hywel oedd "*Sable*, 3 fleurs de lis *argent.*" (*Dwnn's Heraldic Visitations*, vol. ii., p. 46, note 8).

[11] Gwraig Syr Hywel, yn ol Lewys Dwnn (*Herald. Visit.*, vol. ii., p. 101) oedd "Tanglwyst verch Davydd gôch ab Howel Vychan ap Howel ap Ieva ap Trahauern ap Cariadog arglwydd Arwystli." Dywedir yn gyffredin i Syr Hywel farw yn ddiblant; ond yn ol Dwnn, ganwyd o'r briodas hon un mab—"Grufd. ab Sr. Howel," yr hwn a briododd "Nêst verch arglwydd y Cemais yn Sir benvro un o'r Martins oedd hi."

[12] "Wregys."– *Add. MS.*, 14,970.

[13] "Hywel."—*Add. MS.*, 14,970.

[14] "I'n rhaid."—*Add. MS.*, 14,970.

ai llawforynion[1] tôn têg[2]
y ddoe en hwy bob deuddeg[3]
yn gwai sidan glân gloyw liw[4]
wrth haul pelydr drwy'r gwydr gwiw[5]
[6]pensel Syr Howel yw hwn pensel, *i.e.*, blaenor.
Myn Beuno[7] mae/n/ i benwn
anian vab Gruffudd rydd rôn[8]
ymlaen am i[9] elynion
yn bwrw y gwayw yn i gwaed[10]
aniweirdrefn ion eurdraed[11]

[1] Llaw forwynion yn *Add. MS.*, 14,964 ; "Llawforynion." — *Jes. MS.*

[2] Tôn têg=croen-lân (*fair skin*).

[3] "Ydd oeddynt hwy bob ddeuddeg."—*Add. MS.*, 14,970.
"Ydd oeddwn yno ddeuddeg."—*Add. MS.*, 14,964.
"I ddoeddent hwy bob ddeuddeg."—*Jes. MS.*
Rhaid fod Syr Hywel yn cadw sefydliad eang os oedd y morwynion yn rhifo wrth y dwsinau.

[4] "Yn gwau sidan o'r glanliw."
*Add. MSS.*, 14,970 a 14,964.
Gwel tudal. 106, nodyn 11, mewn perthynas i'r "rhianedd . . . . yn gwau sidan." Ond y mae R.J. yn ammeu a oeddynt yn gwau sidan mor foreu a hyny ; pa fodd bynag, y mae Iolo Goch yn well awdurdod ar hyn nag R.J. Y mae yn wir mai yn y bymthegfed ganrif y ceisiwyd magu y pryf-sidan yn Lloegr ; ond nid yw hyny yn profi nad oeddynt yn gwau sidan yma yn gynnarach.

[5] "Wrth haul belydr drwy'r gwydr gwiw."
*Add. MS.*, 14,970.
"Wrth haul belydr gwydr gwiw."—*Jes. MS.*

[6] Yn blaenori llin. 43 yn *Add. MS.*, 14,970., ceir :—
"Tau olwg ti a welud
Ystondardd yr hardd ei sud."

[7] Beuno oedd un o seintiau y seithfed ganrif, yr hwn a sefydlodd grefydd-dy yng Nghlynnog, Sir Gaernarfon.

[8] "Anian mab Gruffudd rhudd rhôn."—*Add. MS.*, 14,970. Gruffudd rhudd rôn (=y bicell goch) oedd tad Syr Hywel.

[9] "Ei."—*Add. MS.*, 14,970.

[10] "Yn minio gwaew mewn eu gwaed."—*Add. MS.*, 14,970.
"Y minio gwayw yn i gwaed."
*Jes. MS.*

[11] "Anniweirdrefn Iôn eurdraed."
*Add. MS.*, 14,970.

ysgythrwr càd ysgoethrydd[1]
esgyd ir ai esgyd rydd[2]
ysgythred baedd disgethring[3]
asgwrn hên yn amgen[4] ing
pan rodded trwsged trowsgainc[5]
y ffrwyn ym 'hen Brenin Ffrainc[6]
barbwr fu fal mab Erbin[7]
a gwayw a chledd trymwedd trin[8]
eillio ai law ai allu[9]
benau a barfau i bu[10]
a gollwng cynta[11] gallai
gwaed tros i draed trisd i rai[12]

1 "Ysgythrwr câd ait Syr Goethrudd."—*Add. MS.*, 14,970.
"Ysgythrwr câd aesawr goethrydd."—*Add. MS.*, 14,964.
"Ysgythrwr cad ais goethrudd."—*Jes. MS.*
Yn ol darlleniad R. J.—"Ysgythrwr cad ail Syr Goethrudd" a ddylai fod; ac ychwanega ar waelod y ddalen mai Syr Goethrudd, un o farchogion y Ford Gron, a feddylir.

2 "Esgud ei droed esgid rudd." *Add. MS.*, 14,970.
Y mae y bardd yn chwareu yma yn lled gywrain ar y gair "esgyd."—*Esgud* (buan) ei droed mewn *esgid rudd* (goch gan waed).

3 "Ysgrithred Baedd ysgethring." *Add. MS.*, 14,970.

4 "Angen."—*Add. MS.*, 14,970.
Darllena llin 51-52 yn *Add. MS.*, 14,964, fel hyn :— "Ysgithredd baedd ysgythrengyt yn asgwrn hen angen engyt."

5 "Pan rodded trawsged rhwysgainc."—*Add. MS.*, 14,970.
"Pan roddai drawsgae drysgainc."—*Add. MS.*, 14,964.

6 "Y ffrwyn ym mhen Brenhin Ffraingc."—*Add. MS.*, 14,970.

7 Geraint ab Erbin. Ceir "Ystorya Gereint vab Erbin" yn y *Mabinogion.*

8 "A gwayw a chlodd tromwedd trin."—*Add. MS.*, 14,970.
"A gwaew a chledd tromwedd trin."—*Add. MS.*, 14,964.
"Tromwedd trin"=arfau trymion y frwydr ; "trin"=brwydr.

9 "Eillio o'i nerth ai allu." *Add. MS.*, 14,970.
"Ag eillio da oedd y gallu." *Add. MS.*, 14,964.

10 "Bennau a barfau y bu." *Add. MS.*, 14,970.
"Pennau a Barfau y bu." *Add. MS.*, 14,964.
*Eillio* y geilw y bardd, mewn modd chwarëus, y gwaith o dori penau pobl mewn rhyfel—ond ceir yr un sylw ym Mrut G. ab Arthur : "eilliaw cenedyl y Saeson o'r Ynys."

11 "Gynta."—*Add. MS.*, 14,970.

12 "Y gwaed tros draed trist rai."—*Add. MS.*, 14,970.

[1] gwarden yw garw dawn wosgl
a maer ar y drowsgaer drosgl[2]
cadw gwrsser yn cadwr garsiwn
cadw/r/ tir yn hir yn hwn
cadw/r/ casdell gwell na gwyr
cadw/r/ bobl mewn cadair bybyr
cadw/r/ gwledydd oll cadw/r/ gloywdwr
a chadw/r/ gaer iechyd ir gwr[3]

Iolo Goch ai Cant.

[1] Yn *Add. MS.*, 14,970 a *Jes. MS.*, blaenorir llin. 61 gan y rhai a ganlyn :—

" Anwyl fydd gan wyl Einiort
Aml ei feirdd a mawl ei fort."
*Add. MS.*, 14,970.

" Aml fydd gan wyl eimort
Aml i feirdd a mawl i fort."
*Jes. MS.*

" Anwyl fydd gan wyl Einort
Am ei feirdd a mawl i'w fort."
*C. Ll. G.*

[2] Nid yw llin. 61-62 yn *Add. MS.*, 14,970 a *Jes. MS.* ; ond darllenant fel y canlyn yn *Add. MS.*, 14,964 :—

" Gwarden yw garw deunaw osgl
A Maer yn y Drwsgaer drosgl."

[3] Terfyna y cywydd yn *Add. MS.*, 14,970 a *Jes. MS.* fel y canlyn, gan adael allan llin. 63-64 :—

" Cadw'r Linsir cedwi Loensiamp
Cadw'r ddwywlad cadw'r gâd cadw'r gamp
Cadw'r mordarw cyd a'r mordir
Cadw'r môr drai, cadw'r tai cadw'r tir
Cadw'r gwledydd oll cadw'r glewdwr
A Chadw'r Gaer, Iechyd i'r gwr."—*Add. MS.*, 14,970.

" Kadw dwy lys keidwad loywlamp
Kadwr ddwy wlad cadwr gad ar gamp
Kadr gwrser yn cadwr garsiwn
Kadwr tir yn hir a wna hwnn
Cadwr gwledydd oll cadwr glewdwr
A chadwr gamp iechyd ir gwr."
*Jes. MS*

Mewn perthynas i'r gair " Loensiamp " yn y llinell gyntaf o'r darlleniad blaenaf sylwa R.J. fel hyn : —" *Loensiamp* or *lorsiamp*, ' a coat of mail ' ; from *lorica* and *campus*. See Glossary to Dafydd ab Gwilym's Works, page 545." Ac ar ol troi i *Farddoniaeth* Dafydd ab Gwilym, yr ydym yn cael " Llorsiamp [*lorica & campus*, L.] pais-arfau ; lluryg ag arwyddion bonedd yn ddarluniedig arni." Ond y mae darlleniad y *Jes. MS.*—"loywlamp," os yn gywir, yn gwneyd ymaith â'r eglurhad hwn. Eto, ymddengys i ni wrth rediad y llinellau fod " loensiamp," neu " lorsiamp," yn llawn mor naturiol yma a "loywlamp." Darlleniad *R.J.* o'r llinell flaenaf ydyw :—" Cadw dwy lirs, ceidwad loensiamp " ; a dyfyna o *Waith* Lewis Glyn Cothi (p. 446) er dangos mai meddwl " lir " ydyw *livery*. Ond tebycach genym mai " kadw dwy lys," yn ol darlleniad *Jes. MS.*, sydd gywir.

## III.

### C. IR BRENIN EDWARD 3.

---

*(O Lyvr Huw Lleyn.—Add. MS., 14,967, fol. 12.)*

Y mae y cywydd hwn i'w weled hefyd yn *Add. MSS.*, 14,866, 14,970, 14,976, a 15,027; yn *Jes. MS.*, C. 101, p. 346; yn *Y Piser Hir*, p. 319; ac yn argraffedig yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 14, ac yn *The Works of Iolo Goch* (Robert Jones), p. 59. Y mae y penawd i'r cywydd yn *Add. MS.*, 14,970, fel y canlyn :—

"Cywydd Moliant i'r Brenin Edwart y trydydd, Brenin Lloegr, wedi aerfa Cressi. Efe a goronwyd 1327, ac a ymladdodd yn Ghressi 1346, ac a fu farw 1377."

Ond, wrth ddarllen y cywydd, ymddengys i ni na chyfansoddwyd mo hono am ddwy flynedd ar bymtheg ar ol Brwydr Cressy. Yn llinell 61, cyfeirir at y gwarchae a fu ar Paris, yr hyn ni chymmerodd le hyd fis Mawrth ac Ebrill, 1360; ac yn llinell 51, dywedir fod "darogan" am ymgyrch i'r dwyrain. Nis gwyddom a feddyliodd Edward III. am ymgyrch Groesgadawl o gwbl; ond, fel y crybwyllir mewn nodyn ar y llinell a nodwyd, yr oedd John, Brenin y Ffrancod, wedi bwriadu ei annog ef i hyny pan yr ymwelodd â Llundain yn 1363. A methasom dd'od o hyd i unrhyw grybwylliad arall am y fath beth yn ystod teyrnasiad Edward. Ac y mae y geiriau—

"O dai i rroec mae darrogan"

yn ein tueddu i feddwl i'r cywydd gael ei gyfansoddi pan yr oedd y son a ledaenwyd yn amser ymweliad Brenin Ffrainc yn dew ar hyd a lled y wlad. Mewn canlyniad, tebyg iddo gael ei gyfansoddi rywbryd cyn diwedd 1363.

Gellir ei ystyried fel math o adolygiad ar fywyd milwrol y brenin Edward, gan gyfeirio yn neillduol at ei ymgyrch

yn erbyn yr Ysgotiaid, a'i lwyddiant yn Ffrainc. Darlunia y brenin gyda'r lliwiau mwyaf deniadol; fel y gellid meddwl nad oedd neb yn debyg iddo, ac ei fod i raddau uwch law meidrolion. Yr oedd Edward yn frenin gwych, ond prin yr oedd yn teilyngu yr oll a ddywedir am dano gan y bardd. O'r braidd nad ydym yn synu at ddystawrwydd Iolo am Edward, y Tywysog Du—yn enwedig pan gofiwn mai efe oedd arwr aerfa Cressy, yn gystal a brwydrau ereill yn Ffrainc.

Edwart ap Edwart gwart[1] gwyr
Ap Edwart[2] anian bedwyr[3]
Edwart wyr Edwart ydwyd
Edwart trydydd llewpart llwyd
[4]Gwisgaist arwraist yr aer
Krest gwedi kwngkwest kan kaer
Ar awr dda ar wraidd Ior[5]
Aur[6] gwnsallt eryr gwinsor[7]

[1] "Gwart"=amddiffynydd.

[2] Edward ap Edward II. ap Edward I.

[3] Yr oedd Iolo, yn ei dyb ef, yn rhoddi canmoliaeth uchel i'r brenin trwy ei gyffelybu i Bedwyr, sef un o ryfelwyr dewraf Arthur. Yr oedd yn dal y swydd o bentrulliad yn llys y tywysog hwnw; ac yn un o'r ddau farchog a ddetholodd Arthur i'w ddilyn i Fynydd St. Michael, yn Normandy, i ddial marwolaeth Helen, nith Hywel ab Emyr Llydaw, yr hon a ddygasid ymaith, ac a lofruddiasid, gan gawr o faintioli anferth. Ac o herwydd ei wroldeb, rhoddodd Arthur, ar ol gorchfygu Ffrainc, Iarllaeth Normandy i Bedwyr. Dywedir wedi hyny, ei fod yn arwain un aden o'r fyddin yn y frwydr yn yr hon y gorchfygodd Arthur y Rhufeiniaid, dan Lucius, yn nyffryn y Seine. Yn y frwydr hono, yn ol Brut G. ab Arthur, y lladdwyd Bedwyr, trwy gael ei drywanu â phicell gan Boochus, brenin Media; a chladdwyd ef yn Bayeux, yr hon a seiliasai ef ei hun fel prif ddinas Normandy.

[4] Yn y testyn yn unig yr ydym yn cael llin. 5 a 6.

[5] "Arwraidd Ior"—yn y llyfrau ereill.

[6] "Aer" — *Add. MS.*, 14,970; "aur"—*C. Ll. G.* ac *R.J.*; ac *aur*, mae'n debyg, sydd gywir. *Aur* fel ansoddair i "gwnsallt"=gwisg filwrol, a ddefnyddid i orchuddio yr arfogaeth, a'r hon oedd yn addurnedig gydag arwyddnodau o anrhydedd. (*Geir. Cymraeg*, D. Silvan Evans, s.v. "Cwnsallt.")

[7] Ganwyd Edward III. yn Windsor, Tachwedd 13, 1312. Ac oddi wrth le ei enedigaeth gelwid ef yn Edward o Windsor.

Ithaned othayoni
Ni vetha twrn vyth i ti[1]
Kael a wnaethost peistew
Kalon a llawfron y llew[2]
Baedd y gyfnewid ddidwyll
A phen a synwyr a ffwyll[3]
A ffriw lygliw olygloyw
A ffarod twrn a ffryd twyll[4]

[1] "I'th aned o'th ddaioni
na fetho twrn fyth i ti."
*Add. MS.*, 14,970.

"I'th annedd a'th ddaioni,
Na fetho twrn fyth i ti."
*C. Ll. G.*

"Y'th aned o'th ddaioni;
Na fetho turn fyth i ti!"
*R. J.*

Gwelir fod anghydwelediad yma yng nghylch dau air—"aned" neu "annedd," a "twrn" neu "turn." Am y blaenaf, tybiwn mai "aned" sydd gywir, a'i fod yn gysylltedig â'r llinell flaenorol—"Eryr gwinsor i'th aned." Am yr ail—"turn," sylwa Robert Jones ei fod ar y cyntaf yn tybied mai llygriad ydyw o *teyrn=sovereignty*; ond ei fod, ar sail awdurdod uwch, yn ei adael yn gyfystyr â "*good turn*." Gwyddom fod "twrn da" yn cael ei ddefnyddio yn gyffredin yn rhai parthau o Gymru, megys yn Sir Drefaldwyn, er enghraifft, am *gymmwynas*; ac y mae rhediad y testyn yn ein tueddu i dybied mai dyna a feddylir.

[2] "Cael a wnaethost pest peisdew
calon a llawfron y llew."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*

"Cael a wnaethost, post peisdew,
Galon a llon-fron y llew."
*C. Ll. G.*

Fe welir fod llin 11. yn y testyn yn rhy fyr o sill, trwy adael "post" allan. "Post peisdew," yn ol *R.J.*, ydyw *gwisg* o anrhydedd—pais ddur="*coat of mail.*"

[3] "Baedd y cyfnewid di-dwyll,
A phen, a synwyr, a phwyll."
*C. Ll. G.*

Y mae y llinellau hyn wedi eu gadael allan yn *Add. MS.*, 14,970, a chan *R.J.*

[4] Y mae yn amlwg ar yr olwg gyntaf fod y llinellau uchod yn wallus yn y testyn.

"A ffriw lygliw olygloyw
a phryd dawn, a phriod hoyw."
*Add. MS.*, 14.970, ac *R.J.*

"A ffriw lyglyw o lu gloyw,
A phriod dawn a phryd hoyw."
*C. Ll. G.*

Ymddengys i ni mai y blaenaf o'r ddau ddarlleniad yma ydyw y cywiraf; y mae yn rhoddi dysgrifiad ffafriol o berson Edward, ac yn cyfeirio yn ganmoliaethus at ei wraig—Philippa o Hainault.

A phob iaith kydymaith kadr
Engylaidd wyd yngwaladr[1]
Kevaist gôst kevaist gystec
Yn echrau does yn wychr dec[2]
Yn ostwng pobl[3] anystwyth
lloegr a ffraingk[4] lle gorreu ffrwyth
Kof a *chyviw* heddiw hynn kyvedliw
Bob ail brwydr gan bobl bryn[5] Brydyn

[1] "A phob iaith cydymaith cadr
Engylaidd wyd fy ngwaladr."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*

A cheir y nodyn a ganlyn ar ymyl y ddalen yn 14,970 :—

"Efe ai Dad a wyddynt yr iaith Gymraeg.—E E."

Yr "E.E." hwn, mae'n debyg, oedd Ieuan Brydydd Hir; ond, pwy bynag ydoedd, ymddengys i ni y byddai yn lled anhawdd profi ei haeriad. Y mae darlleniad *C.Ll.G.* o'r llinellau hyn yn dra gwahanol :—

"A phob iaith, cydymdaith cadr,
Yn nglaidd i ti fy ngwaladr."

Yn dilyn llin. 18, ceir a ganlyn yn *C.Ll.G.* :—

"Ac o wychdawd brawd brydoer,
Angel da yn ngwely dwr oer."

[2] "Cefaist gost, cefaist gysteg
yn nechreu d'oes yn wychr deg."—*Add. MS.*, 14,970.

*R.J.* yn gyffelyb, oddigerth ei fod yn rhoddi "Cefais" yn lle "Cefaist" yn nechreu llin. 19. Y mae *C.Ll G.* yn dilyn *Add. MS.*, 14,970, yn hollol yn llin 19; ond gwahaniaetha oddi wrth y lleill yn llin. 20 :—

"Yn nechreu d'oes, iawn ochr deg."

Cyfeiriad sydd yn y llinellau hyn at y "cysteg"=(*trouble*) a brofodd Edward yn ei ieuenctyd. Diorseddwyd a llofruddiwyd ei dad cyn iddo ef gyrhaedd ei bymtheng mlwydd oed; ddwy flynedd yn ddiweddarach rhoddwyd ei ewythr, Edmund, Iarll Caint, i farwolaeth; yr oedd ei fam—Isabella o Ffrainc, yn byw mewn godineb gyda Roger de Mortimer, Iarll March; ac nid ychydig o boen a gafodd i'w gorchfygu fel ag i gael yr awdurdod i'w law ei hun. Ni lwyddodd i ennill yr oruchafiaeth hon ar ei fam a'i chariad hyd agos i ddiwedd 1330, pryd y carcharwyd y naill yn e. thŷ ei hun yn Risings, ac y dienyddwyd y llall.

[3] "Pobl" yn *C.Ll.G.*; "pawb" yn *Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*

[4] "Ffraingc"—*Add. MS.*, 14,970, *C.Ll.G.*, ac *R.J.*

[5] "Cof cyfedliw heddiw hyn
bob ail brwydr gan bobl Brydyn."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*

"Caf cyfedd-lyw heddyw hyn,
Bob ail brwydr gan bobl Brydyn."—*C.Ll.G.*

"*Cof cyfedliw* heddiw hyn,
Canllaw brwydr, can holl Brydyn."—*Geir. Cymr.*, Silvan Evans.

"Cof cyfedliw"=*a memorial of reproach*—cof am ymddygiad gwarthus pobl Brydyn, sef yr Ysgotiaid, gyda'r rhai yr oedd Edward mewn rhyfel parhaus.

A wnaethost ni buost bwl
Ar ael Iork arrial er kwl[1]
Dyludor llu lle bur baych
Dal yr brenin *duluer* brynaych[2] dileu
Dolurio rrai daly eraill
llusgor llu oll llosgir llaill[3]
Kuro a blif ddylif ddelw
Kerric Kaer verwic vurwelw[4]
rroest ar gythlwng restr gwythlawn

[1] Nid ydyw llin. 25 a 26 yn y llyfrau ereill. Ai "arial Ercwl" a ddylai fod ar ddiwedd llin. 26?—arial = *courage* ; Ercwl = Ercwlf (*Hercules*).

[2] "Difa eu llu lle bu a baich
dal Brenin dileu Brynaich."
*Add. MS.*, 14,970.

"Difa eu llu lle bu'r baich
Dal brenin, dileu brynaich."
*C. Ll. G.*, ac *R. J.* yn lled debyg.

"Brynaich," neu Bryneich (= *Bernicia*)—oedd dalaeth hirgul ar hyd glanau'r môr dwyreiniol, yn cyrhaedd ar y cyntaf hyd at y Tweed; ond wedi hyny estynwyd hi tua'r Firth of Forth hyd y Lammermoors. Gelwir hi yn yr Anglo-Saxon Chronicle, Anno 547, yn "North-humbria." Cyssylltir hi yn fynych gan yr hen feirdd a haneswyr gyda Deifr (*Deira*), yr hon wlad, yn ol Carnhuanawc (*Hanes Cymru*, tudal. 277), oedd yr un a Northumberland yn awr ; ond dywed Turner (*Hist. Anglo-Sax.*, bk. iii., ch. 4, A.D. 247), mai y rhanbarth hwnw a derfynai ar yr Hymyr ydoedd. Y mae Gweirydd ap Rhys drachefn o'r farn (*Hanes y Brytaniaid a'r Cymry*, cyf. ., tudal. 262) fod Deifr yn yr hen amseroedd yn cynnwys parth gogleddol Sir Gaerefrog a Sir Lancaster, holl Westmoreland, Cumberland, a Durham, o'r Hymyr yn y dwyrain a'r Ribble yn y gorllewin, hyd y Tyne a'r mur deheuol.

[3] "Dolurio rhai dal eraill
llusgo'r Iairll oll llosgi'r lleill."
*Add. MS.*, 14,970.

Yn ysgriflyfrau y cyfnod hwn, ac yn ddiweddarach, defnyddir *rr* yn lle *rh*--rrai = rhai.

[4] "Curaist a blif ddylif ddelw
cerrig Caer Ferwig furwelw."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

"Curaist a blif ddylif ddelw,
Cerig Caer Ferwig, cur ferw."
*C. Ll. G.*

"Blif" (= *catapult*)—offeryn milwrol i daflu ceryg, &c. ; a "maen blif" y galwai Hywel Swrdwal gareg, neu fwled, a deflid o un o'r offerynau hyn. *Geir. Cymraeg*, D. Silvan Evans, s. v. "Blif"). Dyweyd y mae Iolo fod y ceryg yn cael eu tywallt fel dylif ar furiau Caer Ferwig ( = *Berwick-on-Tweed*) — "ddylif ddelw" = fel, neu yn debyg i ddylif.

Ar vor rudd aerva vawr iawn[1]
Gelyn vuost ir galais
O gael y dre golau drais[2]
Grassus dy hwyl ir gressi
Gras Duw tec gan grist i ti[3]
Llithiodd dy vyddin lin lem
Vrain byw ar vrenin boem[4]
Perigl vu i byrth Parris
Trwst y gad lle trewaist gis[5]

[1] "Rhoist ar gythlwng rhwystr gwythlawn
ar Fôr rudd aerfa fawr iawn."
*Add. MS.*, 14,970.

"Rhoist ar gythlwng, rhwystr gwythlawn,
Ar for Udd aerfa fawr iawn."
*C. Ll. G.* ac *R.J.*

Môr Udd = *the English Channel.* Yn *Text of the Bruts*, p. 41, ceir "o vor rud hyt ar vor I6erdon." Aerfa = brwydr.

[2] Gyferbyn a "Galais" yn *Add. MS.*, 14,970, ceir y sylw a ganlyn ar ymyl y ddalen:—"Galais & not Calais in all old MSS." Pan gymmerodd Edward Galais gorchymmynodd fod i chwech o'r prif fwrdeisiaid gael eu dwyn ger ei fron, heb ddim ond eu crysau am danynt, gyda chortynau am eu gyddfau, ac agoriadau y dref a'r castell yn eu dwylaw; a phan y daethant, archodd dori eu penau ymaith. Pa fodd bynag, ar daer ymbiliad y frenhines, rhoddwyd hwynt i fyny iddi hi, yr hon a'u gollyngodd yn rhydd gydag anrhegion. Arosodd y brenin a'r frenhines yn Galais hyd enedigaeth eu merch, yr hon a alwyd wedi hyny yn Margaret o Galais. (*Comprehensive Hist. Engl.*, vol. i., pp. 468-70).

[3] "Grasus dy hynt i Gresi
gras teg a rydd Grist i ti."
*Add. MS.*, 14,970.

"Grasus dy hynt yn Gressi
Gras teg a rydd Grist i ti."
*R.J.*

"Grasus dy hynt i'r Gresi,
Gras teg sydd gan Grist i ti."
*C. Ll. G.*

Yn *Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*, y mae llin. 41 a 42 yn blaenori y rhai hyn. Ac yn ol trefn amseryddol dylasai y crybwylliad am frwydr Cressy, yr hon a ymladdwyd Awst 26, 1346, gael ei osod o flaen ymostyngiad Calais yn nechreu Awst, 1347.

[4] "Llithiodd dy fyddin lin lem
frain byw ar frenin Boëm."
*Add. MS.*, 14,970,

lle y gosodir "Bohemia" ar ymyl y ddalen i egluro *Boëm.* Cyfieithir y llinellau hyn gan *R.J.*, yr hwn a ganmola y farddoniaeth a geir ynddynt, fel y canlyn:—"Thine army, a fierce brood, enticed the ravens on the King of Bohemia."

[5] "Perygl fu i byrth Paris
trwst y gad lle trewaist gis."
*Add. MS.*, 14,970.

Gwersyllodd y milwyr Seisonig o flaen Paris ar y dydd olaf o Fawrth, 1360. Nid oeddynt hwy yn ddigon

Ehedy mor hy ydwyd
Hyd yn nef e hedyn wyd[1]
Weithian nith gyvoethir
Ni thyr dyn *derfyr* dir[2] *derfyn dy*
Gwnna dithau deddvau dy daid
Doethineb da ithenaid[3]
Kymod a duw nid kamoes
Kymer yn dy gryvder groes[4]
O dai i rroec mae darrogan
Darrw glew y keffy dir glan[5]

cryf i'w chymmeryd, ac yr oedd y Ffrancod yn rhy gall i fyned allan i ymladd; felly ymadawodd Edward a'i fyddin i gyfeiriad Brittany. (*Comprehensive Hist. Engl.*, vol. i., p. 475.)

*Cis*=ergyd. Cyfieithir y ban hwn gan y Dr. Pughe (*Geiriadur*, s.v. "Cis") fel hyn :—"There was danger to the gates of Paris from the tumult of the battle where thou didst strike a blow."

Gwel Cywydd Rhif I., llin. 30.

[1] "Ehedaist mor hy ydwyd
hyd y nef ehedyn wyd."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*

"O hedaist, mor hy ydwyt,
Hyd y nef, ehedyn wyt."
*C.Ll.G.*

[2] "Weithian nith ddigywoethir
ni thyr dyn derfyn dy dir."
*Add. MS.*, 14,970.

"Weithian ni'th ddynoethir
Ni thyn dŷn derfyn dy dir."
*C.Ll.G.*

Y mae yn amlwg fod y testyn yn anghywir wrth roddi "nith gyvoethir," gan mai y gwrthwyneb a fwriedid gan y bardd.

[3] Y mae y llinellau 47 a 48 yn diweddu y cywydd yn *C.Ll.G.*; ac yn y gwaith hwnw yn gystal ag *Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*, ceir "doniau dy daid" yn lle "deddfau dy daid." Cynghor a roddir yma i'r brenin i ddilyn yr un cwrs a ddilynwyd gan Edward I.

[4] "Cymmod a Duw nid camoes
Cymmer yn dy gryfder groes."—*Add. MS.*, 14,970.

Sylwa *R.J.*, yn lled briodol, nad ydym i dybied fod Iolo yma yn bwriadu i Edward gymmeryd i fyny y Groes yn yr ystyr yr oedd Crist wedi defnyddio y geiriau, ond yn hytrach yn ei annog i ymuno yn y Croesgadau; gan ddysgrifio y sefyllfa yn yr hon y byddai iddo gael Groeg, Jerusalem, Bethlehem, ac yn y blaen. Ac ychwanega fod y gwrhydri a gyflawnodd y brenin yn Ysgotland a Ffrainc yn sail i'r Bardd ddysgwyl pethau mawr oddi wrth ei ymgyrch.

[5] "Od ai i Roeg mae darogan
Darw glew y ceffi Dir glân."
*Add. MS.*, 14,970.

O herwydd fod y brenin John o Ffrainc yn analluog i gyflawni ammodau ei ryddhad, y rhai a gyttunwyd arnynt rhwng brenin Lloegr ac yntau yn 1360, daeth drosodd i Lundain yn y flwyddyn 1363, i roddi ei hunan i fyny i

A goresgyn or grwysciaith
Caer Selem hyd vethlem vaith[1]
[2]Dwc yn angred dogyn angraifft
Dyrro wyr dros dy yr Aifft
Kerdda dalm dros yr Almaenn
Kalon blaidd kalynn y blaenn
Kyrch hyd ymin Kors dinobl Constinobl
Kar bron kaer babilon kur bobl
Tarrw gwych kethyr tu ar gwyr
Tor vaennwaith tai r rruveinwyr[3]
Kyn dy varrw y kai arwain
Y tair korron kowair kain[4]

Edward. Gobeithiai cyn cychwyn y gallasai ddarbwyllo Edward i ysgafnhau yr ammodau, a bwriadai ymddyddan ag ef yng nghylch ffurfio Croesgad newydd. Pa fodd bynag, rhoddodd brenin Lloegr dderbyniad croesawgar iddo; ond ni wyddom a fu rhyw ymdrafodaeth ddifrifol parthed i'r Groesgad ai peidio. (Gwel *Comprehensive Hist. Eng.*, vol. i., p. 475; *Annals of England*, vol. i., p. 393.) Credwn mai rhyw sibrydiad a ledaenid ar yr ymweliad hwn o eiddo Brenin Ffrainc oedd sail Iolo Goch dros ddyweyd fod "darogan" yn llin. 51.

[1] Yn *Add. MS.*, 14,970, *C. Ll. G.*, ac *R. J.*, y mae dwy linell arall yn blaenori y rhai hyn, fel y canlyn:—

"A'r Iuddewdref arw ddidrist
a theimlo y grog a theml Grist
A goresgyn ar grwysgaith
Gaerusalem Fethlem faith."

*Add. MS.*, 14,970.

Ond y mae y darlleniad yn *C. Ll. G.* yn dra gwahanol. Tybia *R. J.* mai wrth "grwys-gaith" y golygid y *groes gaeth*, neu Groes Crist yr hon oedd ar y pryd ym meddiant y Saraceniaid, fel y tybid.

[2] Nid ydyw llin. 55-58 yn *Add. MS.*, 14,970, *C. Ll. G.*, na chan *R. J.*

[3] Y mae y darlleniadau yma yn amrywio cryn lawer:—

"Tarw gwych ceffi'r tir ar gwŷr
tor fanwaith tai'r Rhufeinwyr
Cyrch hyd ym min Constinobl
cer bron Caer Bablon cur bobl."—*Add. MS.*, 14,970.

"Tarw gwych, ceffi'r tir a'r gwyr,
Tor fael-waith, tai rhyfelwyr,
Cyrch hyd fin Constantinobl,
Ger bron Caer Bab'lon, cur bobl."—*C. Ll. G.*

Nid ydyw y ffurf "Kors dinobl," o angenrheidrwydd, yn profi gwall yn y testyn, o blegid ceir "amheraỽdyr corstinobyl" ym "Mrut y Saeson" (*Text of the Bruts*, p. 396)

[4] "Cyn dy farw y cai arwain
y tair coron cywair cain."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

"Cyn dy farw y cei arwain,
y tair coron, cywrain cain."
*C. Ll. G.*

A ddwgant ar hynt rrwydd *ddugon gynt*
Ar deirgwlad er duw arglwydd[1]
Tiriownrwydd y tair anrec
Voth gleddir yn y tir tec[2] a'th gledd hil teyrnedd teg
rrwng y tri teilwng telaid
Brenhinedd anrrydedd raid[3]
I wenwlad nef ef a vedd
Ynno iddi ynny diwedd[4]

Iolo Goch ai kant.

1 "A ddygwyd gynt ar hynt rhwydd
ar deirgwlad er Duw Arglwydd."—*Add. MS.*, 14,970, *R. J.*, a *C.Ll.G.*

2 "Tirionrwydd ar tir anreg
a'th wedd Frenin Teyrnedd têg."—*Add. MS.*, 14,970.
"Tirion-rhwydd a'r tair anrheg
A'th wedd, frenin teyrnedd teg."—*R.J.*
"Tirionwydd o'r tair anrheg,
A'th gledd, hil teyrnedd teg." *C.Ll.G.*

3 "Teilwng rhwng y tair talaith
frenin Cwlen fawrwen faith." *Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*
"Rhwng y tair teilwng talaith,
Frenin Cwlen fawr-nen faith." *C.Ll.G.*

Cwlen = Cologne.

4 "I wenwlad Nêf ef a fedd
Y doi yno'n y diwedd." *Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*
"Yno i doi yn y diwedd." *Add. MS.*, 14,976.

# IV.

## CYWYDD MOLIANT ROSIER MORTIMER IARLL Y MARS.

---

*(O Lyvr Huw Lleyn—Add. MS., 14,967, fol. 15).*

Nid oes benawd i'r cywydd hwn yn yr ysgrifiyfr uchod; ond cymmerasom y penawd sydd uwch ei ben yn *Add. MS.*, 14,970. Y mae i'w gael hefyd yn *Add. MSS.*, 14,894, 14,971; yn *Y Piser Hir*, p. 322, ac yn argraffedig yn *The Works of Iolo Goch* (gan R. Jones), p. 45.

Yn *Hist. Powys Fadog*, vol. iv., p. 3, cawn gryn lawer o fanylion am hynafiaid Mortimer, a gymmerwyd o *Dugdale's and Banks' Extinct Baronies*, o'r rhai, gyda *Bright's English History*, ac ychydig o fân gofnodion ereill, y ceisiasom dynu allan yr achres a ganlyn:—

Roger de Mortimer, sylfaenydd Mynachlog St. Victoire, yn Normandy.

Ralph de Mortimer, a ddaeth i Loegr gyda William y Gorchfygwr, i'r hwn y rhoddwyd etifeddiaethau Edrich, Iarll Amwythig ac Arglwydd Wigmore. Efe a adgyweiriodd Gastell Dyrecke ym Maelienydd.

Hugh de Mortimer. Bu farw Chwefror 26, 1181.

Roger de Mortimer, Arglwydd Cleobury Mortimer a Wigmore. Bu farw Gorphenaf 8, 1215.

Hugh de Mortimer, a fu farw yn ddiblant Tachwedd 4, 1227.

Ralph de Mortimer = Gwladys Ddu, gweddw Reginald de Braose, Arglwydd Brycheiniog, a merch Llywelyn, tywysog Cymru, trwy yr hon y daeth etifeddiaethau yng Ngheri a Chedewen i deulu y Mortimers.

(Ralph de Mortimer) yr hwn a fu yn ymladd yn erbyn y tywysog Llywelyn ab Iorwerth, a'r hwn a adeiladodd Gestyll Cefn y Llys a Cnwclas, ym Maelienydd. Bu farw Awst 8, 1246.

*a*


a
Roger, Arglwydd Wigmore. Bu farw yn 1282.
Maude, merch a chyd-etifeddes William de Braose, Arglwydd Brycheiniog.
Peter.
John, yr hwn a fu yn fynach Llwyd yn Amwythig.
Hugh.
Syr Ralph, yr hwn a fu farw o flaen ei dad.
Edmund, Arglwydd Mortimer o Wigmore.
Roger, Arglwydd Mortimer o Gastell y Waun.
Syr William.
Syr Geoffroi.
Roger Mortimer, Arglwydd Wigmore, Arglwydd Raglaw yr Iwerddon, a ffafr-ddyn y Frenhines Isabella. Efe a wnaed yn Iarll (cyntaf) March yn 1327; ac a ddienyddwyd yn 1330, dan y cyhuddiad o lofruddio Edward II., pryd y fforffedwyd ei etifeddiaethau.
Edmund, Arglwydd Mortimer. Bu farw yn 1331.
Roger, yr hwn a aeth gyda Edward III. i Ffrainc, lle y gwnaed ef yn Farchog. Rhoddwyd iddo yr etifeddiaethau a gymmerwyd oddi ar ei daid yn 1355; a bu farw yn Burgundy, lle yr oedd yn arwain y fyddin Seisonig, yn 1360. Efe oedd ail Iarll March.
Edmund, trydydd Iarll March. Bu yn ymdrafodi am heddwch â Ffrainc pan yn 18 mlwydd oed. Gwnaed ef yn Arglwydd Raglaw yr Iwerddon yn 1380. A bu farw yn Cork, yn 1381, pan yn 29 mlwydd oed.
Philippa, merch Lionel, Duc Clarence, trydydd mab Edward III. Mam Philippa oedd Elizabeth, merch William de Burgh, Arglwydd Ulster.
Roger, pedwerydd Iarll March, a gwrthddrych y cywydd hwn. Penodwyd ef yn Arglwydd Raglaw yr Iwerddon yn 1385, a chafodd ei ladd yno yn 1398.
Syr Edmund Mortimer, yr hwn a wnaed yn garcharor gan Owain Glyndwr yn 1402.
Edmund, Iarll March. Bu farw yn 1424.
Roger.
Anne
Richard o Gaergrawnt, mab i Edmund, Duc o Gaerefrog, ac ŵyr i Edward III.
Richard, Duc o Gaerefrog,
Cecily Neville.
Edward, Iarll March, wedi hyny Edward IV.
George, Duc Clarence.
Richard III.

Ganwyd Roger Mortimer, pedwerydd Arglwydd March, yn Brynbuga, Sir Fynwy, Ebrill 11, 1374 ; am y rheswm hwn, yn ddiammeu, y gelwir ef gan Iolo Goch (llin. 10) yn "flaguryn Buga." Efe a fedyddiwyd gan William, Esgob Henffordd, pan y safai Esgob Llandaf ac Abad Caerloyw yn dadau bedydd iddo, a phriores Brynbuga yn fam fedydd. Yn 1385 penodwyd ef yn Arglwydd Raglaw yr Iwerddon; ac yn 1386, efe a gyhoeddwyd gan y Senedd yn etifedd y goron, yn rhinwedd ei haniad o Lionel, Duc Clarence. Wedi gwneuthur gwrïogaeth, a derbyn meddiant cyfreithiol o'i holl diroedd, yn y flwyddyn 1396, efe a ganlynodd y brenin, Richard II., i'r Iwerddon, gyda gosgordd o ddau lumanwr, wyth o farchogion, deunaw a phedwar ugain o ysweiniaid, dau gant o saethyddion ar feirch, a phedwar cant o wŷr traed. Ac y mae yn debyg mai oddeutu yr amser hwn y cyfansoddwyd y cywydd a ganlyn. Yr oedd yr Iwerddon mewn sefyllfa led derfysglyd ar y pryd; a lladdwyd ef gan yr O'Briens, yn Carlow, tra yn ceisio darostwng haid o wrthryfelwyr, yn 1398. Bu ei farwolaeth yn achlysur i Richard II. fyned i'r Iwerddon yn 1399; ac ar ei ddychweliad oddi yno y cymmerwyd y brenin yn garcharor gan Harri Bolingbroke.

Y mae y cywydd canlynol yn llawn o iaith ganmoliaethol; a gosodir Mortimer allan fel rhyfelwr yn y lliwiau cryfaf—rhy gryf o lawer, gallem dybied, i lanc dwy ar hugain oed. Nid oedd Iolo un amser gymmaint wrth ei fodd a phan yn moli rhyfelwyr ac yn annog i ryfel, er ei fod yn perthyn i urdd a alwant eu hunain yn "Feirdd Heddwch."

Syr Rossier asur aessawr[1]
Syr Rosier Mortmer mawr[2]

[1] "Syr Rosier asur aesawr." *Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.* Rhoddir "Risiart" mewn camgymmeriad am "Rossier" yn *Add. MS.*, 14 971.

[2] "Fab Rosier Mortimer mawr." —*Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.* Sylwa *R.J.* mai nid mab, ond ŵyr, ydoedd i Rosier, neu Roger Mortimer, ac fe welir, yn yr achau, ei fod yn gywir yn hyn. Ond dywed fod "fab" yma i'w ddeall fel ŵyr. Nid oes angenrheidrwydd am yr eglurhad hwn os derbynir

rrosier ieuangk plangk plymlwyd
Sarff aer o hil syr raff wyd[1]
Ros arglwydd rosier eurglaer
Rysswr kwngkwerwr kan kaer[2]
Kolon yngylion englont
Ai ffenn kynheiliad ai ffont[3]
Perbren dawn pair obry da
Por gwyn blaguryn buga[4]
Edlingwalch o deilyngdwaed
Eryr trin oreurraid traed[5]

darlleniad y testyn ; a thybiwn mai yr un " Rosier "—sef gwrthddrych y cywydd—y cyfeirir ato yn y tair llinell flaenaf. Pa fodd bynag, y mae y llinell, yn ol y testyn, yn rhy fer o sill o herwydd fod "Mortmer" yn cael ei roddi yn lle "Mortimer."

[1] " Rosier ieuanc planc plymlwyd,
Sarph aer o hil Syr Raff wyd."
*Add. MS.*, 14,970.

Y mae " planc " yn enw a roddir gan y beirdd i ddynodi hoenusrwydd a nerth ; "planc "=*young steed.* " Plymlwyd," am "Plymnwyd," yn ol *R.J.* a olyga *ymgyrch*, yr hwn sydd yn cyd-darddu, os nad yn hanu o'r Groeg *polemos* a'r Lladin *bellum.* Sarff (o ran ei gyfrwysder), ac aer o hiliogaeth Syr Raff (=Ralph).

[2] " Rhoes Arglwydd y Rhos eurglaer
Rhyswr cwncweriwr can caer."—*Add. MS.*, 14,970.
" Ros arglwydd, Rosier eurglaer,
Rhyswr, cwncwerwr can caer."—*R.J.*

Nid ydym yn deall y llinell flaenaf, ac nis gallwn ddyfalu pa ddarlleniad ydyw y goreu. Wrth " Ryswr " y deallir *pen*campwr ; a meddyliwn mai tipyn o ormodiaith yn y bardd oedd son am y "can' caer." Ceir ymadrodd cyffelyb yn Cywydd Rhif III., llin. 6.

[3] " Colon Engylion Englont
Ai phen cynheiliad ai phont."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*

Colon=colofn : tybia *R.J.* oddi wrth "Engylion Englont" fod y bardd yn hysbys o'r hen ddywediad hwnw—" Non Angli, sed angeli."

[4] " Per bren dawn pair obry'n da
Por gwyn Bagluryn Buga."
*Add. MS.*, 14,970.

Fel hyn y mae *R.J.* yn dyfalu yma :—"*Buga.* It is impossible now to make out whom the poet meant by *Buga.* It could scarcely have been 'Boadicea,' as Mortimer—his very name implies it—seems to have been of Norman extraction." Ond pe buasai *R.J.* yn troi ei olwg i gyfeiriad Brynbuga, a elwir yn gyffredin Usk, yn Sir Fynwy, buasai yr anhawsder yn darfod. Yr ydym eisoes wedi crybwyll mai yno y ganwyd Syr Rhosier ; ac felly gwelir y priodoldeb o'i alw yn " flaguryn Buga."

[5] " Edlingwalch o deilyngwaed
Eryr trin oreuraid traed."
*Add. MS.*, 14,970.

Arrwrraidd dy luniaidd law
Wyr burffrwyth Ior Aberffraw[1]
Draic yn ysoedd yr eigiawn
Dragwn aer darrogan iawn[2]
Y ddwyf madws yt ddyvod
Cymry lle ryglydd y glod[3]
Mab vuost doethost i dir
Gwr bellach a grybwyllir[4]
Gwr grym myn gwyar y groc[5]
Balk[6] arnad bual[7] kornioc
Nid oes ond eissiau arver
O arvau prydverth nerth ner[8]
Gwisgo arvau o gwesgir
Ai kynnydd val kyrn hydd hir
A thorri myn di mewn dur
Baladr sokedgadr Kadarn[9]

[1] Aberffraw oedd preswylfod hen dywysogion Gwynedd. Ac yn ol fel y dywed Bridgeman (gwel ein sylwadau rhagarweiniol i Cywydd Rhif VIII.) yr oedd Mortimer yn hanu o hen dywysogion Gwynedd, trwy i Ralph de Mortimer briodi Gwladys, merch Llywelyn ap Iorwerth.

[2] "Draig ynysoedd yr eigiawn
Dragwn aer darogan iawn."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*

Tebyg fod llin. 12, 15, a 16 yn cyfeirio at arwyddluniau oedd ar ei faner.

[3] "Ydd wyf, madws yt ddyfod
I Gymry rhyglyddy glod."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*

Mynegiad syml sydd yma mai da i Gymru oedd fod y fath fab wedi ei eni ynddi, ac y byddai ei glod yn uchel ynddi.

[4] "Mab fuost, daethost i dir,
Gŵr bellach a grybwyllir."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*

Cyfeirir yma at ddyfodiad Syr Rosier i'w oed, yr hyn a gymmerodd le, gan iddo gael ei eni yn 1374, yn y flwyddyn 1395.

[5] "Gwyar y grog."—*Add. MS.*, 14,970: h.y., gwaed y groes.

[6] "Balc," yma yn gyfystyr ag *enwogrwydd*.

[7] "Bual"=ych gwyllt (= *buffalo*).

[8] "Nid arf ond eisiau arfer
O arfau prydferth nerth Ner."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*

Yn ol y darlleniad hwn, fel y sylwa *R.J.*, y mae yr awdwr yn chwareu ar y gair "arf" ac "arfer," yr hyn ni cheir ond yn lled anaml yn llenyddiaeth yr oes hono. Ond nid ydyw hyn i'w weled yn narlleniad y testyn, yr hwn a ymddengys yn fwy dealladwy a naturiol

[9] Y mae yn amlwg fod llin. 28 yn wallus yn y testyn:—

"Gwisgo arfau o gwesgir
A'u cynnydd fal corn hydd hir
A thorri myn di mewn/mwyn dur
a thori *in al.*
Paladr soccedgadr cadgur."
*Add. MS.*, 14,970.

Arwain heyrn yn chwyrn chwerw
A marchogaeth meirch hagerw[1]
Ymwan[2] a Ieirll diamwynt[3]
Y mwrdd ymgyvwrdd ag wynt[4]
Ath yswain athlain oth vlaen
Pennaeth ydwyd pwy nith adwaen[5]
Athengsmon hoyw athloyw laif
Ar gwrser a ragorsaif[6]
Athelm lwys athalm o lu
Ithol ar verch athevlu[7]
Acherdd othvlaen raen rwyf
A chrydr ar belydr balwyf[8]

[1] "Arwain heyrn yn chwyrn chwerw
A marchogaeth meirch agerw."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*

"Arwain heyrn"=dwyn arfau; a "meirch agerw" = meirch a'u ffroenau yn ewynu.

[2] "Ymwan"=brwydro, neu ymryson.

[3] "Diamwynt"=cryfion; hyny yw, yr hyn sydd wrthgyferbyniol i "ammhwynt"=*sickness, illness, indisposition*, &c. Nid âg Ieirll gweiniaid ac afiach yr ymrysonai: "diammhwynt" yn ol darlleniad *R.J.*

[4] "Ymwrdd, ymgyfwrdd ag hwynt."—*R.J.*

[5] "A'th yswain a'th lain o'th flaen
Pennaeth wyd pwy ni'th adwaen?"
*Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*

Galleisid tybied oddi wrth yr hyn a ddywed y bardd yma fod Mortimer wedi ennill safle uchel eisoes fel milwr, ond y mae yn debyg mai fel gweniaith y dylem ystyried llawer o'r hyn a ddywed.

[6] "A'th hensmen hoyw a'th loyw laif
Ar gwrser a ragorsaif."
*Add. MS.*, 14,970.

"A'th hengsmen hoyw a'th loyw laif
Ar gwrser a ragor-saif."—*R.J.*

Y mae y bardd yn fynych, fel ereill o'i gydoeswyr, yn defnyddio geiriau anghyfiaith—"hengsmen" (*henchmen*)=gweinyddion (*pages*); "gwrser"=*courser*.

[7] "A'th helm lwys a thalm o lu,
I'th ol ar feirch a theulu."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*

Yr ydym yn cytuno âg *R.J.* pan y dywed fod "teulu" yma yn golygu *gosgordd*. Y mae yn amlwg fod y testyn yn anghywir wrth roddi "verch" yn lle "veirch."

[8] "A chrydr ar belydr balwyf
A cherdd o'th flaen o raen rwyf."—*Add. MS.*, 14,970.

"A cherdd o'th flaen, o raen rwyf,
A chrydr a'r pelydr palwyf."
*R.J.*

Y mae "rwyf," meddir, yn gyfystyr âg *arweinydd*; "crydr" âg *arfau*; a "palwyf" (o palalwyf) =*the linden tree*, ond nid ydym yn deall amcan y gair hwn yn y llinell.

Mawr ystad Iarll y mars doeth
Mawr ywr kyvenw mwy ywr kywoeth[1]
Mawr o vraint a wyd y mair vry
Mawr dy ditl mwy roed yt y[2]
Iarll Mars gorau Iarll y myd
Iarll llwdlo Ior llaw waedlyd[3]
Iarll Kaerlleon dragon drud
Iarll o Wlster Ior lwystrud[4]
Henw arall o hyn orrau
O ffraens Duc o Klarens klau[5]
Hennw da gwr hen ai dy eingl
Wyr Syr lewnel angel eingl[6]

[1] "Mawr y cyfenw mwy'r cyfoeth."
*Add. MS.*, 14,970.

"Mawr y cyfenw, mwy yw'r cyfoeth."—*R.J.*

Wrth "gyfenw" yma y golygir y teitl o *Iarll y Mars.*

[2] "Mawr o fraint wyt ym Mair fry
Mawr dy deitl mwy roed ytty.'—*Add. MS.*, 14,970.

"Mawr o fraint wyt, myn Mair fry,
Mawr dy deitl; mwy roed ytty."—*R.J.*

[3] Yr oedd llawer o'r pendefigion Cymreig yn gosod "llaw waedlyd," fel arwydd o ddewrder, ar eu harfau.

[4] "Iarll Caerlleon dragon drud
Iyrl o Wlster Ior lwys-drud."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*

Yr oedd Edmund Mortimer, yr hwn a briododd Philippa merch Lionel y Duc o Clarence, a thaid gwrthddrych y cywydd hwn, yn arwedd y teitlau o Iarll March ac Ulster, Arglwydd Wigmore, Clare, a Chonnaught, a Dystain Lloegr. A chan mai hwn oedd ei gynnrychiolydd, priodol oedd rhoddi y teitlau hyn iddo. 'Perthynai y teitl o Iarll Caerlleon i'r teulu brenhinol er amser Harri III.; ond gan i Rhosier Mortimer gael ei gyhoeddi yn etifedd y Goron yn 1386, y mae y bardd yn ychwanegu y teitl hwn at y lleill.

[5] "Henw arall o hyn orau
O Ffrens Dug o Clarens clau."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*

[6] "Henw da gwr hen ai dieingl
Wyr Syr Liwnel angel Eingl."
*Add. MS.*, 14,970.

Yr oedd Lionel, Duc o Clarence, yn drydydd mab i Edward III. Ganwyd ef yn Antwerp, Tachwedd 29, 1338. Priododd yn gyntaf, Elizabeth, etifeddes William de Burghe, Iarll Ulster, o'r hon y cafodd un ferch, Philippa, gwraig Edmund Mortimer. Ei ail wraig oedd Violante, merch Galeasius, Duc Milan, o'r hon ni chafodd blant. Bu farw Lionel yn yr Eidal yn 1368.

Darogan yw maen draic ni
A luniar gwaith y leni[1]
O benn y llew gledd i gledd
Korronir kor i Wynnedd[2]
Pam maer llew kravangdew kryf
Mwy noc arth mynac wrthyf[3]
Yr aur gwaisc ar dy vraisc vraych
Wyr Brenin lloegr ar bryneych[4]
Penn arglwydd wyt paun eurglew
Ac eginin a llin llew[5]
Penna vydd i gwedi gwart
Ail rryswr yn ol rrisart[6] Richd 2d

[1] "Darogan yw mai draig in ni
A lunia'r gwaith y leni."
*Add. MS.*, 14,970.
"Dragon yw a draig i ni
A lunia'r gwaith yleni."
*R.J.*

Ymddengys i ni mai y darlleniad olaf ydyw y goreu o lawer; a gellir ychwanegu bod y testyn yn ymddangos yn llygredig yn y ddwy linell ddilynol, gyda'r eithriad fod "*i* Wynedd" yn well nag "*o* Wynedd."

[2] "O ben y llew glew ei gledd
Coronir carw o Wynedd."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*

Yr oedd dau lew ar arfbais Syr Rhosier.

[3] "Pam mae'r llew crafangdew cryf
Mwy nag arth, maneg wrthyf?"
*Add. MS.*, 14 970.
"Pam mae'r llew crafang-dew, cryf,
Mwy nog arth? myneg wrthyf."—*R.J.*

[4] "Yn aur gwaisg ar dy fraisg fraich
Wyr Brenin Lloegr ar Brynaich."
*Add. MS.*, 14,970.
"Yn awr gwaisg," &c.—*R. J.*

[5] "Pen Arglwydd wyt paun erglew
O eginin a llin llew."
*Add. MS.*, 14,970.

[6] 'Pennaf fyddi gwedi gwart
Ail Rhyswr ar ôl Rhisiart."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*

Tybia *R.J.* mai ail rhyswr (= pencampwr) i Richard I. a feddyliai y bardd; ond credwn mai mewn canmoliaeth i Richard II.—yr hwn oedd yn teyrnasu ar y pryd—y defnyddir yr ymadrodd. Y mae yn wir mai brenin egwan ydoedd Richard, yr hwn oedd ryw wyth mlynedd yn hŷn na Syr Rhosier; ac ni wyddom am ddim a wnaeth a roddai hawl iddo gael ei gydnabod fel brenin gwrol o gwbl. Ond, eto, ni theimlai y bardd y gallasai, yn unol a'i deyrngarwch, osod Mortimer yn uwch nag *ail* iddo. Hefyd, tybiai yr hwn a ysgrifenodd y nodyn ymylddalenol, mewn llaw ddiweddarach, mai at Richard II. y cyfeiriai y bardd.

Gwnaed Ieirll lloegr gnawd erllugrwydd
A vynon o son yw swydd[1]
Teilwng oedd yt gael talaith
Aberffraw vymandaw maith[2]
Amserol mi sy herod[3]
Yt ddeffroi[4] i gloi[5] dy glod
Parra ystr para ostec
Yr hoed yr arvau tau tec[6]
Pedwar lliw pedair Iarlleth
Sy dav pwy piau pob peth[7]
Asur sydd yn dy aessawr
Iarll mars digar eurlliw mawr[8]
Sinobr ac arian glan glwys
Ym yw r ysgwydd amrosgoyw[9]

1 "Gwnaed Ieirll Lloegr gnwd erllogrwydd
A fynnon o son i'w swydd."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*

2 "Teilwng oedd yt gael talaith
Aberffraw ymadaw maith."
*Add. MS.*, 14,970.

Gyda "ymandaw" ar ymyl y ddalen; ac "ymandaw" ydyw y darlleniad gan *R.J.*, yr hwn a sylwa fod yn anhawdd tynu allan unrhyw syniad o'r naill na'r llall. "Ymandaw," yn ol y Dr. W. O. Pughe, ydyw *rhoddi ei hun mewn ystum i wrandaw.*

3 "Herod" = herodyr = *a herald.*

4 Ynn deffroi." — *Add. MS.*, 14,970; "yt ddeffroi."—*R. J.*

5 "Gloi" yn yr ystyr o gwblhau. Cloi=*to lock*; *to close, or conclude.*

6 "Pa ryw ystyr par osteg
Y rhoed i'r arfau tau teg."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*

Gofyna y bardd pa beth a arwyddai y lliwiau a'r lluniau oedd ar ei arfbais; ac ateba yn y llinellau dilynol.

7 "Pedwarlliw pedwar Iarlleth
Sy dani pwy piau pob peth?"
*Add. MS.*, 14,970.

Y pedwar lliw—sef asur (*azure*), eurlliw (*or*), sinobl (*gules*), ac arian (*argent*), a gynnrychiolent, medd *R. J.*, y pedair Iarllaeth, sef y Mars, Llwydlo, Caerlleon, ac Wlster. Ond fe gawn weled cyn y diwedd fod Iolo yn rhoddi eglurhad gwahanol arnynt.

8 "Assur sydd yn dy aesawr
Iarll Mars gyda'r eurlliw mawr."—*Add. MS.*, 14,970.

9 "Sinobl ag arian glan gloyw
Ym yw'r ysgwyd amrosgoyw."
*Add. MS.*, 14,970.

"Sinobl ac arian glân gloyw
Im' yw'r ysgwyd amrosgoyw."—*R.J.*

Rhydd *R.J.* yr eglurhad a ganlyn:— "*Ysgwyd amrosgoyw*, 'the fluttering in various direc-

Pedair kenedl di edliw
A ddeiryd yt gwyndyd gwiw[1]
Ffrangkod Saeson wychion weilch
Gwyddyl mam kynvyl keinveilch[2]
Gwaed Ffraingk gwiw a da i ffrwyth
Ydiw eurlliw diweirllwyth[3]
Urddedic arwydd ydiw[4]
Brenin yngwlad y gwin[5] gwiw
A chwbl or gien[6] penn pant
Vyddy mwy vydd dy veddiant[7]
Tau hyd ymylau maeloygr[8]

tions' of the silver and vermilion banner. The bard seems to have been well versed in heraldic devices." Sylwer ar ddiwedd llin. 77-78 yn y testyn—"glwys" ac "amrosgoyw."

[1] "Pedair cenedl diedliw
A ddeiryd yt, Gwyndyd gwiw."—*Add. MS.*, 14,970.

Sylwa *R.J.* fod "Gwyndyd" yn gyffredin yn golygu *preswylwyr* Gwynedd, fel y mae Gwyndud yn myned am y wlad—*Gwynedd*; ond tybia fod "Gwyndyd" yma yn golygu *gwlad deg*. Prin y gallwn gytuno ag ef; o blegid tybiwn fod yn rhaid deall "Gwyndyd" yn yr ystyr arferol er mwyn gwneyd pedair cenedl, trwy gyfrif y Gwyneddigion gyda'r Ffrancod, y Seison, a'r Gwyddelod.

[2] "Ffrancod, Saeson, wychion weilch
Gwyddyl mam Cynfyl ceinfeilch."—*Add. MS.*, 14,970.

Ond gwell na'r un ydyw darlleniad *R.J.* yr hwn a rydd "meib cynfyl" yn lle "mam cynfyl." A chymmeryd "cynfyl" i olygu *cynhen*, neu *ymryson*, ymddengys fod y Gwyddelod yn dwyn yr un nodweddion cenedlaethol y pryd hwnw ag ydynt yn awr.

[3] "Gwaed Ffrainc gwiw a da ei ffrwyth
Ydyw eurlliw diweirllwyth."
*Add. MS.*, 14,970.

[4] "Urddedig arwydd ydyw."
*Add. MS.*, 14,970.

[5] Gwlad y gwin, sef Ffrainc.

[6] "Gien" = Guienne, talaeth yn y rhan dde-orllewinol o Ffrainc.

[7] "Fyddi mwy fydd dy feddiant."
*Add. MS.*, 14,970.
"Fyddi mwy fydd dy foddiant."—*R.J.*

[8] "Maeloegr."—*Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.* Sylwa *R.J.* ar y gair hwn fel hyn:—"*Maeloegr*. It is now impossible to say what region is meant by this name. In form it approaches *Maelor*. Can it signify —from *Mael* and *Lloegr*—the parts of England more especially devoted to merchandise?" A gallwn ychwanegu fod ffurf gyffelyb yn yr enw "*Mael*ienydd," lle yr oedd etifeddiaeth gan y Mortimers.

A bid tau lle gorrau n lloygr[1]
Yn achen y ddraic wen wiw
Rownllaes y mae r arrianlliw[2]
Bw i loegr ai mab lygad
Anwyl iawn wyt yn y wlad[3]
Ion i Wigmor enwowgmawr
A Ivrl y mars arlwy mawr[4]
Gwadrudd kerdd gwaed y ddraic koch
Yw r sinobr y sy ynnoch[5]
Am hyny bydd hy baedd hoyw
Arro etto aur ot wayw[6]

[1] "A bid tau'r lle gorau'n Lloegr."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*

[2] "Yn achen y ddraig wen wiw
Rawnllaes y mae'r arian lliw."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*

[3] "Bw i Loegr, a mab lygad,
Anwyl iawn wyt yn y wlad."
*Add. MS.*, 14,970.

"Bw i Loegr a mablygad,
Anwyl iawn wyd yn y wlad."
*R.J.*

• Yr oedd Mortimer ar yr un pryd yn ddychryn (=bw) ac yn ganwyll llygad (=mablygad) Lloegr.

[4] "Ion o Wigmor enwogmawr
O Iyrl y Mars, arlwy mawr."
*Add. MS.*, 14,970.

Castell yn Sir Henffordd yw Wigmore.

[5] "Gwawdrydd cerdd, gwaed y ddraig goch
Yw y sinobl sy ynoch."
*Add. MS.*, 14,970.

Y mae *R.J.* yn cyfieithu y llinellau hyn yn lled brydferth i'r Seisoneg :—"Thou idol of the flowing muse ; The blood of the Red Dragon is the vermilion that flows in thy veins." Ni ddygwyddodd i ni weled y gair yn cael ei ysgrifenu yn "sinobr" yn un man heb law yn ein testyn ; ond y mae amryw o'r beirdd yn ysgrifenu "sinobl." Dywed Deio ap Ieuan Du (*Gorch. Beirdd Cymru*, tudal. 171) :—

"A'i flew yn glyd fal yn glôg
Sinobl ar fy myswynog."

Eto, Lewis Glyn Cothi (*Gwaith*, tudal. 110) a ddywed :—

"Llaw Duw i'th gylch, llwydd yth gaid,
Lliw *sinobl* o'r Lleisioniaid."

A rhydd ei olygwyr yr eglurhad a ganlyn ar y gair :—"Sinobl= cinabar : red ore of quicksilver. Lliw *sinobl*, of a ruddy, or fair, complexion." Ymddengys i ni fod mwy o berthynas ieithegol rhwng *cinnabar* a "sinobr" nag sydd rhyngddo â "sinobl."

[6] "Am hynny bydd hy baedd hoyw
Oro, etto aur ottoyw."
*Add. MS.*, 14,970.

Ar ymyl y ddalen yn *Add. MS.*, 14,970, ceir yr eglurhad a ganlyn gan Iolo Morganwg ar "oro" :—"aro *in al.* No. 59, D.D. Coel, signification, portension, implication"; tra y dywed *R.J.* mai rhagferf erfyniol ydyw—"*Pray do.*"

Kael da yw kel dy awydd
Kael gorvod ragod poed rwydd[1]
Gras Arthur ai groes wrthyd
Ai lys ai gadlys i gyd
Gorre lle ail gaer llion
Y sydd vwch or ynys hon[2]
Kyw gwyddyl rrowioc addas
Yw asur liw gloywddur glas[3]
Glewa grwndwal gogaled
Ywr dur glaslym grym o gred[4]
Glewach wyd ail galath
Ath lychwayw hoyw athloyw lath[5]

A thybiwn mai *R.J.* sydd gywir, yn gystal ag yn ei eglurhad ar "aur ottoyw" = yr yspardyn aur— "*Thou of the golden spur.*"

[1] "Cael dâr yw coel dy arwydd
Cael gorfod rhagod boed rhwydd."
*Add. MS.*, 14,970.

*Derw* ydyw "dâr," medd *R.J.*; ond beth os y testyn sydd gywir? —"Kael da."

[2] "Goreu lle ail Gaerllëon
Y sydd ywch o'r ynys hon."
*Add. MS.*, 14,970.

"Gorau lle, ail Gaerllïon,
Y sydd iwch' o'r ynys hon."
*R.J.*

Diau mai y darlleniad olaf ydyw y goreu. Cyfeiriad sydd yma at lys Arthur yng Nghaerllïon ar Wysg.

[3] "Rhyw gwyddyl rhywiog addas
Yw'r asur liw'r gloywddur glas."—*Add. MS.*, 14,970.

Y mae y bardd wedi gorphen egluro y lliwiau ar arfbais Mortimer, trwy osod yr eurlliw (*or*) i gynnrychioli Ffrainc, yr arianlliw (*argent*) am Loegr, y *sinobl*, neu y rhuddgoch (*gules*) am Gymru, a'r asur (*azure*) i arwyddo yr Iwerddon.

[4] "Glewaf grwndwal go galed
Yw'r dur glaslym holl gred."
*Add. MS.*, 14,970.

"Glewaf grwndwal go galed
Yw'r dur glas-lym, grym i gred."—*R.J.*

[5] "Glewach wyd nag ail Galath
A'th luchwayw hoyw loyw lath."—*Add. MS.*, 14,970.

Y mae darlleniad *R.J.* yr un fath, oddigerth ei fod yn rhoddi "hychwayw" yn lle "luchwayw" ac yn ei egluro fel hyn:—"*Hychwayw*, 'a pushing or driving spear'; the spear used in the wild boar hunt." Ofnwn fod *R.J.* yn gwneyd gair yn y fan hon; gan fod y rhan gyntaf o'i "hychwayw" yn debyg i *hwch*, meddyliodd mai picell i ladd moch gwylltion a feddyliai y bardd. Ond y mae yn amlwg mae lluchwayw (*javelin*) sydd dan sylw. Prin y mae yn ofynol dyweyd pwy oedd Galath (Galahad), mab Syr Lawnslot, ac un o bedwar marchog ar hugain y Ford Gron.

O hyder o uchder iach
Hy gorsgyn gonach[1]
Dos drwyr mor a distryw mydd
I vlaenau r wlad avlonydd[2]
Trev tad i tithau ywr trum
Tau gasdyll tec i ystum[3]
Tegwch vatholwch vu
Kalon iwerddon orddu[4]
Dyrchaf dystondardd[5] hardd hwyl
di archen[6] yw dy orchwyl
Gwna vwysmant[7] bid trychant trwch
Magwy mawr a makamorwch[8]

[1] "Hy goresgynny Gonach."—*Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*

Conach = Connaught, talaeth yn y rhan orllewinol o'r Iwerddon.

[2] "Dos drwy'r mor a distryw *Mydd*
O flaen y wlad aflonydd."
*Add. MS.*, 14,970.

"Dos drwy'r môr a distryw'r Mydd
O flaen y wlad aflonydd."
*R.J.*

Saif Mydd = Meath, ar yr ochr ddwyreiniol i'r ynys, gyferbyn a Connaught.

[3] "Tref tad i tithau yw'r Trum
Tau gastell teg ei ystum."
*Add. MS.*, 14,970.

Trum = Leitrim. Y mae y rhan ddeheuol o honi yn dyfod i gyffyrddiad â Meath.

[4] "Tegwch Fatholwch iwch fu
Calon Iwerddon oerddu."
*Add. MS.*, 14,970.

"Tegwch gwlad Fatholwch fu
Calon y Werddon oerddu."
*R. J.*

Y mae yn amlwg mai y darlleniad olaf ydyw y cywiraf. Yn ol y *Mabinogion*, a'r *Trioedd* (Oxford Edit., pp. 27, 301) Matholwch brenin yr Iwerddon a briododd Bronwen ferch Llyr Llediaith, yr hon a breswyliai yng Nghastell Harlech, yr hwn gynt, meddir, a elwid yn Dŵr Bronwen. Cymmerodd Matholwch hi gydag ef i'r Iwerddon, ac ymddygodd yn greulawn tuag ati. Rhoddodd iddi balfawd a elwir yn un o "dri anfad balfawd Ynys Prydain." Mewn canlyniad i hyn aeth ei brawd, Bran Fendigaid, drosodd i'r Iwerddon, a bu agos iddo ddinystrio holl drigolion y wlad yn ei gynddaredd; ond y diwedd fu iddo ddwyn ei chwaer adref gydag ef.

[5] "Dy stondardd."—*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.* "Stondardd" = *standard.*

[6] "Diarchan."—*Add. MS.*, 14,970; "Di-archar" (= *unrebukable, dauntless, daring*)—*R. J.* Diammeu mai diarchar sydd gywir, o blegid "diarchen," yn ol Pughe, ydyw "uncovered, unshod, bare-footed."

[7] "Fwysmant."—*Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*; yn golygu yr un peth ag *ambushment.*

[8] "Maccwy mawr a Mac Morwch."—*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

Tor rwyc a brath tu rac bron
Draw a galys drwy i galon [1]
Bryssia a chleimia ychlan[2]
Gwlad Wlster glod elystan[3]
Llynna gyvoeth llawn gevalk
Myn di yn dav ymin dwndalk[4]
Yn ol daly grednel vynner
Ki ffalstwf kyff o wlster[5]
Ti a leddy klochdy klod[6]
Bobl wlster[7] bob ail ystod.

Iollo Goch ai Kant.[8]

Yr oedd Mac Morwch (=Mac Morough) yn un o benaethiaid yr Iwerddon; ac iddo ef y perthynai Barwniaeth Norragh, yn Kildare. Yr oedd efe, a'r O'Briens, yr O'Tooles, a'r O'Neils, ym mhlith y gwrthryfelwyr mwyaf gelyniaethol i Loegr oedd yn yr Iwerddon.

[1] "Torr, rwyg, a brath, tu rag bron
Draw a Galys drwy i galon."
*Add. MS.*, 14,970.

Wrth "Galys" y meddylir Galway.

[2] "Brysia a chleimia achlan."
*Add. MS.*, 14,970.

"Brysia a chleimia âch lân."
*R. J.*

[3] Elystan Glodrudd, penaeth, neu dywysog, Fferlys, rhwng yr Hafren a Gwy, yr hwn a flodeuai yn y ddegfed ganrif. Mab ydoedd i Cuhelyn ab Iarddur, o Rhieingar, ferch ac etifeddes Goronw ab Tudur Trefor, yn hawl yr hon y daeth iarllaeth Henffordd yn eiddo iddo. Efe a briododd Gwenllian, ferch Einion ab Hywel Dda.

[4] "Llynca gyfoeth llawn geufalc
Myndi yndaumin Dwn Dalc."
*Add. MS.*, 14,970.

Saif Dundalk ar draethell Mor Iwerddon, ac y mae beisfor o'r un enw—Dundalk Bay.

[5] "Yn ôl dal Grednel fy Ner
Ci Ffalstaff cyff o Wlster."
*Add. MS.*, 14,970.

"Yn ol dâl Grednel, fy ner;
Ci ffalst yw—cyff o Wlster."
*R. J.*

Tybia *R. J.* fod Grednel yn ŵr o gryn enwogrwydd, a diammeu ei fod yn gywir. Gwelwn yma ei fod yn perthyn i Wlster.

[6] "Clochdy clod."—*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

[7] Talaeth yng ngogleddbarth yr Iwerddon ydyw Wlster; ac ymddengys fod y lle mewn sefyllfa derfysglyd ar y pryd.

[8] Ar ei ddiwedd, yn *Add. MS.*, 14,970, ceir "Iolo Goch ai cant," gyda'r nodyn a ganlyn:—

"Pei'r Diawl a'i cant, ni allasai ganu yn fwy gwaedlgar, yn fwy lladdgar, yn fwy rhyfelgar, nag yn fwy anrheithgar.

Iolo Morganwg."

## V.

## MOLIANT HOWEL COETMOR O NAN-KONWY.

*(O'r Bodley MS., e. 1, No. 19.)*

Y mae hwn i'w weled hefyd yn *Add. MS.*, 14,966, dan y penawd "Cow: Mol: Howel Coetmor hwn oedd ryfelwr."

Hysbysir ni gan y Chevalier Lloyd fod Howel Coetmor yn berchenog ar Gwydir ac etifeddiaethau eang ereill yng nghymmydogaeth Llanrwst, ond ei fod yn preswylio yn benaf yng Nghastell Cefel Ynghoedmor, ym mhlwyf Llanrwst, yr hwn unwaith a berthynai, yn ol Gruffydd Hiraethog, i Peredur ab Efrawg. Claddwyd Howel yn Llanrwst, lle y dywedir fod ei feddfaen yn aros, gyda'r argraff a ganlyn arno:—"HIC IACET HOEL COETMORE AP GRVFF VYCHAN AMN." Yna y mae y Chevalier yn myned ym mlaen (*Hist. Powys Fadog*, vol. iv., p. 275), i roddi yr achres ganlynol, yr hon a roddwn yma yn ei eiriau ef ei hun:—

David Goch of Pen Machno in Nant Conwy (*Sable*, a lion rampant *argent*, in a border engrailed *or*). He was a natural son of David, Lord of Denbigh and Frodsham, whose trial and cruel death at Shrewsbury, in 1283, has been told in vol. i.—See vol. iii., p. 32. ═ Angharad, d. of Heilyn ab Sir Tudor, Knight, ab Ednyfed Fychan. *Gules*, a chevron inter three Englishmen's heads in profile couped ppr. crined *or*.

Gruffydd ab David of Nant Conwy, living 26 Edward III. (1352). He was buried in the church of Bettws Wyrion Iddon, or Bettws y Coed, where his tomb is to be seen, with his effigy recumbent in armour, with the following inscription:—"HIC IACET GRUFUD AP DAVID GOCH. AGNUS DEI MISERERE MEI." A full description of this tomb has been given by Mr. Bloxam in the *Arch. Camb.* for 1874, p. 128. Gruffydd died at Fedw Deg, in the parish of Bettws y Coed. ═ Margaret, d. and heir of Tudor ab Iorwerth ab Gwrgeneu ab Cyfnerth. *Gules*, a lion rampant inter three roses *argent*.

*a*



| a

Gruffydd Fychan = Tangwystl, d. of Maredydd Goch ab Maredydd ab Iorwerth ab Llywarch ab Bran, Lord of Cwmmwd Menai. *Argent*, a chevron *sable*, inter three Cornish choughs ppr., each with a spot of *ermine* in their beaks ppr.
of Nant Conwy.

Howel Coetmor = Gwenllian, d. of Rhys ab Rotpert of Kinmael, ab Gruffydd ab Sir Howel ab Gruffydd of Henglawdd, ab Ednyfed Fychan. 1. *Sable*, a chevron inter three mullets *argent*, for Rhys ab Rotpert; 2. *Gules*, a chev. inter three mullets *or*, for Rotpert of Kinmael.
of Nant Conwy. *Azure*, a chevron inter three fleurs-de-lys *argent*. He was one of the Captains at Agincourt.

Rhys Gethin of Fedw Deg, and Hendref Rhys Gethin in the parish of Bettws y Coed. See vol. iii., p. 32.

David ab Howel sold Gwydir to Maredydd ab Ieuan ab Robert of Cesail Gyfarch.

Os ydyw y daflen uchod yn gywir, rhaid fod Gruffydd ab David mewn cryn oedran yn 1352, gan ei fod yn ŵyr i Dafydd a ddienyddwyd yn 1283; ac felly gallasai Howel Coetmor, ei ŵyr yntau, fod yn gymhwys i gymmeryd rhan yn y mân frwydrau yn Ffrainc, y rhai a ymladdwyd yn fuan ar ol esgyniad Richard II. i'r orsedd yn 1377. Dywed Owen Jones (*Geir. Cen. Cymru*, cyf. 1, tudal. 442) fod Howel Coetmor yn ymladd dan Richard III. ym Mrwydr Bosworth, yr hon a ymladdwyd yn y flwyddyn 1485; ond y mae yn amlwg, os nad oedd yn anarferol o hirhoedlog, mai nid gwrthddrych y cywydd hwn oedd yr Howel Coetmor hwnw. Dywedir yn gyffredin fod Howel yn un o gadbeniaid Harri V. ym Mrwydr Agincourt, yr hyn sydd eithaf tebygol; ond yn 1415 yr ymladdwyd y frwydr hono. Pa fodd bynag, y mae y cywydd yn awgrymu iddo gael ei gyfansoddi yn ystod gwrthryfel Owain Glyndwr. Ar ol cyfeirio at ryw wrhydri y tybid iddo wneyd yn Ffrainc yn y mân ysgarmesoedd a nodwyd, yn y rhai y cymmerodd ran, fel ein hysbysir yn llin. 33 "dann Risiart"—sef Richard II. o angenrheidrwydd—y mae yn myned rhagddo i grybwyll am ein "cymydog ni," ac yn ei annog i ladd y Seison; gan sylwi y

"Kar Owain hwnn gwnn ganmil
Llai hap ai gallv ai hil."

Ystyriwn y cyfeiriadau hyn yn werthfawr, gan yr awgrymant fod ein haneswyr wedi bod yn aflwyddiannus hyd yn hyn i gofnodi enwau rhai o gynnorthwywyr pwysicaf Owain Glyndwr. Hysbysant ni, mae'n wir, fod un Rhys Gethin, sef brawd Howel, yn un o brif ddynion Glyndwr; ond nid ydynt yn crybwyll am Howel ei hun. Pa fodd bynag, y mae y cywydd hwn yn mwy nag awgrymu fod Howel yn cymmeryd rhan flaenllaw yn y gwrthryfel. Ac y mae fod y fath wr ag oedd ef yn un o ddilynwyr Owain—a hyny, hyd y gwyddom, heb gael ei gofnodi gan un hanesydd—yn awgrymu pe ysgrifenasid hanes y rhyfeloedd hyny yn fwy cyflawn y buasem yn cael fod amryw o brif ddynion Cymru wedi eu gadael yn ddisylw. Hyd y mae yr adroddiad a rydd haneswyr yn myned, nid ydyw rhyfeloedd Glyndwr yn ymddangos mor bwysig ag y mae traddodiadau yn eu gosod allan. Ond pe caem amryw o gywyddau o'r un nodwedd a hwn, wedi eu cyfeirio at wahanol uchelwyr Cymru, byddai yn rhaid i ni gredu fod y traddodiadau yn gywir, a bod y rhyfeloedd hyn yn llawer pwysicach ac yn fwy arswydus nag y tybir ar yr olwg gyntaf.

Yn anffodus, nid oes genym nac amseriad genedigaeth na marwolaeth Howel Coetmor ; na'r peth nesaf i ddim o'i hanes. Gwelwn yn y cywydd canlynol—a hyny ar ol cymmeryd yn ganiatäol fod hanner yr hyn a ddywedir yn ganmoliaeth eithafol bardd—ei fod yn filwr gwrol. Am amseriad y cywydd, tybiwn na fyddem ym mhell o'n lle wrth ei amseru rhwng 1400 a 1404. Ac os bu Howel yn ymladd brwydr Agincourt yn 1415, fel y mae yn debyg iddo fod, gwelwn iddo gymmodi â Harri V.

Howel kymro o hil kymry
howel at y rhyfel try[1]

[1] "Howel Cymro hil Cymry
Howel at ryfel i try."
*Add. MS.*, 14,966.

Cyfeirir yma at duedd ryfelgar Howel.

koetmor blaenor dann blaned
mars ir llu/n rymus ar lled[1]
gwr glan a gae/n Lloegr y glod
a Ffrainc lle curai Ffrangkod[2]
kae yno yn llwybro ir llu
arfav gorav i garv[3]
kapten yn y blaen heb lvdd
karw diogan kry digvdd[4]
yn troi i ynni mewn trinoedd
e wnaeth i ofn eofn oedd[5]
makwy safwy sy hyfedr
mur mawr y drin meithrin medr[6]

[1] "Coetmor blaenor dan blaned
Mars a'r llu rymus ar lled."
*Add. MS.*, 14,966.

Rhydd y bardd yma y blaned *Mars* i gynnrychioli y duw Rhufeinig o'r enw. *Mars* oedd duw rhyfel y Rhufeiniaid, fel yr oedd *Ares* gan y Groegiaid, a Beli gan y Cymry.

[2] "Gwr glan a gad/n/ Lloegr i glod
Yn ffrainc i curau ffrancod."
*Add. MS.*, 14,966.

[3] "Y ae yno yn llwybro r llu
arfau gorau i garu."
*Add. MS.*, 14,966.

Ni raid dyweyd wrth unrhyw un sydd yn gydnabyddus â llenyddiaeth y cyfnod hwn fod *u* yn fynych yn cael ei hysgrifenu yn *v*, ac i'r gwrthwyneb.

[4] "Captain yn y blaen heb ludd
Cawr diogan cry digudd."
*Add. MS.*, 14,966.

Ac ar ymyl y ddalen gogyfer â'r darlleniad hwn rhoddir "Carw," fel yn y testyn, yn lle "Cawr." Ac y mae mor debygol mai "Carw" a feddylid, o blegid rhoddai y beirdd yr enw hwn yn fynych ar eu harwyr. Yr hyn sydd yn ymddangos fwyaf yn ei erbyn ydyw fod "Carw" yn air deusill ac yn gwneyd y llinell yn rhy hir i ateb i'r un flaenorol; ond nid ymddengys fod beirdd y cyfnod hwn mor ofalus yn hyn o beth ag ydynt yn ein dyddiau ni. Ym mhlith enghreifftiau ereill yn y rhai y defnyddir y gair "carw" yn yr ystyr a awgrymwyd, gallwn gyfeirio at Lewis Glyn Cothi (*Gwaith*, tudal. 321), yr hwn a ddywed :—

"Cadben Isgenen a'i gwyr,
Carw mawr a ddwg grym eryr;
Clo llèn aur yn cloi Llan Non,
Caer, neu allwydd, Carnwyllon."

[5] "Yn troi i ynndo mewn trinoedd
E wnaeth ei ofn eofn oedd."
*Add. MS.*, 14,966,

gyda "eofn, i.e., diofn," ar ymyl y ddalen. Dyweyd y mae y bardd fod Howel yn troi, neu yn rhoddi, ei holl *yni* (nis gwyddom beth yw "ynndo") mewn brwydrau ("trinoedd"), a'i fod trwy ei eofndra ei hun wedi creu ofn mewn ereill.

[6] "Marwy ai safwy sy hyfedr
Mur mawr i drin meithrin medr."—*Add. MS.*, 14,966,

arfav[1] a gwyr ryf y gwydd
ai geraint yn i gevrydd[2]
teyrn rhyw kedyrn i kaf
tylwyth iach talaith vchaf[3]
llew Gruffvdd fflamrvdd a phlaid
vychan darian bord evraid[4]
Howel yn sel / insel Llywelyn
towyssog draidd ffyrfaidd ffynn[5]
un fraich a Howel yn frav
hwp dilesc y pydolau[6]

gyda yr hyn a ganlyn ar ymyl y ddalen :—"Marwy, i.e., milwr; saffwy, i.e., ffon wayw." Ond pa un ai "maccwy" ai "marwy" sydd gywir? Golyga "maccwy" (i.e., *makwy*) un ieuanc, neu fachgen; ac o bosibl mai cyfeiriad a geir yma at ieuenctyd Howel, yr hwn, er nad oedd ar y pryd ond bachgen, megys, eto oedd wedi dyfod yn rhyfelwr cadarn. Yn y ban dilynol (llin. 15 a 16) gwelir fod ei filwyr mor aml a'r coed.

[1] "Arfau."—*Add. MS.*, 14,966.

[2] "Geurydd" = lleoedd cadarn (*fortified places*).

[3] "Teyrn ryw cedyrn i caf
Tylwyth iach talaith uchaf."
*Add. MS.*, 14,966.

[4] "Llew Gruffudd fflamrydd a fflaid
Fychan darian bord euraid."
*Add. MS.*, 14,966.

Fel y gwelir yn yr achres uchod, Gruffydd Fychan oedd tad Howel; a'i arfbais ef a ddysgrifir yma.

[5] "Howel insel Llywelyn
Dwysog iraidd ffyrfaidd ffyn."
*Add. MS.*, 14,966.

[6] "Un fraich a HOWEL yn frau
hwp dilesg y PEDOLAU."
*Add. MS.*, 14,966.

Dywedir yma fod ei fraich mor gryfed ag eiddo Syr Howel y Pedolau, am yr hwn y ceir amryw o draddodiadau; ac yn eu plith, ei fod mor gryf fel y gallai unioni pedol ceffyl â'i ddwylaw moelion, yr hyn a roddodd iddo ei gyfenw, ac a fu achlysur iddo wisgo llun pedol ceffyl ar ei arfbais. Ei dad oedd Gruffydd ab Iorwerth, yr hwn oedd yn disgyn o Hwfa ab Cynddelw, sef cyff un o Bymtheg Llwyth Gwynedd. Ei fam oedd Gwenlliant, merch Rhirid Flaidd, yr hon a ddewiswyd gan Edward I. i fod yn fammaeth i'r tywysog Edward II. Ac mewn canlyniad daeth Howel a'r tywysog yn gyfeillion, a bu hyn yn foddion iddo gael ei wneyd yn Farchog. Dywed traddodiad iddo gael ei gladdu yn Eglwys Sant Pedr, Caerfyrddin (*Geir. Cen. Cymru*, gan O. Jones, cyf. i., tudal. 669.)

ffaglawr ffanglawr gwr mawr yw ymrwydr ffenglawr
ffôn rhag hwnn yn grwnn ar grwydr[1]
ysgwiair vu air a naw
ysglan darian rhaid evraw[2]
howel ar vchel wreichion
ar dellt lle torrid i onn[3]
llonydd wedi/r dvll hwnnw
araf llawn fv ar y llw[4]
koetmawr aessawr dann Risiart
kae fo iawn waith kyfion wart[5]
ag weithian yn ymgoithi
dvg nerth yn kymydog ni[6]
llew hy yn dryllio heol
llannrwst yn llawn ar i ol[7]

[1] "Ffeiglawr gwr mawr yw ymrwydr
ffôn rhag hwn yn grwn ar grwydr."
*Add. MS.*, 14,966.

Diammeu fod "ffaglawr" yn cyfeirio at ei waith yn rhoddi lleoedd ar dân.

[2] "Ysgwiair unair a naw
Ysglan darian rhaid euraw."
*Add. MS.*, 14,966.

[3] "Ar dellt lle torid ei on."
*Add. MS.*, 14,966.

[4] "Llonudd wedi /r/ dull hwnw
araf llawn fŷ ar fy llw."
*Add. MS.*, 14,966.

[5] "Coetmor aesawr dan Risiart
Cae fo iawn waith cyfion wart."—*Add. MS.*, 14,966.

Portreadir Howel yma fel tarian (=aesawr) dan Richard II.; yn yr ystyr yn ddiammeu ei fod yn amddiffynydd ffyddlawn i'r Goron; ac nid yn unig yn amddiffynydd, ond hefyd yn "wart" (=gwarchodwr).

[6] "Ag weithion yn ymgoethi
Dŵg nerth yn cymydog ni."
*Add. MS.*, 14,966.

Yn yr un modd ag y profodd yn wasanaethgar gynt i'r Brenin Richard, y mae yn awr (=weithian) yn profi yn gyfnerthiad i'n "cymydog ni," sef Owain Glyndwr, yn ddiammeu. Ysgrifenid "yn" yn lle "i'n" yn amser Iolo.—Ymy=i mi; yny, yni=i ni; yty=i ti, &c.

[7] "Llew hyf yn dryllio heol
Llan Rwsd yn llawn ar i ôl."
*Add MS.*, 14,966.

Nis gwyddom at ba beth y cyfeirir yma, os nad oedd rhyw ymosodiad wedi cymmeryd lle yn erbyn deiliaid teyrngarol Harri IV. yn y dref hon.

atto kawn ddeutv Konwy
ar dyffryn ag e fynn fwy[1]
gwilio yno y glynoedd
*gwilio* ffeils mal Ergwlff oedd[2] kvro
kaer lew taer ar y wlad honn
*kaer* y sias kvr y Savson[3] kawr
kar Owain hwnn gwnn ganmil
llai hap ai gallv ai hil[4]
kadw arno mewn cadernyd
i mae mewn arfav brav bryd[5]
mewn koedydd mann kavedig
mae enw at rym mae i hwnn trig[6]
ni eill hyd fedd er llid fo
gwyr oriog lloegr i wyro[7]
er i feirch ymgroesa hwnn
y milwr a ganmolwn[8]
brav erioed breyr ydyw
braich krevlon ar ossbion yw[9]

[1] "Ato i cawn ddeutu Conwy
ar Dyffryn ag e fyn fwy."
*Add. MS.*, 14,966.

[2] "Gwilio yno y glynoedd
gwilio ffeils mal Ergwlff oedd."
*Add. MS.*, 14,966.

" Ergwlff=*Hercules*.

[3] "Caer lew taer ar y wlad hon
Caer i Sias cwr y Saeson."
*Add. MS.*, 14,966.

[4] "Câr Owain hwn gwn ganmil
llai i hâd ai gallu ai hil."
*Add. MS.*, 14,966.

Owain Glyndwr a feddylir yn ddiammeu.

[5] "Cadw arno mewn cydernyd
i mae mewn arfau braw bryd."
*Add. MS.*, 14,966.

[6] "Mewn coedydd man cauedig
Mae enw at rym i hwn trig."
*Add. MS.*, 14,966.

[7] "Ni all hyd fedd er llid fo
gwyr oriog Lloegr i wyro."
*Add. MS.*, 14,966.

[8] "Er i serch ef ymgroes hwn
y milwr a ganmolwn."
*Add. MS.*, 14,966.

Credwn fod y darlleniad hwn yn gywirach na'r testyn; gan y tybiwn mai dyweyd y mae y bardd fod *serch* Howel at Owain yn ddigon i'w gadw rhag gwyro oddi wrtho.

[9] "Brau yrioed breuer ydyw
braych creulon ar *osbion* yw."—*Add. MS.*, 14,966, gyda'r nodyn a ganlyn ar ymyl y ddalen:—"*Osbion*, i.e., dieithried, gelynion."

am ñallai r neb ai ar bel
o wr hy wyro Howel [1]
mae gann bawb amgen ni bydd
y leni iddo lonydd[2]

Iolo goch.

[1] " Am na allai /r/ neb ai ar bê
o wr hyf wyro Howel."
*Add. MS.*,14,966.
" Bel " = y gamp = *the palm*. (Gwel *Gwaith Lewis Glyn Cothi*, p. 209).

[2] " Mae gan bawb amgen ni bydd
Yleni iddo lonydd."
*Add. MS.*, 14,966.

# VI.

## KOWYDD I RYS GETHIN BRAWD HOWEL KOETMOR O NAN KONWY.

*(O'r Bodley MS., e. 1., No. 20).*

Dywedir wrthym yn y penawd pwy oedd Rhys Gethin; a cheir ei haniad yn y sylwadau rhagarweiniol i'r cywydd blaenorol. Nid oes grybwylliad am dano yn ein gweithiau bywgraffyddol; ond gwelir oddi wrth y cywydd canlynol ei fod yn rhyfelwr dewr, ac iddo gymmeryd rhan yn rhyfeloedd Owain Glyndwr. Hysbysir ni gan Pennant (*Tour in Wales*, vol. i., pp. 351-2) i ferched Maesyfed ymddwyn yn greulawn tuag at y clwyfedigion ym myddin Syr Edmund Mortimer, pan gymmerwyd y boneddwr hwnw yn garcharor gan Owain Glyndwr, ar fynydd Bryn-glas, Mehefin 22, 1402 ("Braslun," &c., tudal. 55). Ond amddiffynir y merched gan Pennant trwy ddyweyd mai gweithredu yr oeddynt yn unol â chyfarwyddyd "Rhys y Gyrch," un o gadbeniaid Owain. Dywed Mr. Wylie (*Hist. Eng. under Henry IV.*, vol.i., p. 282) mai "Rees Gethin" a lywyddai fyddin Owain Glyndwr yn y frwydr hono. Ac ymddengys i ni yn dra thebyg mai yr un oedd Rhys y Gyrch, neu Rees Gethin, a gwrthddrych y cywydd hwn. Hefyd, ym mhlith llythyrau ereill yn dal cyssylltiad â'r difrodiadau a wnaed gan Owain Glyndwr yn Neheudir Cymru (*Arch. Cambr.*, 1851, pp. 113-16), ceir un dyddiedig Gorphenaf 7, 1403, a anfonwyd at Drysorydd Brycheiniog gan Jenkin Hanard, Cwnstabl Castell Dinefwr, yn yr hwn y dywedir "fod Owain Glyndwr, Henry Don, Rhys Ddu, Rhys ap Gruffydd ap Llywelyn, a Rhys Gether wedi ennill tref Caerfyrddin." Ac y mae yn debyg mai yr un a Rhys Gethin oedd y Rhys Gether y cyfeirir ato. Os felly, yr oedd wedi ennill cryn enwogrwydd fel un o brif

bleidwyr y gwrthryfel. Ond, pa un bynag am hyny, cyfeirir yn y cywydd canlynol at ryw weithredoedd pwysig a gyflawnwyd gan Rhys yng nghymmydogaeth yr Eryri. Ac wrth osod y pethau hyn yng nghyd, ymddengys i ni i'r cywydd gael ei gyfansoddi ar ol diorseddiad Richard II., a phan oedd Owain yn ei rwysg. O bosibl nad allem ei amseru rhwng 1400 a 1404.

Yn ol y Chevalier Lloyd (*Hist. Powys Fadog*, vol. iii., p. 33), gadawodd Rhys Gethin un mab ar ei ol—sef Howel, o'r hwn yr hanai Syr Richard Lloyd o'r Esclys, ac o'r Dulassau, yr hwn a fu yn brif-ynad Gogledd Cymru yn nheyrnasiad Charles I.

Byd kaeth ar waedoliaeth da
a droes aml oedd drais yma
lle bu r brython savson sydd
ar boen ar gymrv bevnydd[1]
oes dewrwalch sy falch a saif
o lywelyn[2] ai loewlaif
oes Rys ai ddvrgrys[3] ddewrgryf
gethin ei hynt erbin tyf[4]
makwy mal kawr fawr fowredd
mab Gruffydd Vychan glan gledd
ysgwiar gair gorevrwayw[5]
ys gwr a dorai/n waisc[6] wayw

[1] Dechreua y bardd trwy gwyno o herwydd y cyfnewidiad oedd wedi cymmeryd lle yn hanes y pendefigion Cymreig er yr oesau gynt; ac y mae yn ein hysbysu fod y wlad a fu unwaith dan reolaeth y Bryttaniaid yn cael ei meddiannu bellach gan y Seison, y rhai oeddynt yn poeni Cymru beunydd.

[2] "Llywelyn ein Llyw Olaf," mae'n debyg.

[3] "Ddurgrys"—*coat of mail*?

[4] Pa un ai *Erbin* tyf, gan gyfeirio at Erbin tad Geraint, ynte *erbyn* tyf, a feddylir yma? Os yr olaf, rhaid nad oedd Rhys ond bachgen dan oed pan gyfansoddwyd y cywydd. Ond gan nad ydyw y gweddill o'r gân yn caniatau hyn, rhaid mai cyffelybu Rhys i Geraint ab Erbin, a syrthiodd ym mrwydr Llongborth, yr hwn oedd ryfelwr cadarn, y mae y bardd yma.

[5] Defnyddir y gair "Ysgwiar" yma, fel y gwelir oddi wrth rediad y llinell, yn ei ystyr gyntefig—un yn dwyn arfau.

[6] "Yn waisg"=yn gyflym, neu ddeheuig. Cyfeiriad at ei fedrusrwydd i dori arfau y gelynion.

mae fo/n gawr y rhychawr hir
mae/r gwr o rym mawr gerir
mae/n dda i le yw gynefin
ymron gallt mal i rannv gwin
mae/n y glynoedd lle r oeddynt
ei dad gwych ef ai daid gynt
Rys a gynail rhwysc yno[1]
a yrr y ffeils wyr i ffo
os aliwns[2] a gwnsselan[3]
i dorri i fraint dirfawr rann
kwmwrw ni fwrw ef ariant
kadw i ran mal kynan[4] kant
a chadw lle mae/n warcheidwad
nankonwy[5] mygr ofwy mad
milwr yw a gwaew melyn
megis owain glain y glynn

[1] Yn ol y Chevalier Lloyd (*Hist. Powys Fadog*, vol. i., p. 193) yr oedd Rhys yn byw yn Hendref Rhys Gethin, ym mhlwyf Bettws y Coed. Ac yno, y mae'n debyg, y dywed y bardd ei fod yn hael o'i win, ac yn cynnal rhwysg. Gelwir y lle yn bresennol yn Hendre Sgethin—(Sgethin = Rhys Gethin). Math o balasdy bychan ydyw yn ymyl Bettws y Coed, ger llaw y ffordd i Gapel Curig. Saif y tŷ ar le gwastad, ond y mae gallt serth ychydig o'r tu cefn iddo.

[2] Yn ol William Salesbury (*A Dictionary in Englishe and Welshe*) "aliwn" yw *alien*; ac wrth "aliwns," medd ef, yr ydym i olygu *alienes*. Felly estroniaid, sef y Seison, mae'n debyg, a feddylir yma wrth "aliwns."

[3] "Gwnsselan" (o *counsel*) = a gynghorant.

[4] Bu amryw ryfelwyr dewr o'r enw Cynan; ac y mae yn anhawdd gwybod pa un o honynt a feddylir yma.

[5] Yn y *Myv. Arch.*, p. 741, dywedir wrthym fod cwmmwd Nant Conwy yn cynnwys y plwyfi a ganlyn :—"Pen Machno, Dolwyddelen, Llanvihangel y Bettws, Llan Rhychwyn, a Trevriw." Ond dywed Owen Jones (*Geir. Cen. Cymru*, cyf. ii., tudal. 353) fel y canlyn :—

"NANT CONWY, cantref yn y parth dwyreiniol o swydd GAER YN ARFON, yn cynnwys plwyf Bettws y Coed, pedwar plwyf arall, a rhanau o ddau eraill. Erwau, 46,826. Poblogaeth yn 1851, 4,281; yn 1861, 4,556. Tai annedd, 932."

llonydd yn i ddydd ai ddart[1]
oedd Rys yn yddiav Risiart[2]
yn awr iw gledd mynn hir glod
i'r maès yn a im-ossod[3]
os blin dros y blaenevdir[4]
yr ynys ar dyrys dir
e wna Rys iawn wllys ner
yw faendai y cyfiownder
a deil fo r eidal i fôn[5]
yn daer iawn gidar union[6]
ymhob ias ag ymhob ing
bann gofier o bv/n gyfing
mynna i barch ai gyfarch gynt
er aliwns a gwerylynt[7]
gwr glan glew fal y llew llonn
gwr ag enw fal gwrgvnon[8]
edn[9] ni fflyg pe doen a fflaid
ag er dig lloegr ai dvgiaid
dros gadw mewn dyrys goedydd
yr yri[10] fal eryr fydd

[1] "Ddart" (o *dart*, Seis.) = picell.

[2] Gwelwn oddi wrth y llinell hon nad oedd Rhys wedi cymmeryd arfau hyd wrthryfel Owain Glyndwr; o blegid dywedir yn amlwg iddo fod yn llonydd yn nyddiau Richard II. Ond awgrymir yn y llinellau dilynol iddo ddyfod allan o ddifrif o blaid y Cymry.

[3] Ymddengys fod y testyn yn anghywir yma. Ai ni fyddai "I'r maes, yna ymosod" yn well?

[4] "Blaeneudir" = mynyddoedd?

[5] Nis gallwn weled unrhyw synwyr yn y llinell hon—O'r "Eidal i Fôn"!

[6] Awgrymir ei fod yn ffyddlawn o blaid yr hyn oedd iawn—achos Owain Glyndwr; a hyny trwy bob ing a chyfyngder, yr hyn sydd yn awgrymu fod amryw o frwydrau caled wedi eu hymladd cyn i'r cywydd hwn gael ei gyfansoddi.

[7] Ysgrifenir "gwrylynt," gan roddi *e* oddi ar yr *w* mewn llaw ddiweddar.

[8] Yr unig ddyfaliad sydd genym am "gwrgunon" ydyw ei fod yn ymgais at Gymreigio y *Gorgons*, neu dair merch ddychymmygol y môr-dduw Phorcys o'i wraig Ceto—sef Medusa, Euryale, a Stheno; a'r rhai a osodir allan gan chwedloniaeth fel yn hynod o greulon a gwaedlyd.

[9] "Edn" = aderyn; gan gyfeirio at ei gyflymder a'i gydnabyddiaeth â dirgelfanau y coedwigoedd.

[10] "Yr yri" = Eryri (*Snowdon*).

o daw mann hyd ymynawr
gaer i wi kad farchnad fawr
yn gall ag ni fynn gellwair
yn y drin kethin y kair[1]
breyr[2] saif a bair hir son
o for manaw[3] i feirion
penllad[4] yn $\overset{\text{ein}}{\text{yn}}$ gwlad glodfawr
pur o iach fab mewn parch fawr
pendefig at ryfig[5] troes
poed iw rann pedair einioes

Iolo Goch.

[1] Ymgeisia y bardd chwareu â'i gyfenw *Gethin* yma, trwy osod i mewn yr ansoddair *cethin* = llym, brwnt, &c.

[2] "Breyr" = Brehyr: gair a ddefnyddir yn fynych yn y Cyfreithiau a briodolir i Hywel Dda, yn gyfystyr âg *uchelwr*. Y mae i'w gael hefyd yng ngweithiau amryw o feirdd Cymreig y canol oesoedd.

[3] Môr Manaw = the Irish Sea.

[4] "Penllad" = y da uchaf; y mae y frawddeg i'w darllen fel hyn: "Penllad yn ein gwlad glodfawr." Y mae *ein* yn ysgrifenedig uwch ben yr ail *yn*.

[5] "Ryfig" a olyga yma *feiddgarwch*.

# VII

## KOWYDD IEVAN AB EYNYON AB GRVFFYDD.

---

*(O'r Add. MS., 14,978, fol. 68).*

Y mae y cywydd hwn i'w weled hefyd yn *Add. MSS.*, 14,891 (pedair llinell), 14,964, ac yn *Y Piser Hir*, p. 76.

Yr oedd Ieuan ap Einion, yn ol Syr John Wynn (*Hist. Gwydir Family*), yn frawd i Syr Hywel y Fwyall; ond yn ol golygydd Lewys Dwnn (*Heraldic Visitations*, vol. ii., p. 101, note 8), yr oedd Syr Hywel yn fab i Griffith ap Howel, ac yn ewythr i Ieuan ap Einion. Yr ydym eisoes (Cywydd Rhif II.) wedi rhoddi achres, yr hon a ddengys fod Ieuan yn nai i Syr Hywel; ac y mae gan y Chevalier Lloyd (*Hist. Powys Fadog*, vol. v., p. 290), achres arall yn profi yr un peth. Dechreua fel y canlyn:—

Howel ab Maredydd ab Einion ab Gwgan, ab Merwydd Goch ab Collwyn ab Tangno, Lord of Eivionydd and Ardudwy. *Sable*, a chev. inter three fleurs-de-lys *argent*. = Gwenllian, dau. of Gruffydd, the 2nd son of Ednyfed Fychan.

- Gruffydd ab Howel = Angharad.
- Ieuan of Cefn y Fan, now called Ystum Cegid. He had three daughters, co-heiresses.

Children of Gruffydd ab Howel and Angharad:

- Einion = Nesta, d. of Gruffydd ab Adda.
- Sir Hywel y Fwyall, Knt.; *ob. sans* issue legitimate.
- Ieuan.

Children of Einion and Nesta:

- Ieuan, *temp.* Richard II. of Bron y Foel, Ystymllyn. = Gwenhwyfar, d. of Ynyr Vychan, Lord of Nannau.
- Rhys ab Einion.
- Nesta.

Children of Ieuan and Gwenhwyfar:

- Howel Fychan of Bron y Foel. = Angharad, d. of Llywelyn ab Howel.
- Rhys of Chwilog. = Gwerfil, d. of Rhys Gethin.

Children of Howel Fychan and Angharad (Goronwy) and of Rhys of Chwilog and Gwerfil (Madog):

- Goronwy, *jure uxoris* of Gwynfryn. = Eleanor, d. and heiress of Robert Puleston of Gwynfryn and of Emral.
- Madog ab Ieuan. = Gwerfil, d. of Rhys ab Tudor ab Goronwy.

Os oes coel ar yr achau, yr oedd rhyw gyssylltiad teuluaidd neu briodasol rhwng y rhan fwyaf o arwyr Iolo Goch. Gwelir yma fod mab i Ieuan wedi priodi merch i Rhys Gethin (Cywydd Rhif VI.), a mab arall iddo wedi priodi merch Rhys ab Tudur ab Gronw (Cywydd Rhif XXV.).

Sylwa y Parch. Robert Owen (*The Kymry*, p. 94), ar awdurdod Tschudi, fel y canlyn:—

"Few, perhaps, are aware that the English Company of Enguerrand de Coucy, defeated by the Swiss on January 13, 1376, at Buttisholz, was commanded by Ieuan ap Einion; whom an old song of the period styles 'Hertzog Yffo von Callis mit sim guldinen hut,' the chief Evan of Wales with his golden hat. Enguerrand was a son-in-law of Edward III., and held fiefs in Wales, which explains his having a Welsh lieutenant."

Ac y mae yn debyg mai yr un oedd yr Ieuan ap Einion hwnw a gwrthddrych y cywydd hwn. Rhydd Iolo gryn ganmoliaeth iddo am ei haelioni a'i ddewrder. Nis gwyddom pa bryd ei ganwyd, na pha bryd y bu farw; ond ymddengys i ni oddi wrth llin. 28 ei fod yn bleidiwr i Owain Glyndwr. Profa hyny i'r cywydd gael ei gyfansoddi yn ystod y gwrthryfel—o bosibl rhwng 1400 a 1404.

Pwy sy oi rym passior Iaith
pwy yn dilud top hen dalaith[1]
penaeth mawr i hap anwyl
parch gwlad kynheilad kan hwyl[2]
pwys dwy ynys post hen aur
pen gwlad wyd ai pinagl aur[3]
Ivan yn dy ran i gaeth
ab Einion fyw yn benaeth[4]

[1] "Pwy sy o rym yn passio'r iaith?
pwy'n dilid top hên dalaith."
*Add. MS.*, 14,964.

[2] "Pennaeth mawr i hap anwyl
parx gwlâd cynheiliad can hwyl."—*Add. MS.*, 14,964.

[3] "Pwys dwy ynys post henaur
pen gwlâd wyd a'n pinagl aur."—*Add. MS.*, 14,964.

[4] "Iefan yn dy ran yr aeth
fab Einion fyw yn bennaeth."
*Add. MS.*, 14,964.

hynod iawn yw dy henw da
had gruffvdd[1] hyd gaer offa
Ysgwier gwych oes gwr gwell
ach eidwad mwy no chadell[2]
Suri mawr dros aur a medd
a droy i enw drwy wynedd[3]
gwraidd daf ag iroedd dyfiad
gallon hil gollwyn ai had[4]
dyn irddewr yn dwyn urddas
dragwn ai sel drwy gan ssias[5]
Kymer faner Yfionydd
Kae mawr o vewn Kymry fydd[6]
rrent havaidd avr yn tyfv
ardvdwy aeth ar dy dv[7]

[1] "Gruffydd."—*Add. MS.*, 14,964. Gruffydd oedd enw ei daid—Ieuan ap Einion ap Gruffydd.

[2] "Escwier gwyx oes gair gwell
A xeidwad mwy no xadell."
*Add. MS.*, 14,964.

Cofnodir amryw enwogion yn dwyn yr enw Cadell—Cadell fab Geraint, dau Gadell Deyrnllwg, Cadell ab Urien, Cadell mab Arthfael ab Hywel, a Chadell fab Rhodri Mawr—tad Hywel Dda.

[3] "Sirif mawr dros aur a medd
a droe enw drwy Wynedd."
*Add. MS.*, 14,964.

"Sir y mawr dros aur a medd
Troes ei enw ef tros Wynedd."
*Piser Hir.*

[4] "Gwraidd daf ac iraidd dyfiad
Gallu un hil Gollwyn had."
*Add. MS.*, 14,964.

"Gwraidd dwf," &c.—*Piser Hir.*

Ai nid "gwraidd *dwf*" a ddylai fod yn lle "gwraidd *daf*"? Gwelir oddi wrth yr achres a flaenora Cywydd Rhif II. fod Ieuan ap Einion yn disgyn mewn llinell unionsyth o Collwyn ab Tangno, yr hwn oedd arglwydd Ardudwy, Arfon, a Lleyn; a'r hwn a breswyliai yng Nghaer Collwyn, lle y saif Castell Harlech yn awr.

[5] "Sias."—*Add. MS.*, 14,964.

[6] "Cymmer faner y 'Fionydd
Cae mawr o fewn Cymry fydd."—*Add. MS.*, 14,964.

"Cae"—ai nid *Caer*?

Cynnwysa Cwmmwd Eifionydd y plwyfi canlynol:—Aelhaiarn, Beddgelert, Llanfihangel y Pennant, Penmorfa, Dolbenmaen, Criccieth, Llangynhaiarn, Treflys, Llanystumdwy, Llanarmon, a Llangybi (*Myv. Arch.*, p. 741). Ac ym mhlwyf Llangynhaiarn (neu Ynyscynhaiarn) y saif Bron y Foel, hen gartrefle Ieuan ap Einion; yr hwn sydd er yr llawer dydd bellach wedi ei droi o fod yn balasdy i amaethdy cyffredin.

[7] "Rhent hafaidd aur yn Tyfy
Aerdudwy aeth ar dy Dŷ."
*Add. MS.*, 14,964.

"Os ein tir sy yn tynu,
Ardudwy aeth ar dy du."
*Piser Hir*

Koed pasgen o nen yn Iaith
Kry dilesc yn kavr dalaith[1]
rwydd a gwych i roddi ged
rowiog walch Irien reged[2]
brig bonedd bro gwnedd[3] gain
blodeuog o blaid owain[4]
ai cheidwad evrwych ydwyd
ai seker oll ai swkwr wyd[5]
ai daioni ymob dinas
ai grym urddeg ai gras[6]
ai tryssor lleir wtressen
ai pont vrddedig ai pen[7]
dewr ach adarn drych ydwyd
dwyfol a chall difalch wyd[8]

Saif Cwmmwd Ardudwy yn y rhan orllewinol o Sir Feirionydd, a chynnwysa y plwyfi a ganlyn :—Ffestiniog, Llanfrothen, Maentwrog, Llandecwyn, Llanfihangel y Traethau, Llandanwg, Llanfair, Llanbedr, Llanenddwyn, Llanddwywe, Llanaber, Llanelltyd, a Trawsfynydd (*Myv. Arch.*, p. 741). Ond rhenir ef yn awr i ddybenion heddynadol i ddau ddosbarth—Ardudwy is Artro ac Ardudwy uwch Artro, y rhai a wahenir gan yr afonig Artro a ymarllwysa i feisfor Ceredigion, ger Llanbedr. Y mae yn awr hefyd ddau blwyf o'r enw Llanddwywe, sef Llanddwywe is y Graig, a Llanddwywe uwch y Graig. Ym mhlwyf Llandanwg y saif Harlech, a thebyg fod rhyw gyssylltiad rhwng Ieuan a'r lle.

[1] "Coed Pasgen o nenn yn iaith
Cry dilesg carw ar dalaith."
*Add. MS.*, 14,964.

Nis gwyddom pa le y mae Coed Pasgen. Ond hysbysir ni fod dau amaethdy o'r enw Nant Pasgen uchaf, a Nant Pasgen isaf, ar y mynydd rhwng Trawsfynydd a Talsarnau; ac fod nant o'r enw Nant Pasgen yn eu hymyl.

[2] "Rhwydd a gwŷx y rhoddai gêd
rhywiog-walx Urien Rheged."
*Add. MS.*, 14,964.

Olrheinir (*Brython*, cyf. iii., tudal. 287) achau Ieuan ap Einion, i Collwyn ab Tangno ab Cadfael, ab Ludd Gwyn, ab Llew, ab Llyminod Angel, ab Pasgen ab Urien Reged.

[3] "Gwynedd."
*Add. MS.*, 14,964.

[4] Owain Glyndwr, mae'n debyg—Ieuan yn bleidiwr iddo.

[5] "Ei xeidwad eurwyx ydwyd
ei seccer oll ai swcr wyd."
*Add. MS.*, 14,964.

[6] "Ai daioni ymhob dinas
ei grym urddedig a'i grâs."
*Add. MS.*, 14,964.

[7] "Eu trysor lle'r wttresen
Eu pont urddedig au pen."
*Add. MS.*, 14,964.

[8] "Dewr a xadarn dryx ydwyd
dwyfawl a xall difalx wyd."
*Add. MS.*, 14,964.

Kynheiliad ar dyfiad Ion
chwilog avr ddoniog ddynion[1]
Kaer fawr rag gwyr o foroedd
kost llai yn y kastell oedd[2]
llys ffwg a llawes y ffordd
llety yn braff lled hen brifffordd[3]
kwrt hynod is llyn frodir
kell y gwin kellewic ir[4]
mae daioni y myw dynion
at hil y fan aylwyd hon[5]
llawn wych frenhinlle hynod
llety r gler llei tarier glod[6]
llewych y drych y drychwn
lliw dy frig fal kerig hwn[7]
kynheiliad ych tad ich ty
kan hanedd i kawn hyny[8]
treiaist avr tros dy werin
tyny holl waed tvnell win[9]

[1] "Cynheiliad ar dyfiad ion
Xwilog aur ddoniog ddynion."
*Add. MS.*, 14,964.

Dysgrifir Ieuan ap Einion gan rai achyddwyr fel o "Fron y Foel a'r Chwilog."

[2] "Caer fawr rhag gwyr o Voroedd
Cost llai yn y castell oedd."
*Add. MS.*, 14,961.

[3] "Llys ffŵg yn llawes y ffordd
Lletty yw braff lled brifffordd."
*Add. MS.*, 14,964.

Cymhara Iolo lys Ieuan i eiddo Syr Ffowc Fitz-Warine.

[4] "Cowrt hynod is llyn Crodir
cell y gwin Celliwig ir."
*Add. MS.*, 14,961.

"Llyn frodir."—*Piser Hir.*

Nis gwyddom pa le mae Llyn Frodir na Llyn Crodir; ond y mae yn debyg mai at lys y brenin Arthur yng Nghernyw y cyfeirir trwy nodi Celliwig.

[5] "Mae daioni mwy Dynion
at hil Iefan aelwyd hon."
*Add. MS.*, 14,964.

[6] "Llawnwyx frenhinlle hynod
Lletty'r glêr lle taria y glod."
*Add. MS.*, 14,964.

[7] "Llewyx fal dryx edryxwn
lliw dy frig fal cerrig hwn."
*Add. MS.*, 14,964.

[8] "Cynheiliad eix tad ix tŷ.
can hanedd i cawn hynny."
*Add. MS.*, 14,964.

[9] "Treiaist aur tras dy werin
tymy holl waed tunnell o win."
*Add. MS.*, 14,964.

"Tynnu holl waed tunell o win."—*Piser Hir.*

tryssor mawr i ragor wyd
tros wledydd trossol ydwy[1]
tor di gwys mewn troydeg avr
tad arwyddion tid ruddavr[2]
tyhyrnedd gwynedd i gyd
tror fei trwy wyr o fowyd[3]
tan yn wyd o enav mon
ar gwyr ywchod ywr gwreichion[4]
barwn o wr in bro ni
byw ai o lvd fal beli[5]
trwy faynol tir yfionydd
tra fych a fynych a fydd[6]
gwell ry draws gallv rodri
athir yn does ithran di[7]

[1] "Tryssor mawr i ragor wyd
tros wledydd trassol ydwyd,"
*Add. MS.*, 14,964.

Diffyg y copiwr oedd gadael *d* allan yn "ydwyd."

[2] "Tor di gwys mewn troedog aur
tad arwyddion tid ruddaur."
*Add. MS.*, 14,964.

[3] "Teheyrngedd Gwynedd i gyd
tro'r fei trwy wyr o fowyd."
*Add. MS.*, 14,964.

Mewn ysgriflyfr o eiddo Canon Silvan Evans, ceir y cywydd wedi ei gopio gan Cadben Mounsey, o'r *Add. MS.*, 14,964, gyda darlleniadau ar ymyl y ddalen gan y Canon Evans o un o ysgriflyfrau yr Hengwrt (ym Mheniarth). Ac ar gyfer y ban hwn ceir y darlleniad—"Not teyrnedd Gwynedd i gyd;" hyny yw, Nod teyrnedd Gwynedd i gyd

[4] "Tân ym wyd o enau Môn
o'r gwyr uxod yw'r gwreixion."—*Add. MS.*, 14,934.

[5] "Barwn o ŵr in bro ni
byw ai olyd o Beli."
*Add. MS.*, 14,964.

Nodir amryw wroniaid chwedlonol a hanesiol wrth yr enw Beli—Beli fab Dyfnwal Moelmud, Beli fab Benlli Gawr, Beli Mawr ab Manogan, a Beli ab Rhun ab Maelgwn Gwynedd.

[6] "Trwy faenol tir Eifionydd
tra fyx a fynyx a fydd."
*Add. MS.*, 14,934.

[7] "Gwell rhydraws gallu Rhodri
na thruan dos oth ran di"
*Add. MS.*, 14,964

Sylvaen Iaith sy o vlaen neb
Sein daioni syn dwyneb[1]
Swyddog mewn gras wlkassar
Saf ith garn sy fyw ath gar[2]

Iolo goch ai k:

[1] "Sylfaen iaith sy o flaen neb
Sein daioni sy'n d'wyneb."
*Add. MS.*, 14,964.

"Sein" (Seis., *sign*).

[2] "Swyddog mewn grâs wlcasar
Sâf i'th garn sy fyw a'th gâr."
*Add. MS.*, 14,964.

Wlkassar = Iwl Caisar, *Julius Cæsar*.

# VIII.

## CYWYDD YR ACHAU I OWAIN GLYNDWR CYN Y RHYFEL.

---

*(O'r Add. MS., 14,970, fol. 71b).*

Y mae y cywydd hwn yn *Y Piser Hir*; a thybiwn, er nad ydym yn sicr, ei fod hefyd yn *Add. MS.*, 14,971. Byddai yn orchwyl anhawdd penderfynu ei amseriad i sicrwydd; ond tybiwn ei fod yn un o'r rhai cyntaf, os nad y cyntaf oll, a ganodd Iolo Goch i Owain Glyndwr. Os caniateir mai oddeutu yr amser yr oedd Owain gyda'r Brenin Richard II. yn Ysgotland y gwnaed ef yn Farwn, yna gallwn gasglu iddo gael ei gyfansoddi yn fuan ar ol y flwyddyn 1385. Gelwir Owain yn y cywydd yn *Farwn*, ond nis gwyddom i'r brenin roddi uwch teitl na *Syr* iddo. Gallwn dybied hefyd oddi wrth llin. 75 mai newydd briodi yr oedd, onide ni fuasai achos i'r bardd ddymuno iddo "iechyd *a phlant* gwych-heirdd." Y mae yn y cywydd rai llinellau cryfion, yn arddangos gallu y bardd a grymusder ei awen. Ond nid ydyw bron o'r dechreu i'r diwedd ond achres o hynafiaid y gwrthddrych, yn gymmysgedig â sylwadau canmoliaethol; a gofidia Iolo nad yw ei alluoedd ef yn ddigonol i roddi canmoliaeth gyfatebol i haeddiannau Owain. Y mae yr achau a geir yn y cywydd yn ei wneyd yn werthfawr yn gymmaint a'u bod yn cytuno, can belled ag y maent yn myned, â'r taflenau achyddol a dderbynir yn gyffredin. Gwnawn yma ddefnydd o daflenau Gwallter Mechain (*Gwaith*, cyf. iii., tudal. 63-4) er mwyn gosod achau Owain Glyndwr ger bron y darllenydd.

| | | |
|---|---|---|
| **Bleddyn ab Cynfyn, Tywysog Powys.** | **Rhys ab Tewdwr, Tywysog Deheudir Cymru.** | **Gruffydd ab Cynan, Tywysog Gwynedd.** |
| *a* | *b* | *c* |




Yn ei nodiadau ar yr achau hyn, y mae Gwallter Mechain yn beirniadu yn llym ysgrif o waith Mr. William Maurice, o Gevn y Braich, yr hwn oedd yn hynafiaethydd da yn ei ddydd; yn yr hon, ym mhlith pethau ereill, y

dywedir nad oes yn achau Owain yr un Madog Grupl, na Gruffydd Farwn Gwyn, sef y *Madog Gloff* a'i dad, *Gruffydd Fychan*—enwau y rhai a italeiddir genym yn y daflen. Y mae William Maurice a Gwallter Mechain, y naill fel y llall, yn dyfynu o'r cywydd canlynol er profi y ddadl. A chan belled ag yr ydym yn deall, tybiwn mai yr olaf sydd gywir. Pa fodd bynag, ymddengys i ni mai gorchwyl lled anhawdd a fyddai cadarnhau pob rhan o'r achau uchod. Cymmerai ormod o'n gofod i ni fanylu ar yr anghyssonderau Ond gallwn sylwi wrth fyned heibio ein bod yn ammeu yr haeriad a wneir yn gyffredin fod mam Helen (mam Glyndwr) yn ferch i Catherine, merch Llywelyn ab Gruffydd, tywysog Cymru. O blegid hysbysir ni gan ereill mai unig ferch Llywelyn, o'i wraig Eleanor de Montfort, oedd Gwenllian; ac i hono gael ei gorfodi gan Edward I., ar ol marwolaeth ei thad, i dreulio y gweddill o'i hoes mewn lleiandy. Os felly, nis gallasai fod merch gyfreithlawn i Llywelyn wedi priodi Philip ab Ifor, na'i bod yn fam i Eleanor Goch, gwraig Tomas ap Llywelyn ap Owain. Fel y canlyn y sylwa Bridgeman (*Hist. Princes of South Wales*, p. 259) am achau a haniad Owain Glyndwr:—

"Dywedir ei fod yn honi ei hawl etifeddol i Dywysogaeth Cymru am ei fod yn gynnrychiolydd ei hen Dywysogion; yr hwn honiad sydd yn agored i gryn wrthddadl. Yr oedd, fel yr ydym wedi egluro, yn ol pob tebygolrwydd, yn gynnrychiolydd uniongyrch Powys Isaf;—yr oedd, trwy ei fam Elen, merch Thomas ap Llywelyn, yn ddiammheuol, y cydetifedd hynaf i brif linell Tywysogion Deheudir Cymru;—ac y mae yn hollol gredadwy ei fod ef a'i gefnder John, Arglwydd Mawddwy, yn cydgyfranogi âg Edmund Mortimer, Iarll March, yr hawl o etifeddu gorsedd Gogledd Cymru,—nid (fel y priodolir iddynt yn gyffredin) trwy unrhyw ddisgyniad o Catherine, merch ddychymmygol y Tywysog Llywelyn ap Gruffydd,—ond am eu bod yn ddisgynyddion o Angharad, gwraig Maelgwn Fychan ap Maelgwn ap Rhys; yr hon Angharad a'i chwaer Gwladys, gwraig Ralph de Mortimer

oeddynt ferched Llywelyn ap Iorwerth, Tywysog Gogledd Cymru, o'i wraig Joan, merch anghyfreithlawn y Brenin John, a chwiorydd Dafydd ap Llywelyn, Tywysog Gogledd Cymru."

Y mae Bridgeman (*Hist. Princes of South Wales*, p. 250) yn sylwi fod Thomas ap Llywelyn ap Owain—sef tad mam Owain Glyndwr—yn arglwydd rhan o Iscoed Uchirwen [Uch Hirwen sydd gywir], ac un ran o bedair o Gwynionydd; ac iddo farw ryw bryd yn flaenorol i Awst 14, 1343, gan adael ar ei ol dri o blant, sef Owain ap Thomas, Helen (mam Glyndwr), a Margaret, yr hon a briododd yn gyntaf William ap Griffith de la Pole, Arglwydd Mawddwy, ac a briododd wedi hyny Tudur ap Grono, Marchog. Tybia Bridgeman i Owain ap Thomas farw yn ddiblant, yn fuan ar ol y flwyddyn 1355, pryd y rhanwyd ei diriogaethau rhwng ei ddwy chwaer, sef arglwyddiaeth Iscoed a rhan o Gwynionydd i Helen, mam Owain Glyndwr, ac arglwyddiaeth Trefgarn a rhan o Gwynionydd i Margaret.

Mewn perthynas i'r enwau lleol a nodir gan Bridgeman gallwn sylwi mai nant fechan ydyw yr Hirwen a ymuna â'r afon Teifi oddi ar dref Aberteifi, yr hon dref sydd yn Is Hirwen. Y mae Gwynionydd yn ffinio ar yr afonig Cerdin, neu Cerdyn, uwch law Iscoed. Yn Iscoed y mae Llandyfriog.

Myfyrio[1] bum i Farwn
Moliant dyhuddiant[2] i hwn.
Arwyrain[3] Owain a wnaf
4 Ar eiriau mydr i'r euraf

[1] Rhydd y bardd ar ddeall mai nid cyfansoddiad difyfyr mo hwn; ond ei fod wedi bod yn destyn ei fyfyrdod am amser.

[2] Y mae yn lled sicr mai nid yn yr ystyr o *heddychu* yr ydym i ddeall y gair "dyhuddiant" yma; o blegid nid oes grybwylliad am unrhyw anghydwelediad blaenorol. Y syniad yn ddiammeu yw ei fod yn canu er ei *adloniant*.

[3] "Arwyrain"=mawlgerdd.

Beunydd nid naddiad gwydd gwern[1]
Pen saerwawd pen y sirwern,
Pwy ynglawr holl Faelawr hir
Paun rhwy Glyn Dyfrdwy dyfrdir
Pwy ni dylai pebai[2] byd
Pwy ond Owain paun diwyd ?
Y ddwy Faelawr[3] mawr eu mâl
Eithr efo a Mathrafal.[4]
Pwy a ostwng Powysdir[5]
Pe bai gyfraith a gwaith gwir
Pwy'n eithr y mab Pennaethryw
Owain Gruffudd Nudd[6] yn yw.
Ap Gruffudd llafnrudd y llall
Gryfgorph cymmen digrifgall

[1] Gallem dybied oddi wrth y llinell hon fod y grediniaeth yng nghylch yr hyn a ddywedir mewn cyssylltiad â Choelbren y Beirdd mor hen ag amser Iolo Goch, sef fod yr hen Gymry yn cerfio, neu yn tori eu cofnodion a'u cyfansoddiadau ar goed. Ond awgryma y bardd yma ei fod yn bwriadu ysgrifenu ei arwyrain ar ryw sylwedd mwy parhaol na gwernen.

[2] Pe bai.

[3] Saif y "ddwy Faelawr" — Maelor Seisoneg a Maelor Gymraeg—o'r ddau tu i'r afon Dyfrdwy. Perthyna y flaenaf i'r rhan raglawol o Sir Fflint, tra y mae yr olaf yn cynnwys Cantref Bromfield, yn Sir Ddinbych. Hysbysir ni yn y *Myv. Arch.*, pp. 742-3, fod Maelor Seisoneg yn cynnwys "Plwyv Bangor, Y Gwrddymp, Hangmer, ac Wrtyn Vadoc;" a Maelor Gymraeg yn cynnwys "Rhiw Vabon, Y Bistog, Y Marchwiail, Gwrecsam, Y Gresffordd, a Yr Holt."

[4] Mathrafal sydd drefgordd a chantref yn Sir Drefaldwyn. Hyd y gwyddom, nid oedd unrhyw ranau o'r ddwy Faelor na Mathrafal ym meddiant Owain Glyndwr, ond buont ym meddiant hiliogaeth Bleddyn ab Cynfyn, o'r rhai yr hanai Owain.

[5] Tebyg fod yma gyfeiriad at ryw orthrwm ag y tybiai y bardd y dylid ei ddarostwng, yn gystal a chyfeiriad daroganol mai Owain a fyddai y gŵr i wneyd hyny. Er cymmaint a ymffrostir gan y beirdd ym mhob oes eu bod yn wŷr heddwch, yr ydym yn cael fod y mwyafrif o honynt gynt yn annog i ryfel; ac yr oedd Iolo felly yn llawn cymmaint a neb.

[6] Cyffelybir Owain yma i Nudd, fab Senyllt ab Cedig ab Dyfnwal Hen ab Ednyfed ab Macsen Wledig, a flodeuai yn y chweched ganrif; a'r hwn a restrir yn y Trioedd fel un o "Dri Haelion Ynys Prydain."

Gorwyr Madog[1] Iôr Mendeingl[2]
Fychan yn ymseingan seingl,
Goresgynnydd[3] Ruffydd rwydd
Maelawr gywirglawr Arglwydd
Hil Madog hir oediog hen[4]
Gymro ger hoywfro Hafren
[5]Hil Fleddyn[6] hil Gynfyn gynt
Hil Addaf[7] ddewr hael oeddynt

[1] Madog, tad Gruffydd o'r Rhuddallt. Gwraig Madog oedd Gwenllian, merch Ithel Fychan, Arglwydd Mostyn yn Tegeingl, ab Ithel Llwyd, ab Ithel Gam. (*Hist. Powys Fadog*, vol. i., p. 196; *Arch. Cambr.*, 1884, p. 290). Yr oedd yn Arglwydd Glyndyfrdwy a hanner Cynllaith; a bu farw Tachwedd 11, 1306.

[2] Mud-eingl ( = *dumb-Angles*)? Hysbysir ni fod y fan y safai palasdy Owain Glyndwr yng Nglyndyfrdwy yn myned dan yr enw "Pwll Eingl" (*Gwaith G. Mechain*, vol. iii., p. 66).

[3] "Goresgynnydd Ruffydd . . . . Maelawr" = y pummed mewn disgyniad o Gruffydd Maelawr. Ar y geiriau hyn y mae y ddadl yn troi rhwng Gwallter Mechain a William Maurice. Y cwestiwn ydyw pa un ai Owain Glyndwr ynte Madog Fychan a feddylir wrth y "goresgynydd." Os gadewir allan Madog Gloff a Gruffydd y Barwn Gwyn o'r achres, nis gallasai nag Owain na Madog fod yn *oresgynydd* i Gruffydd Maelawr—o blegid buasai Owain yn chweched, a Madog yn drydydd, mewn disgyniad. Ond os rhoddir yr enwau a nodwyd i mewn, yr oedd Owain yn wythfed, a Madog yn bummed, mewn disgyniad—ac felly yn "oresgynydd"—o Gruffydd Maelawr. Felly, Gwallter Mechain oedd yn gywir. Bu farw Gruffydd Maelawr yn y flwyddyn 1190; a chludwyd ei gorff o Gastell Dinas Brân, lle y preswyliai, i Meifod i'w gladdu.

[4] Madog ab Meredydd ydyw yr un y cyfeirir ato yma. Bu yn dywysog Powys Fadog o 1130 hyd ei farwolaeth yn 1159. Yn ol "Parthau Cymru" (*Myv. Arch.*, p. 735), cynnwysai Powys Fadog y cymmydau a ganlyn :— Dinmael, Edeyrnion, Glyndyfrdwy, Ial, Ystrad Alun, yr Hob, Merford, Maelor Gymraeg, Maelor Saesneg, Croes Faen, Tref y Waun, Croesoswallt, Mochnant Is Rhaiadr, Cynllaith, a Nantheudwy. Yng ngwyneb hyn yna y mae yn anhawdd deall meddwl llin. 24. Nid oedd tywysogaeth Madog yn ffinio ar yr Hafren; ond yr oedd yn briodol am Meredydd ei dad, yr hwn oedd yn dywysog ar y ddwy Bowys.

[5] Ai ni ddylai llin. 27-28 gael eu gosod o flaen llin. 25?

[6] Bu Bleddyn ab Cynfyn yn llywodraethu Powys o 1064 hyd 1073, pryd y cafodd ei ladd mewn brwydr.

[7] Nid oes llawer o newydd-deb yn y llinell hon, o blegid tybir yn gyffredin fod yr oll o ddynolryw yn hanu o Adda. Pa "Addaf" a feddylir?

Hil Faredudd rudd ei rôn[1]
28 Tëyrn carneddau Tëon[2] Tëon ?
Hil y Gwinau dau frauddwyd[3]
Hil Pywer lew fy llew llwyd,[4]

[1] Rhon = picell. "Rudd ei rôn" a gyfeiria at anianawd ryfelgar Meredydd ab Bleddyn; ac yn ol yr hanes sydd genym am dano yr oedd yn rhyfelwr dewr a llwyddiannus, ond yn un lled greulon. Olynodd ei dad, Bleddyn, fel tywysog Powys; ac ar ol ei farwolaeth ef rhanwyd y Dywysogaeth yn ddwy;—y naill ran i'w ŵyr, Owain Cyfeiliog (mab i'w fab Gwenwynwyn), yr hon a alwyd yn Powys Wenwynwyn; a'r rhan arall i'w fab Madog, yr hon a alwyd yn Powys Fadog.

[2] Dywedir wrthym fod Teon yn blodeuo yn y bummed ganrif. Yn ol yr achau (*Hist. Powys Fadog*, vol. i., p. 306-7) yr oedd Bleddyn ab Cynfyn, ac mewn canlyniad Owain Glyndwr, yn hanu o hono. Ceir y manylion a ganlyn am Tëon yn *Iolo MSS.*, p. 129:—"Teon Sant, ap Gwinau da i freuddwyd, ap Byrlew, ap Bywdeg, ap Rhun Rhuddbaladr, ap Llery, ap Casnar Wledic, Gloyw Gwlad lydan, ap Lludd, ap Beli Mawr, Sant oedd ef ag Escob yng Nghor Illtud, a gwedi hynny Escob yng Nghaerloyw, a gwedi hynny Archescob yn Llundain, ag oddi yno y gyrrwyd ef gan y Saeson Paganiait, yna ydd aeth i Lydaw."

Geilw Mr. Richard Williams ef yn Teon o Guilsfield; a dywed ei fod yn un o hynafiaid Llewelyn o'r Trallwng, ac fod y *Stiperstones*, ar gyffiniau Sir Amwythig, hyd y dydd hwn yn cael eu galw, ar ei ol ef, yn *Garneddi Teon* (*Mont. Worthies*, p. 125). Saif y mynydd a elwir *Stiperstones* ym mhlwyf Worthen, yn Sir Amwythig. Ac y mae y talpiau o greigiau a ymsythant arno yn ffurfio arddangosiad nad oes yn Lloegr ei gyffelyb. Nis gallwn ar hyn o bryd ddyfalu pa ham y daeth i gael ei alw yn *Garneddi Tëon*; ac y mae cryn anhawsder yn perthyn i'r enw Seisoneg — *Stiperstones*. Yn ol nodyn a ymddangosodd yn *Bye-Gones* (Mai 30, 1894) rhoddid arno yr enw o *Stenufretames* yn amser Harri III.; ac y mae Eyton yn defnyddio y ffurfiau *Stenufretames*, *Teynfrestanes*, *Stenufrestanes*, *Tenefrestanes*, a *Tenfrestanes*. Ac awgrymir ei fod yn tarddu o *Stipele*, Anglo-Sacson am *twr*; a *stan*, Anglo-Sacson am *gareg* neu *graig*, ac mai yr ystyr ydyw *Tower Stones*. Pa fodd bynag, yn ol yr *Hanesyn Hên*, llinell Cadell oedd yn Guilsfield—"Cadelling o Gegidfa ym Mhowys."

[3] Gwinau da'i freuddwyd—tad y Tëon a nodir uchod; ac yn ol y nodiadau a geir ar ddiwedd *Barddoniaeth Dafydd ab Gwilym*, p. 538, yr oedd yn frenin Prydain. Cyfeiria Dafydd ab Gwilym (tudal. 449), ato fel y canlyn—yn ei awdl i Hywel ab Tudur, Deon Bangor:—

"Sain Sud un ffunud, ffyniwyd o genedl
Y Gwinau Dau-freuddwyd;
Sain Silin, Ffransis aelwyd,
Salm Sant *Elien*, gwr llen llwyd."

[4] Er mwyn deall meddwl y llinell hon, cofier mai enw personol

Hil Ednyfed[1] lifed lafn
Hil Uchdrud[2] ddewr hael wychdrafn
Hil Dewdwr Mawr[3] gawr gwerin
Heliwr gweilch heiliwr y gwîn
Hil Maig Mygrfras[4] gwas gwaywsyth
Heirdd fydd ei feirdd oi fodd byth
Hawdd ammor Por eurddor pert
Hwyl raccw 'm mrwydr hil Riccert
Barwn mi a wn ei ach
Ni bu Barwn bybyrach
Anoberi[5] i un Barwn
Eithr y rhyw yr henyw hwn.

ydyw "Pywer lew." Dywedir wrthym (*Cymmrodor*, vol. x., p. 85) fod Iorwerth Hirvlawdd yn fab i Tegonwy ab Teon ab Gwinau Dau Vreuddwyd ab Powyr Lew ab Bywdeg ab Rhûn Rudd Baladr ab Llary ab Casnar Wledig ab Lludd ab Beli Mawr. Gelwir *Powyr Lew* neu *Pywer Lew*, yn yr *Iolo MSS.*, yn *Byrlew*.

[1] Methasom a gwneyd allan y cyssylltiad oedd rhwng Ednyfed ag achau Owain Glyndwr.

[2] Uchdryd oedd fab i Edwin ab Goronwy, tywysog Tegeingl. Yr oedd Owain Glyndwr yn disgyn o hono ef trwy i Gwenllian, merch Ithel Fychan, briodi Madog (Gwel nodyn ar llin. 19). Ithel Fychan ab Ithel Llwyd, ab Ithel Gam, ab Meredydd, ab Uchdryd.

[3] Y mae Iolo yma yn cyfeirio at ddisgyniad Owain o Tewdwr Mawr. Gwel yr achres.

[4] "Maig Mygotwas," mae'n debyg; yr hwn, yn ol Pughe (*Cambrian Biography*) oedd gymmeriad dych-ymmygol; ond dywed Williams (*Eminent Welshmen*) ei fod yn fardd. Cyfeirir ato yn "Chwedlau'r Doethion" (*Iolo MSS.*, p. 255), lle y dywedir :—

"A glywais ti chwedl Mygotwas
Mawr wybodau ym Marddas ?
Ys drwg y ceidw y diawl ei
wás."

Yn y Trioedd (*Myv. Arch.*, p. 393), rhestrir Anan, merch "Meic mygotwas," fel un o'r "teir gohoyw riein Ynys Prydain." Ac ym-ddengys fod Maig Mygotwas yn frawd i Brochwel Ysgythrog :— "Gutuyl *verch* vrach*an* g6reic kynger mab kynwa6r. a mam broch-uael yscithra6c. a mam veic meng-6rac. a man sanant gwreic vallg6n" (Achau yn *Y Cymmrodor*, vol. viii., p. 83, wedi eu cymmeryd o *Jes. Coll. MS.*, 20).

[5] "Anoberi" = diwerth, neu ychydig werth. Nid oedd Iolo yn ystyried yr un Barwn yn werth son am dano, os na fyddai ei haniad o linachau urddasol — fel yr oedd Owain Glyndwr.

Gorwyr dioer gair dwyrain
Gwenllian[1] o Gynan gain
Medd y ddwy Wynedd[2] einym
Da yw a gatwo Duw ym;
Wrth bawb ei ortho ai bwyll
Arth o Ddeheubarth hoywbwyll
Cynnyddwr pob cyneiddwng[3]
Cnyw[4] blaidd y rhyw cenau blwng
Pestl[5] cad ag arglwydd-dad glew
Post[6] ardal Lloegr pais durdew,[7]
Edling[8] waed o genhedlaeth
Yw ef o ben Tref y Traeth[9]
Ei gyfoeth ef ai gofyn
Tref garn[10] oi farn ef a fynn

[1] Y Gwenllian hon oedd ferch i Gruffydd ab Cynan, tywysog Gwynedd, a gwraig i Gruffydd ab Rhys ab Tewdwr, tywysog Deheubarth (Gwel yr achau uchod). Enwogodd Gwenllian ei hun trwy ei dewrder yn arwain y milwyr allan yn erbyn Maurice de Londres, arglwydd Cydweli, yr hwn a gasglodd filwyr i ymosod ar diriogaethau Gruffydd ab Rhys, yn ystod ei absennoldeb. Pa fodd bynag, daliwyd Gwenllian, a thorwyd ei phen!

[2] Gwynedd uwch Gonwy a Gwynedd is Gonwy. Cyfieithir llin. 45-46 gan Dr. W. O. Pughe (*Geiriadur*, s.v. "Ein") fel hyn:—"The mead of the two Gwynedds is *ours*; it is good what God preserves for me."

[3] "Cyneiddwng."—Methasom a chael y gair hwn yn ein geirlyfrau.

[4] "Cnyw" = cenaw; neu "ceneu" fel yn y pummed gair yn y llinell. Arferir "cnyw" yn ein dyddiau ni ym mlaenau Brycheiniog am *ebol sugno*.

[5] "Pestl" (o'r Seis. *pestle*) = maluriwr.

[6] "Post" (Seis.) = colofn.

[7] "Pais durdew" = arfwisg.

[8] Edling = etifedd. Ceir y gair yng Nghyfreithiau Hywel Dda am *etifedd y goron*—"Edlig y6 yr h6n à dyly g6ledycu g6edi y brenin." (*Myv. Arch.*, p. 965.)

[9] Trefdraeth (*Newport*) a saif yn y rhanbarth ogleddol, neu ogledd-orllewinol, o Sir Benfro. A ydym i dybied fod cyssylltiad rhwng hynafiaid mam Owain Glyndwr â'r lle hwn? Y mae o leiaf, yn ol y mapiau, 16 milltir mewn llinell unionsyth rhwng Trefgarn a Trefdraeth.

[10] Trefgarn—preswylfod hynafiaid mam Owain Glyndwr. Gelwid ef yn "Trewgarne Owen," a dywedir gan rai, heb ond ychydig, neu ddim sail, mai yno y ganwyd ef. (Gwel Owen's *Descript. of Penbrokeshire*, p. 106). Yn wir, y mae y ffeithiau yn myned yn erbyn y

Garw wrth arw gwr wrth eraill[1]
Mwyn fydd a llonydd ir lleill
Llonydd i wann rhan iw rhaid
Aflonydd i fileiniaid[2]
Llew is coed[3] lluosawg ged
Llaw a wna llu eniwed,[4]
Llithio brain llethu Brynaich[5]
A llath bren mwy no llwyth braich
Be magwn byw i 'mogor
Genau i neb egin Iôr
Hael eurddrem hwyl awyr ddraig
I hwn y magwn ail Maig,[6]
Tawn tawn goreu yw tewi,
Am hwn nid ynganwn ni[7] i *in al.*
Da daint rhag tafawd daw dydd[8]
Ynghilfach safn anghelfydd

dybiaeth iddo gael ei eni yno. Pe buasai Trefgarn yn perthyn i'w fam, rhyfedd fuasai i wraig Gruffydd Fychan o Glyndyfrdwy a Sycharth fyned i Sir Benfro i roddi genedigaeth i'w mab. Ond yr ydym eisoes (tudal. 158) wedi sylwi mai i ran Margaret ei chwaer y syrthiodd Trefgarn. Saif plwyf Trefgarn yn nosbarth Hwlffordd, Sir Benfro.

[1] Ceir llinellau cyffelyb yn Cywydd Rhif XXVIII., llin. 60-66, a Rhif XXXIV., llin. 89-92.

[2] Defnyddir y gair *mileiniaid* genym ni yn awr yn gyfystyr â dynion ysgeler; ond yn yr ystyr o *gaethweision* y defnyddid ef gan y bardd—*bilain.*

[3] Is Coed—Arglwyddiaeth Iscoed Uch Hirwen—rhan o etifeddiaeth mam Glyndwr—yn ddiammeu a feddylir; o blegid nid oedd cysylltiad rhyngddo â'r lleoedd ereill sydd yn myned dan yr enw Iscoed. (Gwel ein nodiadau ar ddechreu y cywydd hwn).

[4] "Llu eniwed" = llawer o niwed.

[5] "Brynaich" = *Bernicia.* (Gwel Cywydd Rhif III., llin. 28).

[6] Ai Maig Mygotwas (Gwel llin. 35) a feddylir? Wrth "Maig," ynddo ei hun, y golygir *arglwydd,* neu *feistr.*

[7] Y mae y bardd wedi dyfod i'r penderfyniad o'r diwedd nas gall ei awen wneyd chwareu teg â'r testyn; ac yn barnu mai tewi a fyddai oreu iddo.

[8] Nid ydyw y llinell hon ond ffurf arall ar yr hen ddiarheb Gymreig:—"Da yw dant i attal tafod." Ond gallem dybied oddi wrth Gywydd "I Ddavydd Goch," gan Lewis Glyn Cothi (*Gwaith,* tudal. 143), mai Iolo Goch yw tad y ddiarheb:—

"Dwy ŵyl y dywed Iolo
oedd vardd i'w arglwydd evo,

Cael o hwn coel a honnir
Calon is Aeron[1] ai Sir,
Ag iechyd a phlant gwych-heirdd,
Yn Sycharth, Buarth y Beirdd,[2]
Un Pen ar Gymru wen wedd
Ag un enaid gan Wynedd,[3]
Un llygad cymmyniad caith
Ag unllaw yw am Gynllaith.[4]

Iolo Goch ai cant.

'Da daint rhag tavawd, daw dydd,
Yn nghilvach savn anghelvydd';
Da daint rhag tavawd a dau,
Am a wnawn â'm min innau."

Hefyd yr ydym yn cael Ieuan Deulwyn (1450-1490) yn arfer ymadrodd cyffelyb (*Gorch. Beirdd Cymru*, tudal. 147):—

" O bu air heb ei warant,
Goreu dim ei gau â'r dant,
Mae'r ddiareb mor ddyras
Ni bu gu iawn na b'ai gas."

Yn *Myv. Arch.*, p. 843, priodolir y ddiarheb hon i Iolo.

[1] "Is Aeron." Y mae dwy ranbarth yn Sir Aberteifi yn myned dan yr enwau *Is Aeron* ac *Uwch Aeron*.

[2] Pa bryd bynag y cyfansoddwyd y cywydd hwn, yr oedd Owain wedi ennill iddo ei hun y cymmeriad o fod yn hael ac yn garedig wrth y beirdd.

[3] Gallem dybied fod Iolo yn darogan yma y byddai Owain yn *Dywysog* Cymru. Nis gall fod dadl, yn ein tyb ni, nad oedd yr hen fardd yn euog o roddi cryn lawer o'r syniadau gwylltion ym mhen Owain, y rhai wedi hyn a roddasant Gymru ar dân trwy y gwrthryfel.

[4] Saif y rhanbarth a elwir Cynllaith yn Sir Ddinbych, i'r gorllewin i dref ac arglwyddiaeth Croesoswallt, a chynnwysai blwyfi Llansilin a Llanarmon Dyffryn Ceiriog. Rhenid Cynllaith i ddau ddosbarth — Cynllaith Owain a Chynllaith yr Iarll; ac yn y blaenaf y safai Sycharth, palasdy Owain Glyndwr. A gelwir yr afonig sydd yn rhedeg, trwy blwyf Llansilin ac heibio Sycharth, i'r afon Tanat, yn *Gynllaith* (*Owen's Penbrokeshire*, p. 204, note 1.)

# IX.

## CYWYDD I OWAIN GLYNDWR.

---

(*O'r Add. MS., 14,970, fol. 23b.*)

Yn y rhestr o gywyddau Iolo Goch a geir ar amlenau *Greal* Llundain, rhoddir y penawd a ganlyn i'r cywydd hwn :—" Dyvod O. Glandwr o Ysgotland." Gwyddom i Richard II. fyned ar ymgyrch i Ysgotland yn 1385, a gwyddom hefyd fod Owain Glyndwr yn un o'i ganlynwyr yn yr ymgyrch hono. Yn ol rhai haneswyr, arweiniodd Richard ei filwyr can belled ag Edinburgh, pryd y rhoddasant y dref hono ar dân, ond heb weled gwyneb y gelyn o gwbl. (*Annals of England*, vol. i., p. 409; *Penny Cyclop.*, vol. xix., p. 505). Ond yn ol ereill, nid felly y bu. Ym Mai, 1385, pryd yr anfonodd brenin Ffrainc ei filwyr i gynnorthwyo yr Ysgotiaid i wneuthur ymosodiad ar Loegr, ac yr ymunasant yn erbyn Northumberland, aeth y brenin Richard i fyny o Sir Gaerefrog, ac a'u gorfododd i encilio. Croesodd y brenin drosodd i Ysgotland gyda 80,000 o wyr, a llosgodd Edinburgh, Perth, a threfydd ereill; ac yna gorfodwyd yntau i encilio, o blegid hysbyswyd ef fod John de Vienne, Morlywydd Ffrainc, yn gwarchae ar Carlisle. (*Compr. Hist. England*, vol. i., p. 488). Ac yn ol y cywydd canlynol, y mae yn amlwg i ddwy frwydr o leiaf (Gwel llin. 49) gael eu hymladd, ac i Owain Glyndwr ymddwyn yn ddewr yn y brwydrau hyny. Y mae yn amlwg mai yr ymgyrch a nodwyd oedd gan y bardd dan sylw; o blegid y mae y cywydd yn llawn o gyfeiriadau at gyffiniau Ysgotland. Ac nid oes genym hanes i Owain fod yn Ysgotland o gwbl heb law yn yr ymgyrch hono. O bosibl mai oddeutu y pryd hwn, am ryw wrhydri a wnaeth, y crewyd ef yn farchog.

Pa fodd bynag, y mae y cywydd yn werthfawr yn gymmaint a'i fod yn gosod yr amgylchiadau cyssylltedig â'r ymgyrch i Ysgotland mewn lliw cryfach nag a wneir gan haneswyr. Ond nid ydym heb gofio y dylid priodoli rhyw gymmaint i ddychymmyg y bardd.

Mawr o symud a hyd hydr
A welwn ni ar welydr[1]
Archwn i Fair[2] arch iawn fu
Noddi'r bual[3] gwineuddu
Arglwydd Tywyn[4] ar Glynn glwys
Yw'r Power a Ior Powys
Rhwysg y Iarll balch[5] gwyarllwybr
Rhysgyr wyr Llyr ym mhob llwybr
Anoberi un barwn
Ond o'r rhyw yr henyw hwn[6]
Hynod yw henw ei daid,
Brenhin ar y barwniaid.
Ei dad pwy a wyddiad pwy
Ior glyn daiardor[7] Dyfrdwy
Hiriell[8] Gymru ddihareb
Oedd ei dad yn anad neb

[1] Y mae y bardd, megys trwy ddrych, yn gweled amser terfysglyd o'i flaen.

[2] Cyfeirir yma at yr arferiad o weddio ar Mair.

[3] "Bual" = ych gwyllt (*buffalo*), yn dynodi nerth. Defnyddid y gair hwn yn fynych gan y beirdd fel enw canmoliaethol ar eu harwyr.

[4] Gallem dybied mai Sycharth a feddylir—Tygwyn?—am, fe allai, ei fod gan mwyaf wedi ei wneyd o goed. Yn ol Geiriadur Richards, Llangrallo, golyga "tywyn," ym mhlith pethau ereill,—*brightness, splendour, shine*.

[5] O bosibl mai John Stewart, Iarll Carrick a feddylir. Yr oedd Stewart ar adeg ymweliad Richard II. ag Ysgotland, yn 1385, yn gweithredu fel rhaglaw y wlad hono (*Imp. Gazetteer of Scotland*, art. "Edinburgh.")

[6] Ceir llin. 9-10 yn Cywydd Rhif VIII., llin. 41-42.

[7] Wrth "ddaeardor," yn ol y Dr. W. O. Pughe, y golygir "*A breaking of the earth.*"

[8] "Hiriell" = goleuni, llewyrch, &c.—tad Owain yn oleuni Cymru! Crybwyllir am ei dad—Gruffydd Fychan—yma yn yr amser gorphenol. Dywedir gan Bridgeman (*Hist. Princes of South Wales*, p. 253) iddo gael ei wneyd yn un o fwrdeisiaid yr Amwythig fel aelod

Pwy bynag fo'r Cymro call
Beth orau gwn beth arall
Goreu mab rhwng gwr a main [1]
O Bowys fuddlys feddlain
Oes un mab yn adnabod
Caru cler goreu y cair clod
Ni fyn i un ofyn iach
Ei feibion[2] ni fu fwbach
Ni ddug degan o'i anfodd
Gan fab onid gan ei fodd
Ni pheris drwy gis[3] neu gur
Iddaw ai ddwylaw ddolur
Ni chammodd fasnach amhwyll
Cymmain a bw[4] cymmen bwyll.
Pan aeth y gwr fal aeth gwrdd[5]
Goreugwr fu garw agwrdd,

o Gymdeithas y Teilwriaid—"Griffin de Glyndorde, taylor"—yn 21 Richard II. (1397-8), ac awgryma mai at Owain Glyndwr y cyfeirir. Ond y mae "Griffin" yn debycach i *Gruffydd* nag i *Owain*. Os felly, bu Gruffydd Fychan fyw o leiaf ddeuddeng mlynedd ar ol ymweliad Owain ag Ysgotland. Hwyrach na ellir ystyried geiriau y bardd fel yn brawf pendant fod Gruffydd wedi marw.

[1] Pa beth sydd i'w ddeall wrth "rhwng gwr a main" yma? Wrth "main" y golygir *meini*; "*Main*" hefyd ydyw enw tref ddegwm ym Meifod; ac y mae mynydd o'r enw "*Gwrn* Moelfre" ym mhlwyf Llansilin. Felly, ai nid "goreu mab rhwng Gwrn a Main" a feddylir?

[2] Os am ymweliad Owain ag Ysgotland y mae y bardd yn canu, y mae yn amlwg mai at feibion ei dad — sef Owain a'i frodyr — y cyfeirir yma. O blegid os oedd gan Owain feibion o gwbl y pryd hwn, nis gallent fod amgen na babanod.

[3] "Gis" = ergyd. Yr ydym wedi cyfarfod â'r gair hwn o'r blaen (Gwel Cywydd Rhif III., llin. 42). Ceir y gair gan Ieuan Brydydd Hir (*Gwaith*, tudal. 82):—

"Rhoed cis i Lewis, lywydd caethion,
Rhoed cis i Baris o burion ynni."

Saif amaethdy o'r enw Llwyn Cŷs rhwng Garth a Beulah, yn Sir Frycheiniog.

[4] Tybiwn mai yr hyn a feddylir yma ydyw, nad oedd ystwr y gelynion yn peri mwy o ddychryndod i Owain nag oedd eu dyrnodion yn effeithio ar ei gorff.

[5] "Gwrdd" = cryf a llawn o frwdfrydedd = gwrol. Y mae y bardd yn niwedd y llinell ddilynol yn ail ddyweyd ei hun—"agwrdd."

Ni wnaeth ond marchogaeth meirch
Goreu amser mewn gwrymseirch[1]
Dwyn paladr gwladr gwiwlew
Sioged[2] dur a siacced dew,
Arwain rest[3] a phenfestin[4]
A helm wenn gwr hael am win[5]
Ag yn ei phēn nenn iawnraifft
Adain rudd o edn yr Aifft
Goreu sawdiwr gwrs ydoedd
Gyda Syr Grugor[6] ior oedd
Ym Merwig herwdrig hwyrdref
Maer i gadw'r gaer gydag ef
Gair mawr am fwrw y gwr march
A gafas pan fu gyfarch[7]
A gwympodd ef yn gampus
I lawr ai aesawr[8] yn us
Ar ail brwydr[9] bu grwydr brid
A dryll ei wayw o drallid

[1] "Gwrymseirch" = rhyfelwisg. Gwel tudal. 102, nodyn 1.

[2] "Sioged" = durdorch = *the ring of an habergeon*?

[3] "Rest"—lle rhoddir y wayw-ffon i orphwys. Defnyddir y gair gan Lewis Glyn Cothi (*Gwaith*, tudal. 194) :—

"Y gwr hir a'r gwayw o'r rhest
Yn ei gyrch a wna gorchest."

[4] "Penffestin" sydd enw arall ar *helm*.

[5] Ymgais am gynghanedd ag odl ydyw yr unig reswm a welwn dros ddwyn i mewn y rhan olaf o'r llinell. Lled gymmysglyd ac ammherthynasol yw son am haelioni Owain yng nghanol dysgrifiad o'i ddiwyg filwrol.

[6] Ar ol chwilio llawer, methasom a chael allan pwy oedd Syr Grugor. Yr oll a allwn ddyfalu ydyw ei fod yn un o lwyth Macgregor, yr hwn, ar ol cael ei alltudio gan Frenin Ysgotland, a ddaeth i gynnorthwyo y fyddin Soisonig. Ond nid ydyw hyn ond tybiɹeth. O ran a wyddom ni, gallai mai rhyw Sais o'r enw Gregory ydoedd.

[7] Wrth "gyfarch" yma y golygir pan ddaethant at eu gilydd—o fewn cyrhaedd siarad.

[8] "Aesawr yn us"—gwnaed ei darian yn fân fel us.

[9] Sylwer—"Ar ail brwydr," yr hyn sydd yn hollol wahanol i adroddiad yr haneswyr am yr ymgyrch i Ysgotland.

Cof cyfliw[1] heddyw yw hynn
Canllaw brwydr can holl Brydyn[2]
Pobl Brydain yn druain draw
Pob drygddyn pawb dioer rhagddaw
Yn gweiddi megis gwyddeifr
Gyrrodd fil garw fu i ddeifr[3]
Mawr fu'r llwybr drwy crwybr crau
Blwyddyn yn porthi bleiddiau,
Ni thyfodd gwellt na thafol
Hefyd na'r ŷd ar ei ôl
O Ferwig[4] Seisnig ei sail
Ir Ysbwys hydr fu'r ysbail.

Iolo Goch ai cant.

[1] "Cyfliw" (cyfedliw) = dannod i'w gilydd. Gwel Cywydd Rhif III., llin. 23-24.

[2] "Prydyn" = Ysgotland.

[3] "Deifr" = *Deira*. (Gwel Cywydd Rhif III., llin. 28, nodyn.)

[4] Berwig = *Berwick-upon-Tweed*.

# X.

## I OWAIN GLYNDWR.

---

(*O Lyvr Huw Lleyn—Add. MS., 14,967, fol. 17*).

Y mae y cywydd hwn i'w weled hefyd yn *Add. MSS.*, 14,970, 14,971, 14,997; a'r *Glanyrafon MS., A.* Y mae hefyd yn argraffedig yng *Ngorchestion Beirdd Cymru*, tudal. 114; *Ceinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 17; *Hist. Powys Fadog*, vol. i., p. 217; ac y mae Mr. H. W. Lloyd yn ei roddi yn *Y Cymmrodor*, vol. v., p. 264, gyda chyfieithiad i'r Seisoneg. Ond nid ydyw Mr. Lloyd yn dilyn unrhyw ysgriflyfr, eithr yn pigo o ryw dri neu bedwar, ac heb fod yr un fath a neb. Rhydd hyn gyfrif pa fodd y mae ei gywydd ef yn cynnwys 96 o linellau; gan ei fod yn rhoddi i mewn y llinellau a adewir allan yn y gwahanol ysgriflyfrau. Nid ymddengys ychwaith iddo fod yn ddigon gofalus wrth gopïo Yn ychwanegol at a nodwyd, gallwn grybwyll hefyd fod rhydd-gyfieithiad o'r cywydd hwn i'w gael gan George Borrow, yn *Wild Wales*, edit. 1868, pp. 210-11. Yn blaenori y cywydd yn *Add. MS.*, 14,970, ceir y penawd a ganlyn:—"Cywydd i Owain Glyndwr cyn iddo godi mewn rhyfel yn erbyn y Brenin, ag i ganmol Llys Sycharth lle'r oedd y Bardd yn myned wrth wahawdd yn hen wr i aros dros fywyd."

Tybiwn mai rhy brin y mae y cywydd, a'i gymmeryd yn ei ystyr fwyaf llythyrenol, yn cynnwys sail i'r gosodiad olaf a geir yn y penawd hwn. Y mae yn wir ei fod yn cynnwys y fath ymadroddion ag "ynno i trigaf" (llin. 8), ac "i gymryd im bowyd barch" (llin. 9), a'r cyffelyb; ond wedi'r cyfan, dylid cofio mai bardd sydd yn ysgrifenu, ac na ddylid cymmeryd y geiriau yn eu hystyr lythyrenol. Ond credwn fod y penawd yn ddigon cywir mewn perthynas i *amseriad* y cywydd—sef, "cyn iddo godi mewn rhyfel,"—hyny yw, cyn gwanwyn 1400. A phan ystyriwn fod gan Owain amryw

blant (llin. 77-78), gallem dybied nas gallai fod yn llawer cynnarach na'r flwyddyn hono. Hefyd perthynai Owain i lys a gosgordd Richard II., hyd ddiorseddiad y penadur hwnw yn Awst, 1399; ac felly, yn ein tyb ni, cafodd y cywydd ei gyfansoddi yn ystod yr ychydig seibiant a fu ar fywyd Owain rhwng diorseddiad Richard a dechreu y gwrthryfel. Nid oes ynddo yr awgrymiad lleiaf am unrhyw anghydwelediad—arogl gwledd, ac nid swn brwydr sydd yn ei nodweddu. O holl gywyddau Iolo Goch, gellir ystyried hwn yn un o'i oreuon. Y mae y dysgrifiad manwl a rydd o Sycharth, a dull Owain o fyw, yn ei wneyd yn hynod o werthfawr. Canfyddir ynddo y moethusrwydd, y llawnder, y chwaeth, a'r haelioni, a nodweddent lys boneddwr Cymreig ar ddiwedd y bedwaredd ganrif ar ddeg. Gwelir ynddo gipdrem ar fywyd teuluaidd Owain Glyndwr, ei chwaeth mewn adeiladaeth, ei hoffder at amaethyddiaeth a garddwriaeth, a'r dyddordeb a deimlai mewn anifeiliaid, adar, a physgod. A dysgir ni yn y crybwylliad a geir am "Bebyll y Beirdd" (llin. 69) ei fod yn hoff o sain telyn a chân. Mewn gwirionedd, lle ardderchog oedd Sycharth.

Yddewais hyd hyn ddwywaith[1]
Yddewid tec[2] addaw taith
Taled bawb tal hyd y bo
I eddewid a ddawo[3]
[4]Myned eidduned ddain[5]

llwydded mae

[1] "Addewais hyn, do ddwywaith."—*Add.MS.*, 14,970.
"Addewais it' hyn ddwywaith."
*Glan. MS.*, a *G. B. C.*
Tebyg fod "ddwywaith" i'w ddeall mewn ystyr ammhenodol; ac yn golygu *fwy* nag *unwaith*.

[2] "Addewid teg" yn y llyfrau ereill.

[3] "Addewid a addawo."—*Add. MS.*, 14,970.

[4] Yn blaenorı llin. 5 ceir y darlleniadau hyn yn y llyfrau a ganlyn:—
"Pererindawd ffawd ffyddlawn
Perwyl moranwyl mawr iawn."
*Add. MS.*, 14,970, a *Glan. MS.*
"Beth anwyl mae'n bwyth uniawn.
Perwyl mor anwyl, mawr iawn."—*G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

[5] "Myned mau adduned ddain."
*Add. MS.*, 14,970.

Lles syw[1] tu a llys Owain
Yn ddain[2] hyd yno i ddaf
Nid drwc ynno i trigaf[3]
I gymryd im bowyd barch
Gydac ef o gyvarch[4]
Vo all vynnaf uchaf iach
Aur ben kylaer dderbyn kleirach[5]
Klod bod kyd boed alussen[6]
Diwarth hwyl da yw wrth hen

Clywed bod nis cel awen ddiwarth hwyl yn dda wrth hen

" Myned mae adduned ddain."
*Glan. MS.*

Cyfieithir llin. 5-6 gan y Dr. Pughe (*Geiriadur*, s.v. *Ddain*) fel hyn :—

" He is going to the court of Owain,
beneficial is a pure vow."

[1] Lles syw " = *smart gain*. " Lles yw "—yn y llyfrau ereill.

[2] " Ddain " = pur. " Yno yn ddidro ydd af "—yn y llyfrau ereill.

[3] " Nid drwg ag yno trigaf."
*Add. MS.*, 14,970.

Clywsom rai yn sylwi fod y llinell hon yn awgrymu fod Iolo yn bwriadu treulio ei oes o hyny allan yn Sycharth. Ond nid oes unrhyw angenrheidrwydd am briodoli y meddwl hwn iddi, can belled ag y gallwn ni weled. O bosibl na olygir dim mwy na bod y bardd yn bwriadu aros yn hir yno ar yr ymweliad hwnw. Gallwn grybwyll hefyd fod yn rhesymol i ni dybied naill ai bod Iolo wedi ymweled yn flaenorol â Sycharth, neu ynte mai yno y cyfansoddodd y cywydd hwn. Os amgen, pa fodd y gallasai ddysgrifio y lle fel y gwna yma?

[4] " I gymryd i'm bywyd barch
Gydag ef o gydgyfarch."
*Add. MS.*, 14,970.

[5] " Fe all fy naf uchaf ach
Aur ben cler dderbyn cleiriach."—*Add. MS.*, 14,970.

Yr hyn a gyfieithir gan George Borrow fel y canlyn :—

" Thy chief of long lin'd ancestry
Can harbour sons of poesy."

Diammeu mai cyfeiriad at waedoliaeth uchel Owain, ac nid at ei iechyd, a geir yn y llinell flaenaf ; ac y mae y gair " cleiriach " yn y llinell olaf yn awgrymu fod Iolo yn hen ŵr.

[6] " Alussen"=elusen (*Geir. Cymraeg*, D. S. Evans). Os cywir y darlleniad hwn, ystyriai Iolo ei hun yn ddibynol i ryw raddau ar garedigrwydd Owain. Ond y mae y darlleniad yn y llyfrau ereill, yn gystal a'r un ymylddalenol, yn gwahaniaethu :—

" Clywed bod nis cel awen
Ddiwarth hwyl yn dda wrth hên."—*Add. MS.*, 14,970.

Y mae y nodiadau ymylddalenol a geir yma, ac mewn manau ereill yn yr ysgriflyfr hwn, mewn llaw lawer diweddarach.

Yw[1] lys ar ddyfrys y ddaf
Or deukant odidokaf[2]
Llys barwn lle syberrwyd[3]
Lle daw Beirdd aml lle da byd
Gwawr Powys vawr peus vaic[4]
Govyned gwiw a vynaic[5]
Llymar modd ar llun y mae
Mewn eurgylch dwfr mewn argae[6]
Pantar llys pont ar y llynn
Ac un porth lle rai ganpyn[7]
Kyplau gwaith kwplys ynt[8]
Kapoledic[9] pob kwpl ydynt

[1] Nid oedd yr hen feirdd bob amser yn gofalu gwahaniaethu rhwng "I'w" = *to* ag "Yw" = *is*. Yn y llyfrau ereill darllenir :—

"I'r llys ar ddyfrys ydd af."

[2] "Or deucant odidoccaf." *Add. MS.*, 14,970.

Awgryma Cynddelw (*Gorch. Beirdd Cymru*, tudal. 115) welliant ar y gair "deucant," trwy roddi "O dycïant godidocaf"; ond tybiwn mai y meddwl yw fod llys Owain y godidocaf ym mhlith deucant—yn anghydmarol felly.

[3] "Syberwyd."—*Add. MS.*, 14,970. Syberwyd = *Glanwaith*, yn ol fel yr arferir y gair yn Neheubarth Cymru. Ond defnyddir yr un gair mewn ystyr wahanol yn Cywydd Rhif II., llin. 17.

[4] "Beues faig."—*Add. MS.*, 14,970; "beus faig."—*Glan. MS.*

Awgryma Cynddelw fod "peues" yn golygu *gwlad*, neu *drigfan*, a "faig" yn golygu *gyrfa*.

[5] "Gofyniad gwiw a fenaig." *Add. MS.*, 14,970.

Tebyg ai "gofyniad" sydd gywir—Owain yn gofyn i Iolo am ddysgrifio ei lŷs.

[6] Yn ol *Add. MS.*, 14,970, y darlleniad yw :—

"Llyma'r modd a'r llun y mae
Mewn ergylch dwr mewn argae."

A cheir y nodyn a ganlyn gan Iolo Morganwg ar ymyl y ddalen :—"ergylch, a mound, I suppose. I.M." Tybia rhai (*Bye-Gones*, Aug. 30, 1893) fod y dwfr yn cael ei ollwng i mewn i'r amglawdd (*moat*) a amgylchynai Sycharth, trwy bibellau plwm, gan fod yn anhawdd dychymmygu am unrhyw ffordd arall trwy yr hon y gallai fyned iddo. Dywedir fod ychydig o olion yn aros eto o'r amglawdd, yr hwn sydd oddeutu 30 llath o drawsfesur.

[7] "Pand da'r llys pont ar y llyn
Ag unporth lle'r ai canpyn."
*Add. MS.*, 14,970.

[8] "Cyplau sydd cyplhêns ynt."
*Add. MS.*, 14,970.

'Cyplau sydd bob cwplws ynt."—*Glan. MS.*

"Cyplau fydd, bob cwplws ynt."—*C. Ll. G.*

[9] "Kapoledig" = wedi eu llyfnhau? "Cwpledig."—*Add. MS.*, 14,970.

Klochdy padric[1] ffrengic ffrwyth[2]
Kloystr wesmustr klostri *esmwyth*[3] cloau ystwyth
Kynglynrwym pob congl unryw
Kangell aur kynga oll yw[4]
Konglonion yn vron vron vry
Dordor megis dayardy[5]
A ffob un val llun llyngwlm
Sydd yni gilydd yn gwlm[6]
Tai namplad ar vold deunaw numplas [7]
Tai pren glan ar uwch top bob bryn glas[8]

[1] Gwelir yn y llinell hon a'r un ddilynol ei fod yn cymharu Sycharth i Eglwys St. Patrick, yn Nublin, a Mynachlog Westminster, o ran ardderchogrwydd yr adeiladwaith.

Y cynllun Ffrengig, neu Normanaidd, o adeiladu.

[3] Clochdy Padrig Ffrengig ffrwyth
Clostr Westmastr clöau ystwyth."
*Add. MS.*, 14,970.

[4] "Cafell o aur cyfoll yw
Cynglynrwym pob congl unrhyw."—*Add. MS.*, 14,970.
"Cynglyn rhwym pob congl unrhyw
Cafell aur cyfa oll yw."
*Glàn. MS.*

[5] "Cynglynion yn y fron fry
Dordor megis daeardy."
*Add. MS.*, 14,970.

[6] "A phob un fal llun llyngwlm
Sydd yn ei gilydd yn gwlm."
*Add. MS.*, 14,970.

Awgryma Mr. H. W. Lloyd (*Y Cymmrodor*, vol. v., p. 267) mai "llyng-glwm" = *compact as a ship*, a feddyliai y bardd, ac nid "llyngwlm."

[7] Y mae "deunaw" yn llin. 35, ac "uwch top" yn llin. 36, wedi eu hysgrifenu mewn llaw ddiweddar oddi ar y llinellau.

Nid oes genym y ddirnadaeth leiaf am feddwl y llinell hon; ac nid yw y darlleniadau ereill yn cynnorthwyo dim arnom:—

"Tai Napl ar follt deunaw plas."
*Add. MS.*, 14,970.
"Tai nawplas folt deunawplas."
*Glan. MS.*
"Tai Napl ar folt deunawplas."
*G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

Awgrymir mai "cynllun Naples" o adeiladu a feddylir wrth "Tai Napl" (*Y Cymmrodor*, vol. v., p. 269); ond yn anffodus i'r dybiaeth hon nid ydynt, ac nid oeddynt (os nad yn eithriadol) yn adeiladu tai ar golofnau yn Naples. I Venice y perthyna y dull hwn o adeiladu. (*Notes and Queries*, March 17, 1894).

[8] "Ty pren glan mewn top bryn glas."—Yn y llyfrau ereill.

Awgryma y llinell hon mai coed, ac nid meini, oedd defnydd corff yr adeilad.

Ar bedwar piler[1] eres
Mae i lys ef i nef ynes[2]
Ar benn[3] pob piler pren praff
Llofft[4] ar dalgrofft adeilgraff
Ar bedair llofft o hoffter
Yn h/gyd oor clyd lle i cair/gwsc lle kwsc kler[5]
Aeth y pedair disgleirlofft
Nythlwyth tec iawn yn wythlofft[6]
To teilys penn pob ty talwc[7]
Simneiai lle magair mwc[8]

[1] "Piler" (Seis. *pillar*) = colofn.

[2] "Ei lys ef i nef yn nes."
*Add. MS.*, 14,970.

[3] "Ben."—*Add. MS.*, 14,970.

[4] "Loft."—*Add. MS.*, 14,970.

[5] "Ar pedair lloft o hoffder
Ynghyd gwpplas lle cwsc
cler."—*Add. MS.*, 14,970.

[6] "Aeth y pedair ddisclairlofft
Nyth lwyth teg iawn yn wyth
lofft.—*Add. MS.*, 14,970.

Ysgrifena Iolo Morganwg ar ymyl y ddalen gogyfer a'r darlleniad hwn fel y canlyn —

"Nythlwyth teg iawn yn wyth
lofft

but this is wrong. I.M." Yn y *Glan. MS.*, ceir :—

"Wych lwyth teg iawn yn wyth
lofft."

[7] "To teil ar bob ty talwg."
*Add. MS.*, 14,970.

"To teils ar bob ty talwg."
*Glan. MS.*

"Teils" yn Sir Drefaldwyn y gelwir y llechau tewion, geirwon, a dinâdd, y rhai a welir ar hen dai ac ysguboriau. Ond yn Neheudir Cymru, o leiaf yn Sir Benfro, "teils" y gelwir y llechau nâdd (*slates*) a ddefnyddir i doi tai. Diammeu nad oedd dim ond ceryg geirwon i'w cael ym mhell ar ol amser Iolo Goch; a thybiwn mai gwellt, rhedyn ,neu frwyn, a ddefnyddid i doi yn fwyaf cyffredin yn yr oes hono. Y mae Ieuan Gethin, yr hwn a flodeuai o gylch 1450, yn "Marwnad Ieuan Döwr" (*Gorch. Beirdd Cymru*, tudal. 143) yn sylwi :—

"Na thöed henwaith Ywain,
Na thöer mwy eithr â main."

Yr hyn a olyga, mae'n debyg, mai nid â llechau y byddai Ieuan yn arfer toi.

[8] "Simnai lle ni'm mogai mwg."
*Add. MS.*, 14,970.

"Simneiai ni fagai fwg."
*Glan. MS.*

Sylwai yr Archddiacon Thomas yn ddiweddar *Bye-Gones*, Aug. 30, 1893) iddo ef fethu a chael prawf o fodolaeth simneiau cyn yr eilfed ganrif ar bymtheg ; ac ychwanega, yr arferai y bobl wledig yn flaenorol i hyny gynneu y tân ar ganol y llawr, gan adael i'r mwg ymweithio allan fel y gallai trwy y tô, &c. Ond dengys y cywydd hwn fod eithriadau. Yn "Englynion Eiry Mynydd" (*Myv. Arch.*, p. 358) cyfarfyddwn â *corn mwg* :—

"Eira mynydd gwyn corn mwg
Hoff gan leidr dywyllwg."

Naw nevadd govladd gyvlun[1]
A naw gwardrob[2] ar bob vn
Sioper glan glwys yn kynwys kain[3]
Siop lown dec val Siep lundain[4]
Kroes eglwys gylchlwys galchliw[5]
Kapelav a *gwyrthiau* gwiw[6] *gwydrau* A
[7]Melin dec ar ddivrec ddwr[8]
Ai glomendy gloyw maendwr

[1] "Cofladd cyflyn."—*Add. MS.*, 14,970 — yn golygu, mae'n debyg, *helaeth* ac *unffurf*.

[2] "Wardrob."—*Add. MS.*, 14,970 —dilladfa (= *wardrobe*).

[3] "Sioppau glan gynnwys gain." *Add. MS.*, 14,970.
"Siopau glan glwys cymwys cain."—*Glan. MS.*
Yr oedd y dilladfäoedd fel siopau, yn cynnwys pethau heirdd-wych.

[4] "Siop landeg fal Siop Llundain."—*Add. MS.*, 14,970.
"Siop landeg fal Siep Llundain."—*Glan. MS.*
Cyffelybir y "naw gwardrob" i siopau y Siep (*Cheapside*) yn Llundain. Ymddengys fod y *Cheapside* hyd yn oed yn y bedwaredd ganrif ar ddeg wedi ennill cryn enwogrwydd masnachol. Ac y mae amryw o'r beirdd, yn enwedig Dafydd ab Gwilym a Lewis Glyn Cothi, yn cyfeirio yn fynych at y lle.

[5] "Croes Eglwys gylchlwys galchliw." *Add. MS.*, 14,970.
Eglwys bedeirongl (*quadrangular*), wedi ei gwyngalchu; yr hon, yn ddiau, nid oedd amgen na chapel teuluaidd perthynol i Owain Glyndwr.

[6] "Capelau a gwydrau gwiw." *Add. MS.*, 14,970.
Y mae yn anhawdd gwybod beth a olygir yma wrth "gapelau"—yr unig ddyfaliad sydd yn ymgynnyg i ni ydyw mai creirgellau (*shrines*) yn yr eglwys oeddynt. Os ydyw ein dyfaliad yn gywir, tybiwn mai "gwyrthiau," fel y dywedir yn y testyn, ac nid "gwydrau," a feddyliai y bardd. Hyny yw, yr oedd *gwyrthiau* yn cael eu cyflawni yn y creirgellau hyny. Ac y mae y fath syniad, os yn gywir, yn dangos pa mor ddwfn mewn ofergoeledd yr oedd y rhai mwyaf goleuedig ym mhlith y Cymry yn y cyfnod hwnw.

[7] Yn *Add. MS.*, 14,970, blaenorir llin. 53 gan y llinellau canlynol :—
"Pob ty'n llawn pob ty'n y Llys
Perllan gwinllan gaer Wenllys,
Garllaw'r llys gorlle ar llall
Y pawr ceirw mewn parc arall,
Parc cwning meistr por cenedl
Erydr a meirch hydr mawr chwedl
Dolydd glan gwyran a gwair
Ydau mewn caeau cywair."

[8] "Melin deg ar ddifreg ddwr." *Add. MS.*, 14,970.
Ar lan yr afonig Gynllaith, yn ymyl y bryncyn lle safai preswylfod Owain Glyndwr, medd Gwallter

X

Pysgodlyn kydduglyn kau
A vo raid i vwrrw rwydau[1]
Amla lle nid ir ymliw
Pen hwyaid a gwyniaid gwiw[2]
Ai dir bwrdd ai adar byw
Pevnnod kryhyrod hoywryw[3]
Park kwning imp or kenedl
Krydr meirch hydr a mawr chwedl[4]
I gaith a wna pob gwaith gwiw
Kyvreidiav kyvar ydiw[5]

Mechain (*Gwaith*, cyf. iii., tudal. 68) yr oedd y Felin. Ac adnabyddid y lle fel Melin Sycharth hyd ddechreu y ganrif bresennol, pryd y dechreuwyd ei alw yn Bandy Sycharth, cr cyfateb i'r gwaith newydd a ddygid ym mlaen yn yr adeilad. Yn *Hanes y Brytaniaid a'r Cymry*, cyf. i., tudal. 464, sylwir fel y canlyn :—" Yr oedd gan y tywysog yn gyffredin lys, a chapel, a melin, a swyddfeydd, ac amryw bethau cyfleus eraill ymhob cantref. Tu ag at gynnal y rhai hyn yn gysurus, yr oedd y tenantiaid yn rhwym i dalu amryw fath o wasanaeth iddo."

[1] " Pysgodlyn arddyglyn cau
A fo rhaid i fwrw rhwydau. '
*Add. MS.*, 14,970.

[2] " Amlaf lle nid er ymliw
Penhwyaid a gwyniaid gwiw."—*Add. MS.*, 14,970.

Dywed Mr. H. W. Lloyd (*Y Cymmrodor*, vol. v., p. 270) mai yr unig fan yng Nghymru lle ceir " gwyniaid " ydyw Llyn Tegid ; a chan y tybiai yn annhebygol fod y pysgod wedi eu cymmeryd oddi yno i Sycharth, awgryma mai at y *gudgeon*, y *roach*, neu ryw bysgodyn cyffelyb, y cyfeiria y bardd. Dywedai Gwallter Mechain (*Gwaith*, cyf. iii., p. 68), yr hwn a ysgrifenai yn 1820, fod olion dau bysgodlyn, y naill uwch law y llall, i'w canfod yn Sycharth pan yr oedd ef yn ysgrifenu.

[3] " Ai dri bwrdd ai adar byw
Paunod cryhyrod hoywryw."
*Add. MS.*, 14,970

Yn y cyfnod dan sylw nid oedd yr un wledd yn gyflawn os na fyddai y paun ym mhlith y danteithion. Dygid ef i'r bwrdd wedi ei goginio yn dda, ac wedi ei arwisgo â'i esgyll dysgleirwych (*Penny Cyclop.*, vol. xvii., p. 334). Ac yr un modd y gellir dyweyd am y crëyr (*heron*). Pan y gwnaed gwledd ar benodiad George Nevell i archesgobaeth Caerefrog, yn nheyrnasiad Edward IV., ni pharotowyd llai na 400 o honynt ar ei chyfer (*Penny Cyclop.*, vol. xii., p. 167).

[4] "Parc cwning meistr por cenedl
Erydr a meirch hydr mawr chwedl."
*Add. MS.*, 14,970.

[5] Darllenir yn *Glan. MS.* :—
" Ai caeth weision bob gwaith gwiw
Cyfreidiau cyfair ydyw."

Dwyn blaendrwyth kwrrw mwythic[1]
Gwirodav bragodav bric[2]

Ond yn yr *Add. MS.*, 14,970, ceir :—

" Ai Gaith i bob gwaith fo gwiw
Cyfreidiau cyfair ydyw."

Ar ymyl y ddalen gogyfer ar darlleniad olaf, sylwa Iolo Morganwg :—" Slaves ! Damn Owain with all his mock patriotism;" ac yna ychwanega gogyfer â'r llinellau dilynol:—" The same argument for slavery in Wales as our present pseudo Christians urged for the west indian slavery." Pa fodd bynag, y mae genym hanes am gaethion yn cael eu gwerthu yng Nghymru yn y cyfnod hwn. Gwerthid hwy yn fynych yr un ffordd a'r tir y perthynent iddo. Yn *Hanes y Brytaniaid a'r Cymry* cyf. i. tudal. 463, ceir copi o weithred gwerthiad dynion, yr hon a wnaed Mai 2, 1399, i'r perwyl fod Rhys ab Gruffydd ap Iorwerth, Gruffydd ab Dicus, ac Ifan ab Dicus, &c., wedi rhoddi, cadarnhau, a gwerthu am byth i William ab Gruffydd ab Gwilym, o Benmynydd, &c., y gwŷr nod hyn, sef, Engan Goch ap Iorwerth ap Cynwrig, Dicus ap Engan Goch ap Iorwerth ap Cynwrig, yng nghyda meibion a merched y dywededig Engan a Dicus, a anwyd neu a enir iddynt, cystal a'u dilynwyr, eu tiroedd, eu heiddo, a'u hanifeiliaid, o ba ryw bynag y bônt, am swm penodol o arian, &c., i gael eu dal gan yr unrhyw William ab Gruffydd ab Gwilym, ei etifeddion a'i ddirprwywyr yn oes oesoedd. Cymmerodd y gwerthiad hwn le ym Mangor ; a hyny, fel y gallwn dybied, oddeutu yr un flwyddyn ag a cyfansoddodd Iolo Goch y cywydd hwn.

1 " Dwyn blaenffrwyth cwrw Amhwythig."—*Add. MS.*, 14,970.

" Dwyn blaenffrwyth cwrw y Mwythig."—*Glan. MS.*

Sylwa Cynddelw (*Gorch. Beirdd Cymru*, tudal. 116), ar y llinell hon fel y canlyn :—

" Yr oedd yr Amwythig yn enwog am ei chwrw er yr hen oesoedd, ac oddiyno y byddai boneddigion Powys yn cael eu diod, tra yr elai gwŷr Dinbych a Fflint i gyrchu 'Cwrw Caer Lleon ' Yr oedd Sion Tudur yn 1572 yn senu cwrw Caer fel hyn :—

' Naws eidral meddal, yn meddwi —Saeson
Naws eisin a bryntni ;
Naws tair afon is Trefi,
Naws cwrw Caer—nis car ci !' "

Yr oedd gan Lewis Glyn Cothi (*Gwaith*, tudal. 432), gystal meddwl o gwrw'r Amwythig ag oedd gan Iolo Goch :—

" Càn gwŷn megys càn Gwynedd,
Cig, cwrw Amwythig, a medd."

2 "Gwirodydd, bragodydd, brig." *Add. MS.*, 14,970, a *Glan. MS.*

Yr oedd " Bragod " (lluos. bragodau, neu bragodydd) yn ddiod gyffredin ym mhlith yr hen Gymry. Darperid hi trwy gymmysgu breci cwrw gyda medd, gan ychwanegu ychydig chwaethon (*spices*).

Pob llyn[1] barra gwyn a gwin
Ai goc ai dan yw gegin[2]
Pebyll y beirdd[3] pawb lle bo
Pe bevnydd kaiff pawb ynno
Teka llys bren penn hepai
Or dyrnas nawdd duw arnai[4]
A gwrraic orav or gwrragedd
Gwyn ymyd oi gwin ai medd[5]
Merch eglur llin marchowglyw
Urddol hael an amol yw[6]
Ai blant a ddevant bob ddav
Nythaid tec o Bennaethav[7]

[1] "Llyn" = gwlybor, neu wirod.

[2] "Ai gog ai dan iw gegin."—*Add. MS.*, 14,970, a *Glan. MS.*; hyny yw, ei *gogydd* a'i *dân*. Gwneir sylw neillduol o'r *cogydd*, gan mai ar ei ofal a'i fedrusrwydd ef yr ymddibynai rhagorolrwydd y wledd.

[3] "Buarth y Beirdd."—Cywydd Rhif VIII., llin. 76.

[4] Nid ydyw llin. 71-72 yn *Add. MS.*, 14,970, *Glan. MS.*, *G.B.C.*, na *C. Ll. G.*

[5] "A gwraig orau o'r gwragedd
Gwyn y myd! oi gwin ai medd."—*Add. MS.*, 14,970.

[6] "Urddol hael o reiol ryw."
*Add. MS.*, 14,970.

Gwraig Owain Glyndwr oedd Margaret, merch Syr Dafydd Hanmer. Mab oedd Syr Dafydd i Phylip Hanmer, o Hanmer, yn Sir Fflint. Gwnaed ef yn un o farnwyr Llys y Brenin, Chwefror 26, 1383, ac urddwyd ef yn Farchog yn y flwyddyn 1387—a chyfeirir ato fel Marchog yn y cywydd hwn. Cafodd o'i wraig Angharad dri o blant, sef Margaret, gwraig Owain Glyndwr; Jenkin, ei etifedd, yr hwn a laddwyd ym Mrwydr yr Amwythig yn 1403; a Gruffydd (*Geir. Cen. Cymru*, cyf. i., tudal. 614). Fe welir fod Iolo Goch yn hael o'i ganmoliaeth i Margaret, gwraig Owain.

[7] "Ai blant a ddeuant bob ddau
Nythaid teg o Bennaethau."
*Add. MS.*, 14,970.
"Ai blant i ddeuant bob ddau
Nithoed deg o benaethdau."
*Glan. MS.*

Y mae Mr. H. W. Lloyd (*Y Cymmrodor*, vol. v., p. 272), yn canfod anghyssondeb rhwng yr ymadrodd "bob ddau" a'r achau, yn y rhai y dywedir fod gan Owain chwech o feibion a phedair o ferched (?) Dealla Mr. Lloyd "bob ddau" fel yn golygu nad oedd ganddo fwy na dau o blant. Ond y mae yn amlwg mai nid hyny a feddylir; ond yn hytrach eu bod yn dyfod ym mlaen yn gyplau (*in couples*).

Nid oes genym ddefnyddiau i benderfynu pa bryd y priododd Owain; ond gan fod ganddo amryw blant ar ymweliad Iolo Goch, ac fod ei feibion mewn oed i'w ddilyn i faes y gwaed, a'i ferched mewn oed i briodi yn amser y gwrthryfel, hwyrach na fyddem ym mhell o'n

Anvynych iawn vu ynno
Weled nachliked nachlo[1]

lle pe y dyfalem iddo briodi oddeutu 1380, pan oedd oddeutu 21 mlwydd oed. Ei feibion oeddynt Gruffydd, Madog, Meredydd, Thomas, a John. Ac yn ol Bridgeman (*Hist. Princes of South Wales*, p. 262), ei ferched oeddynt:—(1) Isabel, gwraig Adda ap Iorwerth Ddu; (2) Alice, gwraig Syr John Scudamore, o Kentchurch, Sir Henffordd; (3) Janet, gwraig Syr John Croft, o Croft Castle, yn yr un sir; a (4) Margaret, gwraig Roger Monnington, o Monnington, eto yn yr un sir. Ond yn ol yr *Arch. Cambr.*, 1884, p. 291, dywedir mai ei ferched oeddynt Isabel, gwraig Adda ap Iorwerth o'r Pengwern; Elizabeth, neu Alice, gwraig Syr J. Scudamore; Jane, gwraig Henry, Arglwydd Grey o Ruthyn; Margaret, gwraig Syr Richard Monnington, o Monnington, Sir Henffordd; ac un ferch arall, enw yr hon ni roddir. Eto, yn *Dwnn's Heraldic Visitations*, vol. i., p. 334 ("Additional Notes"), dywedir mai gwraig i Philip Rhys, o Sir Fon, oedd Margaret. Ar awdurdod *Hist. Vitæ et Regni Rich. II.*, dywed Mr. Wylie (*Hist. Eng. under Henry IV.*, vol. i., p. 344), i Syr Edmund Mortimer briodi merch i Owain Glyndwr oddeutu diwedd Tachwedd, 1402. Ganwyd o'r briodas hono un mab o'r enw Lionel, a thair o ferched. Y mae Shakespeare (*Henry IV.*, Pt. i., Act iii., Scene i.) yn dwyn merch i Owain i sylw fel gwraig Mortimer, ac yn dyweyd na fedrai hi ddim Seisoneg, na Mortimer ddim Cymraeg. Y mae amryw yn ammeu dilysrwydd y priodasau rhwng merched Owain â'r Arglwydd Grey a Mortimer; ond beth bynag am Grey, y mae cymmaint o brawf i Mortimer briodi un o'i ferched ag sydd i briodas unrhyw un o'i blant. Y mae digon o brawf hefyd i'w ferch Alice briodi Syr John Scudamore, o blegid cawn iddo ef a'i wraig wneyd ymdrech, trwy ddeisebu y Senedd yn yr eilfed flwyddyn o deyrnasiad Harri VI., i adfeddiannu etifeddiaethau Owain, y rhai a fforffedwyd yn amser y gwrthryfel; ond yn aflwyddiannus (*Bridgeman's Hist. Princes South Wales*, p. 263.)

Crybwyllir hefyd (*Hist. Powys Fadog*, vol. i., pp. 211, 216; a *Pennant's Tour in Wales*, edit. 1784, vol. i., p. 331) am amryw blant a gafodd Owain o'i ordderchadon:—Dau fab o'r enw Dafydd ac Ieuan; Myfanwy, gwraig Llywelyn ab Adda ab David ab Ieuaf ab Adda ab Awr, o Trefor; a Gwenllian, gwraig Philip ab Rhys, o St. Harmon, Sir Faesyfed. Y mae gan Lewis Glyn Cothi (*Gwaith*, tudal. 400) gywydd Marwnad i'r Gwenllian hon; ac wrth ei ddarllen yr ydym yn ammeu mai merch anghyfreithlawn ydoedd. Y mae y bardd yn ei dysgrifio yn hwn, yn gystal ag mewn cywyddau ereill, yn "Gwenlliant o Sycharth"; a chredwn felly ei bod yn ferch gyfreithlawn iddo. Rhy brin y gallwn dybied y meiddiasai ei thad, hyd yn oed yn yr oes lygredig hono, ddwyn ei blant anghyfreithlawn i fyny o dan yr un gronglwyd a'i wraig.

[1] Credwn fod y testyn yn well

Na fforthorriaeth[1] ni wnaeth neb
Ni budd eisiav budd osseb[2]
Na gwall na newyn na gwarth
Na syched vyth yn Sycharth
Gorre Kymro tro trylew
Bier wlad lin bywyr lew[3]
Gwr meingryf gorrav[4] mangre
A ffier llys *hoff* hoff ywr lle[5]

Iollo Goch ai kant.

na'r darlleniad a geir yn *Add. MS.*, 14,970 :—

"Anodd yn fynych yno
Weled na chlicced na chlo."

[1] "Pheroriaeth." — *Add. MS.*, 14,970 ; "fforthoriaeth." — *Glan. MS.* ; "phorthoriaeth."—*G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

Hyny yw, yr oedd y fath groesaw i bawb yn Sycharth, fel yr oedd clicied neu glo ar y drws, a phorthor i edrych ar ei ol, yn bethau diangenrhaid—nid oedd neb yn cael eu cau allan.

[2] "Ni bydd eisiau bydd oseb." *Add. MS*, 14,970.

"Ni bydd eissiau budd oseb." *Glan. MS.*

"Oseb" (goseb) = rhodd.

[3] "Goreu Cymro tro traglew
Piau'r llyn power y llew."
*Add. MS.*, 14,970.

Tybia Mr. H. W. Lloyd (*Y Cymmrodor*, vol. v., p. 273) mai "Bywys" ac nid "bywyr" a ysgrifenodd y bardd ; ond i rywun, er mwyn cynghanedd, ei gyfnewid. Ond ai nid cyffelybu Owain a wneir yma i Pywer Lew ? (Gwel Cywydd Rhif VIII., llin. 30.)

[4] "Goreu."— *Add. MS.*, 14,970.

[5] "A phiau'r Llys hoff yw'r lle." *Add. MS.*, 14,970.

# XI.

## * CO. I SEREN GYNFFONOG.

---

*(O'r Glanyrafon MS., K., fol. 57).*

Y mae y cywydd hwn i'w gael hefyd yn *Add. MSS.*, 14,894, 14,978, a 14,979, lle ei priodolir i Iolo Goch. Ond gan yr ymddengys ysgriflyfr Glanyrafon yn llawn can hyned, ac, i'n tyb ni, yn fwy cywir, na'r ysgriflyfrau uchod yn yr Amgueddfa Brydeinig, cymmerasom ef yn gynsail. Ceir y cywydd yn argraffedig hefyd yng *Ngorchestion Beirdd Cymru*, tudal. 121, ac yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 19.

Ar ddiwedd y cywydd yn ysgriflyfr Glanyrafon, gwelir ei fod yn cael ei briodoli gan rai i Gruffydd Llwyd ap Llywelyn ap Einion Llygliw; a thybiwn i ni ei weled yn cael ei briodoli iddo mewn ysgriflyfrau ereill. I Gruffydd Llwyd y priodolir ef hefyd ar glawr rhifyn o *Greal Llundain*. O'n rhan ein hunain credwn mai Iolo Goch oedd yr awdwr. Nid yn unig y mae ei arddull yn debyg, ond y mae ynddo hefyd frawddegau cyffelyb i'r rhai a geir yn ei gywyddau ereill.

Nid oedd dim yn newydd yn y ffaith fod y bardd yn cymmeryd mantais ar ymddangosiad y seren i ragfynegi goruchafiaeth Owain Glyndwr; o blegid yr ydym yn cael fod amryw genedloedd yn coleddu y syniad fod y ser gwibiog yn ymddangos o flaen rhyw ddygwyddiad neillduol a phwysig. Yn y flwyddyn 130 C.C., ymddangosodd seren gynffonog enfawr, yr hon, fel y tybid wedi hyny, oedd yn arwyddo genedigaeth Mithridates, prif elyn y Rhufeiniaid; ac yn 550 O.C., daeth un arall i'r golwg i ddarogan cwymp Rhufain (*Olmsted's Mechanism of the Heavens*, pp. 296, 304.) Dygir rhesymau ym mlaen gan seryddwyr er profi

fod amryw o'r ser hyn wedi ymddangos, am y rhai nid oes unrhyw gofnodion ar gael. Ond gwyddom fod yr hynafiaid yn cyssylltu rhyw ddygwyddiadau pwysig yng nglyn â'r rhan fwyaf a gofnodir. A chof genym glywed y werin ofergoelus yn Sir Drefaldwyn, pan ymddangosodd seren gynffonog yn 1858, yn darogan fod rhyfeloedd gwaedlyd, neu newyn angeuol, yn sicr o gymmeryd lle yn fuan. Ond y defnydd a wnaeth Iolo Goch o'r seren, yr hon, yn ol y croniclwyr, a ymddangosodd yng ngwanwyn y flwyddyn 1402, oedd darogan buddugoliaeth Owain Glyndwr a gorchfygiad y Seison. Ac i gadarnhau ei osodiad, y mae yn cyfeirio at ymddangosiad dwy seren flaenorol, y naill yn rhagfynegi gwaredigaeth ysbrydol trwy enedigaeth Crist, a'r llall waredigaeth wladol yng ngenedigaeth Arthur. Ond yr oedd cenedloedd ereill yn esbonio yr ymddangosiad hwn yn wahanol. Tybiai y Seison ei bod yn rhagfynegi aflwyddiant i'r Ysgotiaid a'r Cymry; credai yr Ysgotiaid mai arwydd ydoedd o farwolaeth y Duc o Rothsay, yr hyn a gymmerodd le Mawrth 27, 1402; bodolai teimlad annymunol ar y pryd rhwng Duciaid Orleans a Burgundy, ac yr oedd serddewiniaid Ffrainc yn egluro ei hymddangosiad yn ol fel yr oedd eu teimladau tuag at y ddau bendefig hyny; ac yn yr Eidal, tybid ei bod yn rhagfynegi marwolaeth y Duc o Milan, yr hyn a gymmerodd le Medi 3, 1402. (*Wylie's Hist. Eng. under Henry IV.*, vol. i., p. 275.)

Am i lliw i mae llawer[1]
o son am anian y ser
ari[2] sud[3] eres ydunt
o radd[4] nef arwyddion ynt

[1] Yn *G. B. C.* a *C. Ll. G.* ceir y llinell mewn gwisg ddiweddar :—
"Am eu lliw y mae llawer."
Mewn Cymraeg Ganoloesawl *i* neu *y* a ddefnyddir bob amser am *ei* (*his* neu *her*)—ond arferir *eu* yn aml. Defnyddir *y* hefyd yn lle *e*, yn achlysurol ar ddiwedd gair, megys *may* yn lle *mae*, yn ol darlleniad y llinell yn *Add. MS.*, 14,978 :—"Am i lliw i may llawer."

[2] "Ar y."—*Add. MS.*, 14,978; "er eu"—*G. B. C.* a *C. Ll. G.*

[3] Ymddangosiad, neu ffurf.

[4] "Radd"—*G. B. C.* a *C. Ll. G.*; "rad"—*Add. MS.*, 14,978.

kynta fo er mynu mawl[1]
y seren deg fesurawl[2]
a weled[3] gynt o wlad gain
yn nod aur yny[4] dwyrain
yn arwydd kyhuddrwydd ked[5]
genir brenin gogoned[6]
i hamau yni hymyl
gen rai ni choeliai y chwyl[7]
Kael Krist fal i koelia kred
o fair wyrf bo fawr[8] wared
I gadw fry a gwaed i fron
i rai glan rrag i gylynion[9]
ar ail a fu[10] oreulamp
i uthr gynt aeth ar gamp

[1] "Kynta vy er myny mawl."
*Add. MS.*, 14,978.
"Cyntaf fu er mynu mawl."
*G. B. C.* a *C. Ll. G.*

Awgrymir gan Cynddelw mai "Cyntaf fu'n emynu mawl" a ddylai fod.

[2] "Vyssurawl." -- *Add. MS.*, 14,978.

[3] "Weled."—*Add. MS.*, 14,978; "welwyd"—*G. B. C.*; "welid" – *C. Ll. G.* Ymddengys i ni mai "welwyd" ydyw y cywiraf, pa un bynag a ddefnyddiodd y bardd.

[4] "Yn y."—*Add. MS.*, 14,978.

[5] Cyhoeddi rhodd=*announcement of a gift.*

[6] "Gogoned."—*G.B.C.* a *C.Ll.G.*; "goganed."—*Add. MS.*, 14,978. Diammeu mai gogoned=*glorious*, sydd gywir.

[7] "A me odd yn i emyl
gen rai ni charai ychwyl."
*Add. MS.*, 14,978.

"Minau oedd yn ymenyl,
Gwn rai na choeliai y chwyl."
*G. B. C.*

"Minnau oedd yn ymenwyl,
Gwn rai na choeliai y chwyl."
*C. Ll. G.*

Tybiwn mai darlleniad y testyn ydyw y goreu, sef fod rhai yn ei hymyl yn ammeu dyben ei hymddangosiad, ac yn gwrthod coelio fod ei chwyl, neu ei chwyl-daith, yn arwyddo yr hyn a ddywedid ei fod gan y "doethion o'r dwyrain." Lled ganolig, feddyliem, ydyw esboniad Cynddelw—"Minau oedd yn ymanelu." Eto y mae genym bob parch i farn a gwybodaeth Cynddelw—ond y mae y calla yn colli weithiau.

[8] "Kael Krist val i koylia kyred
o vair wyryf vawr wared."
*Add. MS.*, 14,978.

[9] "I gadw vry a gwaed oi vron
rrai glan rrag i gylynion."
*Add. MS.*, 14,978.

[10] "Vy."—*Add. MS.*, 14,978.

pen[1] i gweles paun gwiw-lu
merddin meistr ar fyrddin fu[2]
dug yni fryd dygyn fraw[3]
galar emrys[4] ag wylaw

" Pan."—*Add. MS.*, 14,978.

Ceir yr adroddiad a ganlyn am Seren Arthur yn " Ystorya Brenhined y Brytanyeit " (*The Text of the Bruts*, p. 172) :—

"A hyt tra yttoedynt h6y ygkylch hynny ydymdangosses seren anryued y meint ae lleufer ac un paladyr idi. Ac ar benn y paladyr hōnn6 ydoed pellen o dan ar lun dreic. Ac o eneu honno y kerdynt deu baladyr. ahyt y neill o nadunt awelit ynystynu dros teruyneu ffreinc ar * llall awelit yn kerdet parth ac Iwerdon ac ynterfynu yn seith paladyr bychein.

"A phan ymdangosses y seren honno enryfeda6t ac ofyn a drewis pa6b or ae g6elas. A dirua6r ofyn a gymerth uthur bra6t y brenhin. yny lle ydoed ykymry ynkyrchu y elynyon. A gofyn y ba6p or doethon aoed y gyt ac ef py beth a ar6ydockaei y seren honno. Ac ymplith pa6b or rei hynny yderchis ef dyfynu myrdin yr lle. A g6edy dyuot Myrdin asefyll rac y vron. Vthur aerchis ida6 damlewychu py beth a ar6ydockaei y seren rac dy6wededic uchot. Ac yny lle wyla6 aoruc Myrdin. a gal6 y yspryt atta6 a dywedut val hyn. O gollet heb ymwaret. O ymdiuat bobyl vrytaen o agheu y bonhedickaf vrenhin y brytanyeit emrys wledic ac yny agheu ef yd aballem ni oll pei narodei du6 ynni ganhorth6y. Ac 6rth hynny y bonhedickaf tywyssa6c uthr bryssya di bryssya. ac na ohir yn g6neuthur br6ydyr athelynyon. Kanys yvudugolyaeth a vyd yth la6. Ti avydy vrenhin. ar ynys brydein oll. Ti a ar6ydockaa y seren ar tana5l dreic y dan yseren. Y paladyr a ystyn parth affreinc. h6nn6 a ar6ydockaa Mab kyvoetha5c a vyd itt. A chyuoeth h6nn6 ae vedyant a amdiffyn y teyrnassoed ac avydant y dana6 yn holla6l. Y paladyr arall aystyn parth a mor Iwerdon a ar6ydocka Merch a vyd itt A Meibon honno aeh6yron a vedant pob eilwers teyrnas ynys prydēī."

Ond nid ydyw y dyfyniad uchod amgen na chyfieithiad Sieffre o Fynwy.

[3] " Dug yn i fryd y dygyn o fraw."—*Add. MS.*, 14,978.

[4] Emrys Wledig. Dywed Sieffre o Fynwy mai ei dad oedd Cystenyn Fendigaid, a'i frawd ieuangaf oedd Uthr Bendragon. Cafodd Emrys ei wenwyno gan feddyg Sacsonaidd o'r enw Eopa, yr hwn a gyflogwyd i'r perwyl hwnw gan Pasgen, un o feibion Gwrtheyrn ; ac at y gwenwyniad hwnw, yn ddiau, y cyfeirir uchod. Dywedir i hyn gymmeryd lle oddeutu y flwyddyn 500 ; a'r pryd hwnw yr ymddangosodd y seren, yr hon a gefnogodd Uthr i'r fath raddau fel y cafodd fuddugoliaeth ar y Sacsoniaid (*Text of the Bruts*, p. 170, *et seq.*). Yr un oedd Emrys Wledig ag Ambrosius Aurelianus, y sonir am dano gan Gildas, a chan Bedo ar ei ol.

athroi yn ol uthr a wnaeth
i gael y fyddy-goliaeth
o lid i ddial adwyth
tu ag ar ffraink nid hagr/hygar ffrwyth[1]
arthur[2] er dim ni werthyn
hael a ddehallwyd o hyn[3]
gwr a ellid i garu
dyrogan drwy fardd-gân fu
gwr rrwydd/rhif gwnaeth a gwawy rruddelld
gwaed i elynion ir gwelld[4]
*ar drydydd kymyrydd[5] ked
i wynedd[6] wiw a aned
yn anian fawr yn un fodd
yn unsel ag yn ansodd[7]
yn ganaid ruddell felen
yn gadr i ffaladr ai ffen[8]

*His cometa apparuit mense Martii 1402 ait Thomas Walsingham.

[1] "Tu ag ar ffraink nid hagr ffrwyth."
*Add. MS.*, 14,978.

[2] Arthur, yn ol Sieffre o Fynwy, oedd fab i Uthr Bendragon. Er ein bod yn cyfeirio yn aml at Sieffre, ni hoffem i neb feddwl ein bod yn ei ystyried mewn un modd yn awdurdod. Ond y mae yn amlwg, oddi wrth amryw o linellau gan Iolo Goch, fod y bardd yn rhoddi pwys ar y traddodiadau a geir yng ngwaith y rhamantwr hwnw.

[3] "Arthur er dim ni werthynt
haul a ddeuallwyd oi hynt."
*Add. MS.*, 14,978.

[4] "Gwr rwydd gwnaeth a gwayw ru ddellt
gwaed i ylynion ir gwellt.
*Add. MS.*, 14,978.

[5] "Drydedd kymyredd."—*Add. MS.*, 14,978; yn golygu rhodd anrhydeddus.

[6] "Wyneuedd" a geir yn *Add. MS.*, 14,978; ond, yn sicr, yn anghywir. Y mae y bardd yn y llinell hon yn personoli y seren, ac yn gosod ei genedigaeth yng Ngwynedd.

[7] "Yn anian mawr yn vn modd
Yn insel ag vn anssodd."
*Add. MS.*, 14,978.
"Yn anian fawr yn un fodd,
Unsail ac yn un ansodd."
*G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

[8] "Yn ganaid ruddel velen
Y gadr i ffaladr ai ffen."
*Add. MS.*, 14,978.
"Yn ganaid ruddel felen,
Yn gadr ei phaladr a'i phen."
*G. B. C.*

Yr oedd y lliw melyn-goch, dysglaer, a ganfyddid yn adlewyrchu o'r seren yn peri i'r bardd feddwl ei bod yn un eirias sylweddol (gadr) o dân. Ond dywedir wrthym gan seryddwyr, nad yw y "ser" hyn ond nifwl teneu a hylifaidd. (*Olmsted's Mechanism of the Heavens*, p. 300).

Pawb achlan or lle ir hanwyf
a ofun um eofn wyf[1]
budd addaw ir llaw lle i rel
beth yw y seren boeth awel[2]

[1] "Pawb achlan or lle ir hanwyf
a ovyn im e ofn wyf."
*Add. MS.*, 14,978.

"Pawb achlan o'r lle'r hanwyf,
A ofyn i'm, eofn wyf."
*G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

"Achlân" = oll; hyny yw, yr oedd pawb *oll* o gymmydogion y bardd yn ei holi,ai nid oedd ymddangosiad y seren yn peri dychryndod iddo—pa fodd yr oedd yn gallu ymddangos mor eofn yn yr olwg ar y fath olygfa. Diammeu fod y wlad, ar y cyntaf, o'r farn mai rhagarwydd o ryw drychineb cenedlaethol oedd y seren. Ond fe welir fod Iolo yn y llinellau dilynol yn rhoddi eglurhad arall ar yr ymddangosiad.

[2] "Budd a ddaw ir llaw llei rel
beth ywr seren boeth awel."
*Add. MS.*, 14,978.

"Budd a ddaw i'r llaw lle'r êl,
Beth yw'r seren boeth awel?"
*G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

Nis gwyddom a ydoedd gwanwyn 1402 o ardymmeredd cynhesach nag arferol ai peidio: ond y mae y bardd yn awgrymu hyny. Dichon, fodd bynag, nad oes yn y llinell ond mynegiad o'r hen syniad, sef fod y ser gwibiog yn effeithio ar yr hinsawdd. Dywed Olmsted (*Mechanism of the Heavens*, p. 324) fel y canlyn:—

"Pa fodd bynag, tybid gynt, a thybir eto i ryw raddau, fod y ser gwibiog yn meddu cryn ddylanwad ar helyntion y byd, yn effeithio ar y tywydd, y cropiau, iechyd y cyhoedd, yn gystal a chryn lawer o gynhyrfiadau awyrol. Yr oedd hyd yn oed Halley, trwy ganfod fod ei seren ef yn agos i'r ddaear yn amser y dylif, yn awgrymu mai y seren a achosodd y dygwyddiad hwnw—cymmerwyd y meddylddrych i fyny gan Whiston, yr hwn a weithiodd ddamcaniaeth allan o hono. Yn Gregory's *Astronomy*, gwaith galluog a gyhoeddwyd yn Rhydychain yn 1702, sylwa yr awdwr fod ymddangosiad seren wib, ym mhlith pob cenedl ac ym mhob oes, yn ol fel y profir trwy sylwadaeth, wedi cael ei ddilyn gan drychinebau mawrion; ac ychwanega, 'nad ydyw yn briodol i athronwyr edrych ar y pethau hyn fel dychymmygion.' Ym mhlith y pethau amrywiol a briodolir i ser gwibiog gan awdwr Seisonig diweddar, y mae tymhorau poethion ac oerion, tymhestloedd, corwyntoedd, cenllysg, eira, gwlawogydd, llifogydd, sychder, newyn, llyffaint, gwybed, ceiliogod rhedyn, y pla, gwaedglwyf, afiechydon heintus ar greaduriaid, clwyf ar gathod, ffrwydriad mynyddoedd tanllyd, goruchionau, neu gwympiad y ser. Y mae y syniadau hyn yn rhy ynfyd i ofyn am wrthbrofiad pendant; ac ni wnaf ond ychwanegu, nad oes genym unrhyw dystiolaeth fod y ser gwibiog yn meddu y dylanwad lleiaf ar helyntion y byd hwn; ac

myfi a wyr lwyr loywryw
deall hyn oll dillin yw[1]
dur yw i ffaladr ne dan
a draig[2] ir gwr dyrogan
ni bu erstalm wiwsalm wedd
ser iawn i sir o wynedd[3]

yr ydym yn parhau mewn tywyllwch parthed i'w natur anianyddol, ac am y dybenion i'r rhai eu crëwyd."

[1] "Deuall hyn oll dellni yw."
*Add. MS.*, 14,978.

Gwell yn ddiammeu yw y testyn; o blegid hòni y mae y bardd ei fod yn deall yr hyn a arwyddocëid gan y seren yn drwyadl. Yr oedd Iolo, fel y mwyafrif o feirdd ei oes, yn honi ei fod yn gwybod bron y cwbl.

[2] "Draig" yn arwyddo y byddai Owain Glyndwr yn ben, gan mai efe oedd y "gwr darogan."

[3] "Ni bu er talm wiw salm wedd
Ser Iawn i Sir o Wynedd."
*Add. MS.*, 14,978.

Dywedai Syr John Price (*Descript.* in Wynne's *Hist. Wales*, pp. vi-ix.) fod Gwynedd yn cynnwys Sir Fon, Sir Gaernarfon, Sir Feirionydd, a'r Berfeddwlad—sef rhanau o Ddinbych a Meirion; ond yn ol Thomas Stephens (*Beirniad*, v., tudal. 136) wrth Wynedd y golygid siroedd Mon, Arfon, a Dinbych. Wrth edrych dros "Parthau Cymru" (*Myv. Arch.*, p. 735) yr ydym yn cael fod yr oll o siroedd Mon ac Arfon yng Ngwynedd; a'r rhanau helaethaf o Ddinbych a Meirionydd. Ond y mae Edeyrnion a Glyndyfrdwy, yn Sir Feirionydd, a Chynllaith, yn Sir Ddinbych, yn cael eu rhestru, ym mhlith amryw leoedd ereill yn y ddwy sir olaf a nodwyd, gyda Phowys Fadog. Yn yr ail restr o "Parthau Cymru" yn y *Myv. Arch.*, p. 737, ac yn *Text of the Bruts*, p. 408, rhoddir Glyndyfrdwy yng Ngwynedd. Pa fodd bynag, dylem gofio mai fel tywysogion Powys yr oedd hynafiaid Owain Glyndwr yn dal arglwyddiaethau Glyndyfrdwy a Chynllaith Owen. Os felly, y mae yn anhawdd deall pa ham y mae Iolo yn cyfeirio at "Sir o Wynedd" yn y fan hon, ac yn enwi Gwynedd deirgwaith yn y cywydd hwn. A oes yma gyfeiriad at ryw sir neillduol? Os oes, pa sir? A fyddai yn afresymol ynom dybied, os oes i "sir o Wynedd" ryw amcan pellach nag ateb yr odliad a'r gynghanedd, fod yma gyfeiriad daroganol at sefydliad Owain Glyndwr fel yr hyn a elwir gan ysgrifenwyr Cymreig yn "Frenin Penrhaith Cymru," ac y byddai iddo gynnal ei lys yn Aberffraw, ym Mon. Y mae Robert Vaughan (*Brit. Antiq. Rev.*, p. 39) ac ereill yn rhoddi arbenigrwydd neillduol ar Anarawd, fel brenin Aberffraw, i'r hwn yr oedd tywysogion Powys a'r Deheubarth yn talu teyrnged. Bron na feddyliem, yn enwedig wrth ddarllen y cywydd hwn o hyn i'r diwedd, mai rhyw syniad fel hyn oedd yn rhedeg trwy feddwl Iolo Goch.

ond y seren yleni
y sydd o newydd ini[1]
gem yn arwain yn gymod
ganu dduw glan gwn iddi glod[2]
teg yw y rrad goleuad gwrdd
twysoges y tes agwrdd[3]
tan o fron y tyno fry
tewnodd rrat tuw yny[4]

1 "I ni."—*Add. MS.*, 14,978.

2 Yn ol y testyn mae llinell 52 yn rhy hir o sill; "gan," yn lle "ganu," a geir yn *Add. MS.*, 14,978, a thebyg mai hyny sydd gywir :—

"Gan dduw glan gwn i ddi glod."

Ar yr olwg gyntaf nid rhyw lawer —na dim—synwyr a geir yn y dywediad fod "gem yn arwain." —"Gem yn arwain in' gymod" yn ol *G. B. C.*; a'r un peth gan yr hen feirdd oedd *yn* ac *in'*. Nid peth i arwain, ond yn hytrach i'w wisgo, i'w *gem*. Ond hwyrach mai cyffelybu y seren i gem, o ran dysgleirdeb, yr oedd y bardd; ac mai y seren oedd i "arwain in' gymod."

3 "Teg ywr had goleuad gwrdd
towessoges tes agwrdd."
*Add. MS.*, 14,978.

Dyma yr ail waith i'r bardd ddefnyddio yr odl "gwrdd" ac "agwrdd."--Gwel Cywydd Rhif IX., llin. 31, 32. Dynodant yn y fan hon oleuad *tanbaid*, a thês *mawr*. A cheir cyfeiriad yma eto gan y bardd at y syniad fod y seren yn effeithio er cynnyrchu gwres, neu yn poethi yr hinsawdd.

4 "Tan o vron y tyno vry
townodd rad tuw yny."
*Add. MS.*, 14,978.

Nid yn anfynych, mewn ysgriflyfrau a gopïwyd yn yr eilfed ganrif ar bymtheg, y ceir *t* yn lle *d*, megys yn y gair *Duw* yma.

"Tân o fron y tyno fry,
Tywynodd rhad Duw iny."
*G.B.C.*

Gellir tybied oddi wrth rediad y llinell gyntaf fod "tyno" yn golygu *codiad* yn y tir, megys *llethr*, *moel*, neu fryn. Ond wrth droi i'r geirlyfrau gwelwn fod *tyno* yn gyfystyr â *plat*, *green*, *dale*=lle gwastad, yn hytrach *pantle*. Yn yr ystyr o bantle y cymmerir y gair gan Mr Egerton Phillimore (*Bye-Gones*, Dec. 31, 1890), lle y sylwa wrth ymdrin â Chastell Gwent, ym mhlith pethau ereill, fel y canlyn :—

"As for *Tnou Mur* and *Pant Annuc*, the former would be *Tyno Mawr* in modern North-Welsh (*tnou guinn*=*tyno gwyn*, also occurs in *Lib. Land.*, pp. 71, 163), and they both refer to the hollow in which the town, or part of it, is built."

Gwel hefyd *Geir. Cymraeg*, D. Silvan Evans—"Bryn a thyno"= *hill and dale*; *upland and lowland*. Tebyg fod y bardd yn defnyddio y gair i olygu pantle ar le uchel. Ceir enghreifftiau o "tyno" yn yr ystyr hwn yn "Chwarel y Tyno

lle i diffodes dygesynt
y dalaith ar gyfraith g ynt[1]
uchel i mae ywch law mon
yngolwg yr yngylion[2]
piler o aur goreuryw
post o gwyr or awyr yw[3]
[4]y naill a gawn gwiwddawn gwyr
ai pap[5] ai brenin pybyr
brenin hael a min a medd[6]
dewr a gawn o dir gwynedd

neu'r Braich Coch) yng Nghorris; (bryn gyferbyn a phentref Llanymawddwy a elwir yn "Dyno y Bedol Aur;" a "Pant Tyno" uwch law Ty'n y Wern ar afon Dwymyn, yn sir Drefaldwyn.

[1] "Lles dyffodes dygessynt
Y dalaith ar gyfraith gynt."
*Add. MS.*, 14,978.

"Lle diffoddes dygesynt
Y dalaith a'r gyfraith gynt."
*G.B.C.*, a *C.Ll.G.*

[2] "Ywchel mae ywch law mon
yngolwg yr yngylion."
*Add. MS.*, 14,978.

"Uchel y mae uwchlaw Mon
Yngolwg yr angylion.
*G. B. C.*

Gwelwyd y seren hon gyntaf oddeutu dechreu mis Chwefror, ac ymddangosodd ar brydiau o hyny hyd y Pasc, 1402; gyda'i chynffon ar y cyntaf tua'r gorllewin, ac wedi hyny tua'r gogledd. Yr oedd Adam de Usk yn ei gweled yn y dydd, yn gystal ag yn y nos, pan yn teithio o Lundain i Rufain (*Wylie's Hist. Eng. under Henry IV.*, vol. i., p. 275.)

[3] "Post kwyr or awyr yw."
*Add. MS.*, 14,978

"Post o gŵyr o'r awyr yw."
*G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

Tebyg genym fod "post o gwyr" yn golygu y pelydrau euraidd oedd yn cael eu hadlewyrchu gan y seren. Ym mhlith amryw feirdd ereill a ddefnyddiant y gair i ddynodi y lliw euraidd, gellir nodi Dafydd ab Gwilym yr hwn, wrth ddysgrifio gwallt merch Ifor Hael (*Barddoniaeth*, tudal. 14) a ddywedai :—

"Sirian ym mysg y manaur,
Coron o wallt, *cwyr* neu aur;
Maner aur pan ymwenynt
Lliw tân y Gad Gamlan gynt!
*Crwybr* o aur pan i cribai,
Pwn mawr o esgyll paun mai.'

[4] Y mae y darlleniad a geir yn *Add. MS.*, 14,978, yn dra gwallus yma, sef o llin. 63 hyd llin. 68; am y rhai ni rydd ond y tair (yn lle chwech) llinell a ganlyn :—

"Ynaill a gawn o dir gwynedd
Duw a ddwg fen diddigia
Gwynedd i gael diwedd da."

[5] "Pab."—*G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

[6] Diammeu mai cywirach ydynt *G. B. C.*, a *C. Ll. G.* :—

"Brenin hael am win a medd."

duw a ddug fo an di ddigia
68 Gwynedd i gael diwedd da[1]
o goel glan i gael y glod
ag arfau ar chwedel a gorfod[2]
Gr. llwyd ap Ll. ap einion
medd eraill Iolo Goch.

[1] "Duw a ddyg, fo'n diddigia
Gwynedd i gael diwedd da."
*G. B. C.*

"Duw a ddug, fe'n di ddigia,—
Gwynedd i gael diwedd dâ."
*C. Ll. G.*

[2] "I goel glan i gael y gylod
ac arvay a chwedl gorvod."
*Add. MS.*, 14,978.

"Goleu glân i gael y glod,
Ac arfau ar chwedl gorfod."
*G. B. C.*

"Goleu glan i gael y glod,
Ag arfau, â'r chwedl gorfod."
*C. Ll. G*

# XII.

## OWEN GLYN DYFRDWY.

---

*(O'r Glanyrafon MS. K., fol. 63).*

Y mae y cywydd hwn i'w weled hefyd yn *Add. MSS.*, 14,876 ; 14,882 ; 14,900 ; 14,940 (ddwy waith, sef yn fol. 57 a fol. 104) ; 14,964 ; 14,970, a 14,978. A cheir ef yn argraffedig yng *Ngorchestion Beirdd Cymru*, tudal. 117, yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 18, yn *Hist. Powys Fadog*, vol. ii., p. 105 ; a cheir cyfieithiad o hono yn Borrow's *Wild Wales*, edit. 1868, p. 242. Fel y gwelir uchod y mae y penawd yn ysgriflyfr Glanyrafon ; ond yn *Add. MS.*, 14,970, y penawd ydyw :—"Cywydd Gorchestol i Owain Glyndwr pan oedd fwyaf ei rwysc," ac yn gyffelyb i hyny, gyda'r eithriad fod y gair "Gorchestol" yn cael ei adael allan, y mae y penawd uwch ben y copïau argraffedig.

Y mae y cywydd, ar ei hyd, yn cyfiawnhau geiriad y penawd ; o blegid y mae yn amlwg trwyddo fod Owain Glyndwr ar yr adeg y cyfansoddwyd ef yn llwyddiannus yn ei anturiaethau. Nid oes ynddo gyfeiriad o gwbl at unrhyw fethiant. Ond, nis gellir penderfynu gyda dim sicrwydd ym mha flwyddyn y cyfansoddwyd ef. Yr unig gyfeiriad a rydd ychydig gynnorthwy ydyw llinell 14, lle y dywedir fod Owain "yn dial kam y dehau." Pa fodd bynag, gwelir yn ein "Braslun," &c., iddo fyned i'r Deheudir yn 1401, 1402, 1403, 1404, a 1405. O'n rhan ein hunain, buasai yn hawddach ein tueddu i feddwl iddo gael ei gyfansoddi rywbryd tua 1402, o blegid yn sicr ni fu Owain yn fwy ei rwysg ar un adeg yn ystod y gwrthryfel na'r flwyddyn hono ; pryd y llwyddodd i gymmeryd Syr Edmund Mortimer a'r Arglwydd Grey yn garcharorion ; a'r flwyddyn dywedir hefyd iddo gael ei goroni ym Machynlleth.

Ond, os na allwn brofi yr amseriad i'r manylrwydd hwn, y mae yn eithaf sicr iddo gael ei gyfansoddi rhwng dechreu 1400 a diwedd 1405.

Nid ydyw y cywydd drwyddo ond canmoliaeth ddigymmysg, yn cynnwys cryn lawer o eiriau a brawddegau llanw, gyda rhai ailadroddiadau. Y mae yr awdwr yn gwneyd dwy ymgais i ddefnyddio yr hyn a elwir yn gymmeriad llythyrenol, sef trwy arfer yr un llythyren yn nechreu y llinellau, sef *Ll* o llin. 25 i 33, a *P* o llin. 35 i 52; ond ychydig iawn o ymdrech a welir yng nghyfansoddiadau Iolo at y fath gywreinion a chymmeriad llythyrenol neu gymmeriad geiriol.

Llyma fyd rrag syfryd[1] sais
mynych iawn a ddamunais
kael arglwydd llam arwydd llain
o honon ni nyhunain[2]
pybyr chwaen pawb a adwaen pwy
arf glan dewr darf glyn dyfrdwy[3]

[1] Y mae y darlleniadau o'r gair hwn yn lled amrywiol :—"sythfryd," gyda "syffryd" ar ymyl y ddalen, yn *Add. MS.*, 14,970; "sythfryd" yn *Add. MS.*, 14,940, fol. 104; "sythrig" yn *Add. MS.*, 14,876, *Add. MS.*, 14,940, fol. 57, ac *Add. MS.*, 14,964; a "siffryd" a geir yn *C. Ll. G.* a *G. B. C.*, gyda'r hysbysiad ar waelod y ddalen yn yr olaf fod "siffryd" yn "lluosog o siffrwd." O'n rhan ein hunain tybiwn mai "syfryd" (*severity*) oedd y gair a ddefnyddiwyd gan y bardd.

"Llyma fyd rhag sythfryd sais
Mynych iawn y damunais."
*Add. MS.*, 14,970.

[2] "Cael Arglwydd llawd arwydd llain
o honom ni ein hunain."
*Add. MS.*, 14,970.

Nid oes synwyr na chynghanedd yn "llam" na "llawd," a gynnygir fel y trydydd gair yn llin. 3. Nid oes ammheuaeth nad "llawn" a feddylir, ac felly y mae yn *Add. MSS.*, 14,876, 14,940; *G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

Yr hyn a ddywed y bardd ydyw, ei fod wedi hir ddymuno, o herwydd ymddygiad llymdost a gorthrymus y Seison, i'r Cymry gael eu harglwyddiaethu gan un o honynt hwy eu hunain.

[3] "Pybyr chwaen pawb a adwaen pwy
Glan arf Deifrdarf Glyndyfrdwy."
*Add. MS.*, 14,970.

Yn hollol yr un fath a'r darlleniad hwn, ac eithrio yr attalnodiad a'r prif lythyrenau, y ceir y llinellauh yn yn *G. B. C.*, a

Owain loyw waedlain lidlorf
i ymwan naw tarian torf[1]
eurgledd pobol arglwydd pybyr
ergryd ai weryd ar wyr[2]
aed y byd braw gynbryd gan
iddo reg o ddyrogan[3]
glan ywr arglwydd mawrlwydd mau
yn dial kam y dehau[4]
deall awnair gowair gan
o hono ef i hunan[5]

*C. Ll. G.*; ond "dewrdarf" a geir yn *Add. MS.*, 14,940, fol. 57.

[1] "Owain wayw waedlain lidorf
I ymwan naw tarian torf."
*Add. MS.*, 14,970.

"Owain loyw waydlan," &c.
*Add. MS.*, 14,940, fol. 57.

"Owain wayw waedlain lidlorf,
I ymwan naw tarian torf."
*G. B. C.*

Yn ol y gynghanedd, y testyn sydd yn gywir.

[2] "Eurgledd pobl Arglwydd pybyr
Ergryd i wryd ar wyr."
*Add. MS.*, 14,970.

"Orgryd ai weryd ar wyr."
*Add. MS.*, 14,940, fol. 57.

"Ergryd ei wryd ar wŷr."
*G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

Nis gwyddom beth yw "orgryd"; ond y mae "ergryd" yn golygu *ofn*; a'r hyn a ddywed y bardd yw, y byddai i "wryd" (=dewrder) Owain greu dychryn "ar wŷr."

[3] "Aed o'r byd fry ganfryd gân
Iddo reg o ddarogan."
*Add. MS.*, 14,970.

"Oed y byd braw geinbryd gan."
*Add. MS.*, 14,940, fol. 57.

Wrth "reg" yma y golygir *anrheg*, neu *rodd*.

[4] "Glan yw'r Arglwydd mawlrwydd mau
Yn dial cam y Dēau."
*Add. MS.*, 14,970.

"Mowrlwydd" yn *Add. MS.*, 14,876.

Y mae yn hawddach genym gredu mai "mawr lwydd" ydyw y cywiraf; sef *llwyddiant mawr* Owain pan yn dial cam y dehau. Ond gan iddo fyned i Ddeheudir Cymru amryw o weithiau, y mae yn anhawdd gwybod at ba amgylchiad y cyfeirir. Tybia y Parch O. Jones (*Ceinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i. tudal. 18) mai at yr adeg y lladdodd bymtheg cant o'r Fflandrwysiaid ar Bumlumon, yn 1401, y cyfeirir.

[5] "Deall a wnair gywair gan
O honaw ef ei hunan."
*Add. MS.*, 14,970.

Y mae y llinellau hyn yn ymddangos yn lled dywyll i ni. A ydynt yn golygu rhyw beth mwy na'r mynegiad syml fod yr hyn a wnaed gan Owain y pryd hwn yn destyn teilwng i ganu arno?

trin gyrcher goleuder glain
tra ewybr or tri owain[1]
Owain glain dwyrain glyn dwr
baun trasyth[2] yn ben treisiwr
Owain or glyn lain aur gledd
dyrfyscwr deifr dorf oscedd[3]
Owain febyd aerfyd wr
gwiwrwysc un an goryscynwr[4]

[1] "Trin gyrcher goleuder glain
Tra ewybr or tri Owain."
*Add. MS.*, 14,910.
"Cyd-ddarllēer gloywder glain
Tra ewybr o'r tri Owain."
*Add. MS.*, 14,970.
"Cyd ddarllöer gloywder glain
Tra ewybr o'r tri Owain."
*G.B.C.*
"Cŷd ddarllöer gloywder glain,
Tra ewybr, o'r tri Owain."
*C.Ll.G.*

Y mae "cyd ddarllawer" yn cael ei gynnyg fel eglurhad ar "cŷd ddarllöer," ar waelod y ddalen, yn yr olaf. Ond nid ydyw yr eglurhad yn goleuo dim arnom—darllaw! Darllaw pa peth? Gwell o lawer na hwn yw darlleniad y testyn—"trin gyrcher," gan gymmeryd "trin" i olygu *cad*, neu *frwydr*, a "gyrcher" am *ymosodiad*. Gwelir Bleddyn Vardd (*Myv. Arch.*, p. 251) yn defnyddio "kyrchyad" yn yr un ystyr :—

"Gwyr hydreit gwreit am uro geri
Gwyr kyrchyad yg kad yg galedi blwng
Ny edynt ystwng ystrad Tywi."

Ond ymddengys fod "cyd-ddarllëer (*Add. MS.*, 14,970) yn fwy naturiol na'r un o honynt; hyny yw, y bydd coffadwriaeth y tri Owain yn cael eu cadw, a'u darllen tra bydd ffurfafen mewn bod. Neu mewn geiriau ereill, y mae yn cymharu Owain Glyndwr i ddau arall, sef Owain ab Urien Rheged ac Owain Gwynedd, yn ol fel y gallwn dybied.

[2] Ceir "trasyth" hefyd yn *Add. MSS.*, 14,876, a 14,940; ond "trasyw" (=tra gwisgi) a geir yn *Add. MS.*, 14,970, *G.B.C.*, a *C.Ll.G.*

[3] Yn *Add. MS.*, 14,870, ac yn gyffelyb yn *G.B.C.*, a *C.Ll.G.*, y y mae y darlleniad yn llawn mwy naturiol :—

"Owain arglwyddlain aur gledd
Derfysgwr Deifr dorf osgedd."

Cyfeiriad sydd yma at Owain ab Urien yn lladd Fflamddwyn (Ida), brenin Northumberland. "Deifr" oedd y rhanbarth ddeheuol o deyrnas y Brigantiaid; a'r rhan ogleddol o honi a elwid Brynaich. Bu i'r taleithau hyn un amser frenhinoedd o'r eiddynt eu hunain; ond ar ol hyny unwyd hwynt. Wedi i'r Sacsoniaid eu dwyn oddi ar y Brigantiaid, galwyd hwynt dan yr enw *teyrnas* Northumberland. (*Gwaith Lewis Glyn Cothi*, tudal. 155.)

[4] "Owain hefyd aerfryd wr
Rwysg anian oresgynnwr."
*Add. MS.*, 14,970.

llyw llawen yw llew a nudd[1]
llyrf ffyrf digriffyrf[2] gruffydd
llidio wrth wyr a llediaith
llym gledd bryd arwedd brwydur waith[3]
llwydd brenin fydd lladd brynaich
llew o brudd nerth llaw a braich[4]
llygra gyrff gwyr lloeger goch
llew aurgryf hyder llaw eurgroch[5]

Nid oes yma nodau i adnabod yr Owain hwn; ond diammeu nad oedd neb llai na Owain Gwynedd, mab Gruffydd ab Cynan. "Owain hefyd" ac nid "Owain febyd" a ddylai fod, yn ddiammeu.

[1] Nudd Hael, i'r hwn y cymherir Owain o ran ei haelioni, fel y cymherir ef i'r llew o ran nerth a dewrder.

[2] "Ddigrif-ffyrf" yn *Add. MS.*, 14,970. Ond odid nad ymddangosiad hawddgar = *pleasing appearance* a feddylir yma. Yn yr ystyr a roddir genym ni yn bresennol i'r ymadrodd, ni allesid ei ystyried mewn un modd yn ffafriol = *grotesque appearance.* Pa fodd bynag, nid yw y llinell, wedi'r cyfan, yn cynnwys mwy na'r hyn a ddywedir yn gyffredin gan wrageddos am blentyn—sef, ei fod yn debyg i'w dad—Gruffydd.

[3] "Llidiog wrth wyr a llediaith
Llym gledd bryd ar wedd brwydr waith."
*Add. MS.*, 14,970.
"Llidiog wrth wŷr â llediaith,
Llym gledd bryd ar wedd brwydr waith."
*G. B. C.*

Tybiwn mai amcan y bardd ydoedd gosod allan fod Owain nid yn unig yn ddigofus wrth y Seison, ond ei fod yn casäu hefyd bawb ag oedd yn ymdebygu iddynt mewn unrhyw beth. Onide, pa ystyr a roddir i "wŷr â llediaith?" Wrth *llediaith* y meddylir y rhai hyny a siaradant Gymraeg gydag aceniad Seisonig.

[4] "Lludd Brenin yn lladd Brynaich
Llew bryd a nerth llaw a braich."
*Add. MS.*, 14,970, *G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

Ymddengys i ni fod y testyn yn fwy cywir gyda golwg ar llinell 29; ac y mae yn cytuno yn hollol â'r darlleniadau a geir o honi yn *Add. MSS.*, 14,876 a 14,940. Am y llinell 30, anturiwn awgrymu mai "brydd" = *volunteer, a self-devoted person*, a ddylai fod yn lle "brudd," neu "bryd"—h.y., llew, o ewyllys calon, yn lladd Brynaich.

[5] Y mae y darlleniadau yma yn gwahaniaethu bron ym mhob llyfr:—

"Llew ergryd hydr llaw/llew aergroch
Llygra gyrph holl wyr Lloegr goch."—*Add. MS.*, 14,970.
'Llêw aurgryf hyder llaw eurgroch."—*Add. MS.*, 14,876.
"Lliw aurgryff hyder llaw eurgroch."—*Add. MS.*, 14,940.
"Llew ergryd hydr llew aergroch,
Llygra gyrph holl wŷr Lloegr goch."—*G. B. C.* (a *C. Ll. G.* yn gyffelyb.)

llurig dduw ddiwall arwydd
am Owain ior rufain rwydd[1]
pybur wanar bleiddiar blwng
perffaith tair talaith teilwng[2]
pur yw i glod por y glyn
pwyll ryscwr pell orescin[3]
paun glan hael koweth hael koeth
prifbur wayw awchddur wychddoeth[4]
por a ladd meawn ymladdgors
pedwar kan mil o hil hors[5]

Fe sylwir mai y testyn yn unig sydd yn gosod y llinellau yn y drefn uchod; gan fod yr oll o'r lleill yn rhoddi llin. 32 yn gyntaf.

1 "Llurig Duw diwall arwydd
Ar Owain Ior Rhufain rhwydd."
*Add. MS.*, 14,970.

"Am Owain," &c.
*Add. MS.*, 14,876.

Ai y Pab ydym i ddeall wrth "Ior Rhufain?" Dymuniad sydd yma, fe allai, am i'r Pab fendithio Owain yn ei anturiaethau.

2 "Pybyr wanar bleiddgar blwng
Perffaith tair talaith teilwng."—*Add. MS.*, 14,970.

Gosodir Owain allan yma fel arweinydd nerthol (=pybyr wanar) tair talaeth Cymru—Gwynedd, Powys, a Dyfed; am y rhai y cyfeiria y bardd fel pe buasent eisoes yn ei feddiant, wedi eu cymmeryd oddi ar y Seison fel y cipia blaidd sarug ei ysglyfaeth. O leiaf, tybiwn mai rhyw syniad o'r natur yma oedd yn rhedeg trwy ei feddwl.

3 "Pur yw ei glod Por y Glyn
Pwyll rwyscwr pell orescyn."
*Add. MS.*, 14,970.

"Pur yw ei gledd, por y Glyn,
Pwyll rwysgwr, pell oresgyn."—*G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

Tueddir ni i dybied mai "gledd," ac nid "glod" ydyw y cywiraf. Y mae Iolo yn hynod o hoff o'r gair "por"=arglwydd; ac yn ei ddefnyddio yn fynych. Cyfeiria "pwyll rwyscwr" at ddoethineb ei symmudiadau—sef, er ei fod yn anturio yn bell i oresgyn, nad yw yn gwneyd hyny heb fwrw y draul yn bwyllog.

4 "Paun glan hael cyweithgael coeth,
Prifddur gwayw awchddur gwychddoeth."
*Add. MS.*, 14,970.

"Paun glân hael cyweithgael coeth
Prifddur gwayw awchddur gwychddoeth."—*G. B. C.*

Yn gyffelyb hefyd i'r darlleniadau hyn y mae yn *C. Ll. G.*; ac ymddengys i ni eu bod yn gywirach na'r testyn.

5 Yn *Add. MS.*, 14,970, *G.B.C.*, a *C. Ll. G.* cyfleuir llin. 33 a 34 o flaen y ddwy linell uchod.

"Por a ladd mewn ymladdgors
Pedwar canmil o hil Hors."
*Add. MS.*, 14,970, a *G.B.C.*

pablaidd[1] gorff[2] pobloedd a gur
post addwyn[3] hael pais dewddur[4]
pen nen pur mur mawr waladr[5]
por glew llew llym kyflym kadr[6]
prudd nudd ner ywr mowr ner mau
por dor dar gwanar gwinau[7]
pleidiwr[8] brwydur[9] paladr briwdwn[10]
poed gwir bowyd[11] hir i hwn
peder yw borth poed hir i bo
pe mau swydd pumoes iddo[12].

Iolo Goch.

"Meawn" (mi-awn) ydyw cynaniad pobl Sir Fôn a rhanau o Sir Gaernarfon o'r gair *mewn*. Yr oedd yr hen feirdd yn ysgrifenu yn fwy seinebol (*phonetic*) nag yr ydym ni; ond, ar yr un pryd, tebygol mai orgraff y copiwr, ac nid Iolo, a geir yn y gair hwn.

Yn y llinell olaf y mae Iolo yn darogan brwydr sydd eto heb gymmeryd lle, sef, y byddai i Owain ladd 400,000 o hil Hors—y Seison—oddi wrth Horsa, brawd Hengist.

1 Pablaidd = Heinyf = (*active*).

2 "gorph."—*Add. MS.*, 14,970, *G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

3 "addwyn" = rhinweddol (= *virtuous*)—"post addwyn" a olyga nodweddion moesol Owain yn y cymmeriad o flaenor y genedl.

4 "pais dewddur" = llurig o ddur trwchus—nodyn yn *C. Ll. G.*

5 "waladr" = rheolwr.

6 "cyflym cadr."—*Add. MS.*, 14,970, *G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

7 "Prudd Nudd Ner yw'r Muner mau
Por dor dar gwanar gwinau."
*Add. MS.*, 14,970.
"Prudd Nudd Ner yw'r Muner mau,
Por dor dar yw'r gwanar gwinau."
*G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

Nis gwyddom beth a feddylir wrth "prudd" yn nechreu y llinell flaenaf os nad ffurf arall ar "prydd" = *luxuriant*. Y mae "mawr ner" y testyn yn cael ei ysgrifenu yn "mowrner" yn *Add. MS.*, 14,940, ac yn "mowner" yn *Add. MS.*, 14,876. Tebyg mai "muner" = *rheolwr* sydd gywiraf. "Dor dar" = drws derw? Os hyn a olygir, diammeu mai y syniad yw ei fod yn amddiffynwr cadarn i'w bobl.

8 "Pleidiwr."—*Add. MS.*, 14,876, *G. B. C.*, a *C. Ll. G.*
"Pleidiw."—*Add. MS.*, 14,970.
"Plediwr."—*Add. MS.*, 14,940.

9 "Brwydr" yn yr oll heb law y testyn.

10 "Paladr briwdwn" = torwr paladr?

11 "Bywyd."—*Add. MS.*, 14,970, *G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

12 "Pedr iw borth pa dir y bo
Pe mwy i swydd pumoes iddo."—*Add. MS.*, 14,970.
"Pedr i'w borth pa dir y bo,
Pwy mwy'i swydd? pum' oes iddo!"—*G. B. C.* a *C. Ll. G.*

## XIII.

### LLYMA GYWYDD Y BARDD YN YMDDIDDAN AI ENAID AM HELYNT Y DEHEUDIR, AG AM HELYNT OWAIN GLYN DYFRDWY (O LYFR BRECHFA).

(*O'r Add. MS.*, 15,003, *fol.* 57.)

Ceir y cywydd hwn, heb yr un penawd (ond gyda'r enw "Breuddwyd" yn y ddangoseg), ac yn fyrach o ddeg llinell, yn *Add. MS.*, 14,976; y mae i'w gael hefyd yn *Jesus MS.*, C. 101, p. 350; ac yn argraffedig yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 17—wedi ei adysgrifenu, fel y gallem dybied, er nad yn hollol gywir, o'r un ffynnonell a ninnau. Ceir ef hefyd mewn ysgriflyfr perthynol i Syr John Williams, 63, Brook Street, Grosvenor Square, W., dan y penawd "Cywydd y Bardd yn gofyn i'w Enaid Hanes Deheudir."

I ni, o leiaf, y mae amcan y bardd wrth gyfansoddi y cywydd hwn yn aneglur. Ceir ynddo gyfeiriadau at amryw leoedd ag na fu, hyd y gwyddom, unrhyw gyssylltiad rhwng Owain Glyndwr â hwynt o gwbl. Ac, fel y gwelir, nid oes grybwylliad am *enw* Owain ynddo. Dichon, ar yr un pryd, ei fod yn rhyw fath o restr (*catalogue*) o'r parthau hyny o Gymru ag oeddynt gan mwyaf yn ffafriol i'r gwrthryfel. Oddi wrth llin. 55-56, yr ydym yn ceisio dyfalu fod ynddo gyfeiriad at waith Owain Glyndwr yn llosgi tref Gaerfyrddin yn 1403; ac os ydyw ein dyfaliad yn gywir, gallwn gasglu i'r cywydd gael ei gyfansoddi oddeutu yr amser hwnw. Ond er fod ynddo amryw o gyfeiriadau ac awgrymiadau tywyll, yr ydym yn credu wedi'r cyfan mai rhyfeloedd Owain, ar hyd wahanol ranau o'r wlad, oedd gan y bardd dan sylw.

Ymddiddan bwhwman[1] hwyr
A wnaeth yr enaid neithwyr
Cyffes eres a orug
I'r corph oer rhag caru ffug,[2]
Meddai'r enaid rhaid rhadlawn
Mae ydd wyd y corph meddw iawn ?[3]

CORPH

Pa ddrygiawg air hawg er hynn ?
Pa gyfaill ? pwy ai gofyn ?[4]

ENAID

Myfi ydyw mau fudiaith,[5]
D'enaid teg a fu'n dwyn taith
Ni adewais lednais le
Yng Nghymru ar fy nghamre[6]
Heb d'ymofyn hynn yw'r hedd[7]
I'r goreugwyr a'r gwragedd

[1] "Bwhwman" = *anwadal, ansefydlog*. Y mae y bardd, trwy fabwysiadu breuddwyd fel cyfrwng ei fynegdraith, yn esgusodi ei hunan, ar y cychwyn, o herwydd y rhyddid a gymmerai i drafod ei destyn mewn arddull wasgarog.

[2] Y mae *Add. MS.*, 14,976, yma, yn gystal ag mewn amryw linellau ereill, yn dra gwallus :—

"Cyffyffes ores a orug
ar corff oer or caru ffug."

"*I'r* corff oer," &c., a geir yn *C. Ll. G.*, a hyny ydyw y cywiraf. Dyweyd y mae y bardd i'r enaid wneuthur cyffes ryfeddol i'r corff, er ei ddarbwyllo rhag rhoddi ei hyder ar ffug.

[3] Enghraifft arall o ddiofalwch copïwr yr *Add. MS.*, 14,976, a geir yn :—

"Meddai /r/ enenaid raid radlawn
mae dd wyd y corff meddw iawn."

"Meddai /r/ enaid raid radlawn
mae—ddwyd y corff meddw iawn."—*Jes. MS.*

[4] "Pa ddrwg air hawg or hynn
pa gyfaillt pwy ai gofyn."
*Add. MS.*, 14,976.

[5] Y mae y llinell hon yn dywell i ni.

[6] Yma, eto, y mae *Add. MS.*, 14,976, yn wallus :—

"Mi adewais lednais le
ynghymru ar fynghanwe."

"Ni edewais lednais le
ynghymrû ar fynghamre."
*Jes. MS.*

[7] Tybiwn nad ydyw "hynn yw'r hedd" amgen na geiriau llanw, heb unrhyw amcan iddynt heb law odli â "gwragedd." Y mae hyny o feddwl sydd yma i'w gael trwy gyssylltu y rhan flaenaf o'r llinell gyda'r llinell ddilynol : — "Heb d'ymofyn . . . . . i'r goreugwyr a'r gwragedd."

Ni wyddiaint[1] neb p'le 'ddoeddud
Nid hawdd ymadrawdd a mud
Tithau'n egwan dy anwyd[2]
Mewn glwth ellyl[3] meingul ŵyd
Yn chwyrnu megis chwornell
Gormodd bw[4] gwr meddw o bell
Tra cherddais 'mofynnais fawl,[5]
Drwy *Geri*,[6] gwlad ragorawl,
Ar *Dref Newydd* lifwydd[7] lefn,
Bwrdeisdref[8] baradwysdrefn
Ymlynais ym Maelienydd[9]
Dy ol di fal helgi hydd,

[1] "Ni wyddiad" yn *Add. MS.*, 14,976, a *Jes. MS.*; ond yn fwy cywir yn y testyn.

[2] "Annwyd" yn *Add. MS.*, 14,976. Y testyn sydd gywir—"anwyd" = *disposition;* oerfel (*cold*) ydyw "annwyd."

[3] "Ellyll" yn *Add. MS.*, 14,976, a *C. Ll. G.*

[4] "bw" = dychryndod.

[5] "Dra kerddais mofynnais mawl."—*Add. MS.*, 14,976.

[6] Ceri (Seis. *Kerry*) sydd blwyf yn rhanbarth uchaf cantref Trefaldwyn, Sir Drefaldwyn. Yn yr hen amseroedd yr oedd Ceri yn cael ei wneyd i fyny o blwyfi Ceri a Mochdref; a'r pryd hwnw gelwid yr eglwys yn Llanfihangel yng Ngheri. (Lewis's *Top. Dict. of Wales*, vol. i., s.v. "Kerry.") Y mae y rhan fwyaf o'r plwyf yn awr, beth bynag am ei ragoroldeb pan gyfansoddwyd y cywydd, yn dir diwylliedig a ffrwythlawn. Saif y pentref ryw dair milltir i'r deddwyrain o'r Drefnewydd, ar y ffordd i Bishop's Castle.

[7] Yr hyn a feddylir wrth "lifwydd" ydyw coed wedi eu llifio yn estyllenod. Ac os oes meddwl i'r gair yma o gwbl—heb law ei fod yn cynnorthwyo tuag at wneyd y llinell yn saith sill—y mae yn ein hysbysu mai tai coed—o estyllenod llyfnedig—oedd yn y Drefnewydd yn yr oes hono.

[8] Tref farchnad ydyw y Drefnewydd, yr hon a saif yn y rhanbarth dde-ddwyreiniol o sir Drefaldwyn. Yn 1832, gwnaed hi yn fwrdeisiaeth, yn meddu hawl, mewn undeb â Threfaldwyn, y Trallwm, Llanidloes, Machynlleth, a Llanfyllin, i anfon cynnrychiolydd i'r Senedd. Ond fe welir oddi wrth y cywydd ei bod yn fwrdeisdref yn amser Iolo Goch; eto, prin mae angen dyweyd mai mewn ystyr hollol wahanol. Y cynnyg cyntaf i wneyd y Drefnewydd rywbeth ar ffurf tref, neu fwrdeisdref, oedd yr hawlfraint a roddwyd iddi i gynnal ffeiriau, yn yr wythfed flwyddyn o deyrnasiad Edward I. (*Bye-Gones*, Feb. 18, 1891).

[9] "Melienydd" yn *Add. MS.*, 14,976. Maelienydd, enw ar ranbarth yn sir Faesyfed, yn cyrhaedd i'r gogledd-ddwyrain can belled a'r

Ger tai meibion Llëon llu
*Philib Goeth*, dewrddoeth *Dorddu.*[1]

CORPH

Uwchelrwysg bobl wych haelryw
Och fi, a oeddynt iach fyw?

ENAID

Gwyr Elfael[2] geirw gwrolfeilch
Byw a iach nid gwychach gwailch

CORPH

A tuost yngwlad *Füellt*[3]
Elfydd deg ei gwydd a'i gwellt?

afon Teme, gan gymmeryd i mewn Dref y clawdd (*Knighton*). Terfynid Maelienydd, o du y gorllewin, gan Gwrtheyrnion, yr hon weithiau, er nad bob amser, a ystyrid yn rhan o honi; ac o du y dehau, gan Elfael. (*Owen's Descript. of Penbrokshire*, pp. 202-3, note 2.) Perthynai rhan o Maelienydd i Iarll March, ac yn y rhanbarth hono y saif Bryn-glas, ger Mynydd Pilleth, lle y gorchfygwyd Syr Edmund Mortimer gan Owain Glyndwr, yn 1402. Dosrenid Maelienydd gynt i ddau gantref; cynnwysai y naill "Kym6t Keri" a "Kym6t g6erthrynnyon," a'r llall "Kym6t swyd uudugre," "kym6t swyd yethon," a "Kym6tt llwythyfn6c" (*Text of the Bruts*, p. 409.) Gwel Cywydd Rhif XIV., llin. 60, lle cyfeirir at *Yethon* = Ithon, neu Ieithon.

[1] Ceir enw Philip Dorddu yn fynych yn achau Sir Faesyfed, gan Lewys Dwnn (*Heraldic Visitations*, vol. i., pp. 251-68), lle y gwelir ei fod yn disgyn, yn y nawfed ach, o Elystan Glodrudd. Fe ganodd Lewys Glyn Cothi (*Gwaith*, tudal. 305), gywydd i "Ieuan ab Phylip, o Gevn Llys, Maes Hyvaidd," yr hwn oedd yn hanu o Philip Dorddu. Cefn Llys yn bresennol sydd blwyf, a bwrdeisdref gyfranogol, ar lan yr afon Ieithon, yn sefyll oddeutu 8 milltir i'r de-ddwyrain o Rhaiadr Gwy. Yn y plwyf hwn y mae olion hen gastell—Din Ieithon—yr hwn a ddywedir a adeiladwyd gan Ralph Mortimer, yn y flwyddyn 1242. Cyfeirir at yr hen gastell hwn gan ysgrifenwyr diweddar wrth yr enw Castell *Glyn* Ieithon.

[2] Rhanbarth ddeheuol Sir Faesyfed ydoedd hon, ac yr oedd yn cynnwys yr hyn a amgauid gan yr afon Wy rhwng Llanfair ym Muallt a Whitney, yn cyrhaedd i'r gogledd hyd uniad yr Ieithon â'r Wy, ac yna yn myned rhagddi gyda Gwrtheyrnion a Maelienydd (*Owen's Descript. of Penbrokshire*, p. 202, note 2.) Dosrenid Elfael i Gwmmwd Uwch Mynydd a Chwmmwd Is Mynydd. (*Text of the Bruts*, p. 409).

[3] Yr oedd Buellt, neu Buallt, yn yr hen amseroedd yn dywysogaeth ar ei phen ei hun, ac yn cyfateb

ENAID

[1]Bum ar ei lled, mawrged mau,
Goleuddydd yn cael gwleddau

CORPH

A fuost lle car f'awen
Ar gain gyrch *Morganwg wenn* ?[2]

ENAID

Bum, a gwaith digrif oedd bod,
Brenhin*aidd* Bro wenn hynod *edd in al.*

CORPH

A fuost le difeiaf,
Ym Mlaenau terfynau *Tâf* ?[3]

i gantref Buallt yn bresennol. Nid oedd yn ffurfio rhan o'r hen Frycheiniog; ond unwyd hi yn ddiweddarach i wneyd i fyny y Sir hono. (*Owen's Descript. of Penbrokshire*, p. 202, note 2.) Yn ol y *Llyfr Coch o Hergest*, yr oedd Buellt yn cynnwys pedwar o gymmydau :—"Kymỽt penn vuellt, kymỽt sỽydman, kymỽt treflys, [a] kymỽt is iruon." (*Text of the Bruts*, p. 409.) Wrth "sỽydman" y dyfyniad y golygir Swydd Dinam (=Llysdinam), ger Newbridge.

¹ Y mae o llin. 35 hyd ddiwedd 38 wedi eu gadael allan yn *Add. MS.*, 14,976.

² Nid ydyw yr hyn a elwir yn awr yn Sir Forganwg yn cyfateb i'r hen Forganwg. Y mae y sir yn cynnwys Gŵyr, yr hon oedd yn Ystrad Tywi; ac nid ydyw yn cynnwys Gwynllywg, yr hon, gyda Edelygion, a ffurfiai y rhanbarth a safai rhwng rhediad yr Wysg a'r Rumney. Yr oedd Gwynllywg, mor ddiweddar ag amser Leland, yn perthyn i Forganwg (mewn gwrthgyferbyniad i Gwent), ond y mae yn awr yn rhan o Sir Fynwy. Golyga Morganwg 'diriogaeth Morgan Hên,' yr hwn a fu farw yn 980, ac nid (yn ol fel y tybia rhai) Morgan Mwynfawr, yr hwn a fu farw oddeutu 665. Hyd o gylch y flwyddyn 1000, adnabyddid y wlad dan yr enw Glywyssing ; eto nid oedd hono yn hollol gyfateb o ran ei therfynau i Forganwg, o blegid yr oedd, ar y naill law, yn cau Gwent allan, yr hon unwaith a berthynai i diriogaeth Morganwg ; ac, ar y llaw arall, yr oedd yn cynnwys Gŵyr. Nid ydyw y terfynau a roddir i Glywyssing yn yr *Iolo MSS.*, p. 18, a'r defnydd a wneir o'r enw 'Gwent' am ddyffryn Morganwg ar tudal. 100-1 o'r gwaith hwnw, ond hollol ffugiol—wedi eu dyfeisio gan hynafiaethwyr yr unfed ganrif ar bymtheg a'r eilfed a'r bymtheg (*Owen's Descript. of Penbrokshire*, p. 208, note 1.)

³ Y mae tair afon yn myned dan yr enw *Tâf*. Y ddwy flaenaf ydynt *Tâf Fawr* a *Tâf Fechan*, y rhai a godant ym Mannau Brycheiniog ; ac a ymunant â'u gilydd ar derfyn y sir. Ond y drydedd, a'r unig un

ENAID

[1]Yno y bum mewn iawn barch
Da hoywfawl gwyr dihafarch.

CORPH

A fuost ar nawf[2] awyr
Ymlyn gwawd ym *Mlaenau Gwyr* ?[3]

ENAID

Treiglais yno trwy oglud,
Ni bum ar goll ei holl hŷd,
Na chwech trech y *Trichantref*
Gwell *Caeaw* na *naw o Nef*,[4]

a adnabyddir yn gyffredinol wrth yr enw *Tâf*, a dardda yn y Vrenny Vawr, oddi ar Llanfrynach, yng ngogledd-ddwyrain Sir Benfro; ac yna ar ol rhedeg oddeutu pum' milltir ar hugain, trwy ranau o siroedd Penfro a Chaerfyrddin, i gyfeiriad de-ddwyreiniol, heibio i Whitland, St. Clears, a Llacharn, ymgolla ym meisfor Caerfyrddin, yn ymchwydd y Tywi. A thybiwn mai wrth "flaenau terfynau Tâf" y golygai y bardd gymmydogaeth Llanfrynach. Adnabyddir y ddwy afon flaenaf gan y Seison wrth yr enw *Taff*, a'r olaf wrth yr enw *Tāve*.

[1] Y mae llin. 43-48 yn cael eu gadael allan yn *Add. MS.*, 14,976.

[2] "Nawf" = nofio, h y., yn hofran yn yr awyr.

[3] Safai Gŵyr (Gower) rhwng yr afonydd Llwchwr a'r Tawe, Brycheiniog, a'r môr; a pherthynai i Ystrad Tywi, ond y mae yn awr yn rhan o Sir Forganwg. Yr oedd yn cyfateb mewn arwynebedd i gantrefi diweddar Abertawy, a rhan, o leiaf, o Llangyfelach. Wrth "Gower," yn ol fel y defnyddir yr enw yn awr, y meddylir cantref Abertawy yn unig. (*Owen's Descript. of Penbrokshire*, p. 200, note 1.)

[4] "Na chwech twrch yw'r trychantref
gwell caeaw na naw o nef."
*Add. MS.*, 14,976.

Yn *Jes. MS.* ceir "tref" yn lle "trech" (llin. 49), a darllena llin. 50:—"Gwell cavav na nav o nef."

Tybiwn mai wrth y "Trichantref" yr ydym i olygu Tri Chantref Ystrad Tywi—Cantref Mawr, Cantref Bychan, a Chantref Eginawg. Yn ol "Parthau Cymry" (*Text of the Bruts*, p. 410), yn y cantref blaenaf y saif "kym6t kaeaw" = cwmmwd Caeo. Ond deallwn nad ydyw hyn yn hollol gywir. Ceir crybwylliad am y "trichantref" ym Mabinogi Pwyll (*Mabinogion*, Oxford edit., p. 25), lle y dywedir fel hyn:—"Ac y g6ledych6ys ynteu pryderi seith cantref *dyuet* yn ll6ydyannus garedic gan y gyuoeth *a chan pa*6b yn y gylch. Ac yn ol hynny y kynyd6ys *trichan*tref ystrat tywi. a phedwar cantref kered*igya*6*n*. Ac y gel6ir y re hynny seith gantref seissyllwch."

CORPH

A welaist wyr *Cydweli* ?[1]

ENAID

Gwiw olau Stryd—gwelais *Dri*
Digon gennyf diegin,
Gweled or *Tri Gwaladr Trin*,[2]
Tew oedd yn *Ystrad Tywi*[3]
Dial dwys dy olau di,[4]

Cwmmwd oedd Caeo a roddodd ei enw (1) i Caer Gaeo, ger Pymsant; (2) i blwyf Cynwyl Gaeo, a elwid felly er ei wahaniaethu oddi wrth Gynwyl Elfed, h.y., Eglwys St. Cynwyl yng nghwmmwd Elfed; talfyrir enw y plwyf hwn yn awr i "Cayo": ac (3) i gantref diweddar Caeo, yr hwn sydd yn llawer eangach na'r hen gwmmwd.

[1] Bwrdeisdref a thref farchnad, yn sefyll ar ymuniad y ddwy afon—Gwendraeth Fawr a Gwendraeth Fach, yn Sir Gaerfyrddin, ydyw Cydweli; ac y mae o fewn rhyw naw milltir o'r de-ddwyrain i dref Caerfyrddin. Yr oedd y rhanbarth yn yr hon y saif hefyd, yn myned dan yr enw Cedweli — un o gymmydau y trydydd cantref perthynol i Ystrad Tywi; a chymmerai i mewn y gongl a orwedda rhwng rhanau isaf y Tywi a'r mor, ac yn cael ei derfynu ar y dwyrain gan Carnwyllon ac Is Cennen—yr olaf yn un o gymmydau y Cantref Bychan (*Owen's Penbrokshire*, p. 200, note 1 )

[2] " Digon genif da egin
gweled o'r tri gwaladr trin."
*Add. MS.*, 14,976.

Credwn fod hwn yn well darlleniad nag a geir yn y testyn. " Da egin . . . . tri gwaladr trin," sydd gyfeiriad, mae'n debyg, at dri o swyddogion ieuainc oedd yn cynnorthwyo Owain Glyndwr yn y parthau hyn. Tybiwn fod " egin " yma yn gyfystyr â'r ymadrodd Seisonig—*young blades*.

[3] Cynnrychiolir rhanbarth Ystrad Tywi, yn bresennol, yn lled agos, gan Sir Gaerfyrddin, ond gyda dau eithriad lled bwysig. Yr oedd Ystrad Tywi yn cynnwys Cwmmwd Gŵyr, yr hwn sydd yn awr yn Sir Forganwg. Ac y mae y sir, gydag eithrio y Velfrey, ac fe allai y rhan hono a elwid Peuliniog, yn cynnwys yr oll o Gantref Gwarthaf—y mwyaf o Saith Gantref Dyfed—yr hwn *ni* pherthynai i Ystrad Tywi. Y mae yr oll o ddau brif gantref Ystrad Tywi, sef y Cantref Mawr, ar y gogledd i'r Tywi, a'r Cantref Bychan, ar yr ochr ddeheuol iddi, yn Sir Gaerfyrddin. (*Owen's Penbrokshire*, p. 216, note 1.)

[4] Cyfeirir yma at waith Glyndwr yn llosgi tref Caerfyrddin, gan ddifrodi amryw leoedd ereill yn Ystrad Tywi, yn 1403 (gwel " Braslun," &c., tudal. 57). Dywed y bardd mai " tew oedd yn Ystrad Tywi," hyny yw, tew oedd y siarad. Nid oedd neb yn cael hamdden i feddwl am ddim arall. Yr oedd y gwrhydri a ddangosodd y gwladgarwr ar yr

Mal ol *Addaf*, aml oeddynt,
Pan yrrwyd gofynwyd gynt,
Am yr afal dial dwys
Ai bryder o *Baradwys*

CORPH

Beth yw ef, byth oi ofyn,
Abad y *Ty* gwinllâd *Gwynn* ?[1]

ENAID

Gyr gennad yn goeladwy
I gyrchu morc,[2] ag arch mwy,

CORPH

Deffro, oddiyno ydd awn
Ger Dugieth *Geredigiawn*,[3]

ENAID

Doniog yw'r oludog wlâd
Ag annerch *Rhydderch* roddiad,[4]
Ap *Ifan Llwyd*, anwyd *Arth*,
Da hoywbost aur Deheubarth,[5]

amgylchiad hwnw yn gyfryw, fel y myn Iolo i ni gredu, yn y llinellau dilynol, na ddygwyddodd ei gyffelyb er pan y cafodd Adda ei droi allan o Ardd Eden am fwyta yr afal gwaharddedig !

[1] Ty Gwyn ar Daf—yma y cynnullodd Hywel Dda, yn y ddegfed ganrif, gymmanfa o ddysgedigion er addurfio a diwygio Cyfreithiau y Cymry. Drachefn, yn y flwyddyn 1143, sefydlodd yr Esgob Bernard fynachlog yn y lle, yr hon a alwyd yn "Fynachlog y Ty Gwyn ar Daf." Nis gwyddom pwy oedd yr Abad oedd yma ar yr adeg y cyfansoddodd Iolo y cywydd hwn.

[2] "Morc" = *mark* : dernyn o aur bathol gwerth 13s. 4c., medd rhai. Ond dywed golygwyr Lewis Glyn Cothi (*Gwaith*, tudal. 228), fel y canlyn :—"Mark of gold (in ancient times) was the quantity of 8 ounces, and was in value £17 13s. 4d. of our coin at this time. *Bailey's Dict.*"

[3] "Deffro o ddi yno ddawn
ger dugieth geredigiawn."
*Add. MS.*, 14,976.

Y mae Sir Aberteifi bron, os nad yn hollol, yn cyfateb i hen dywysogaeth Ceredigion (*Owen's Penbrokshire*, p. 216, note 1.)

[4] "Doniog yw'r oludog wlad
ag annerch Rydderch roddiad."—*Add. MS.*, 14,976.

[5] "Ap Ifan llwyd annwyd Arth
eurbost hoywbost deheubarth."
*Add. MS.*, 14,976.

Tybiwn mai yr un ydoedd Rhydderch ap Ifan Llwyd a'r hwn y ceir ei achau gan Lewys Dwnn

Abad ni âd arnad ing
72 *Tir Fflur* er rhoi tair ffiwring[1]

Iolo Goch ai Cant.

(*Herald. Visit.*, vol. i., pp. 15, 44). Yr oedd yn byw ym Mharc Rhydderch, yng Nglyn Aeron, ac yn disgyn o Kloddien ap Gwrydyr, Arglwydd Ceredigion. Ei ail wraig oedd Mawd, merch Syr William Clement; ac y mae Prysiaid Gogerddan yn olrhain eu haniad i'r Rhydderch hwn. Yn ol a ddywedir yn un o gywyddau Lewis Glyn Cothi (*Gwaith*, tudal. 315), yr oedd Iolo Goch yn arfer ymweled â Glyn Aeron:—

" Iolo'n wir yn Nglyn Aeron
A wnaeth wers yn y iaith hon;
Eithr y mab oedd athraw mawr,
Ac i Rydderch yn gerddawr."

[1] " Abad in ad arnad ing
tir fflyr er rhoi tair ffloring."
*Add. MS.*, 14,976.

"Ffiwring," yn ol Richards, o Langrallo, ydyw —"*a piece of coin, a noble, or rather a floren.*" Dywedir yn *Bailey's Dict.* (edit. 1745), fel hyn:—" FLOREN, a gold coin in the time of *Edward* III., value 6s."





# XIV.

## CYWYDD I OWAIN WEDI MYNED AR DDIFANCOLL.

*(O'r Add. MS., 14,970, fol. 97).*

---

Y mae y cywydd hwn i'w weled yn *Add. MSS.*, 14,887 (dernyn), 14,892, 14,897, 14,994 (dernyn); ac, heb enw awdwr wrtho, yn *Glanyrafon MS., H.*, p. 84. Ceir ef hefyd yn argraffedig yng *Ngorchestion Beirdd Cymru*, tudal. 119; *Ceinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 20; yn *Hist. Powys Fadog*, vol. i., p. 220; gyda chyfieithiad o hono, gan Mr. Howel W. Lloyd, yn *Hist. Powys Fadog*, vol. ii., p. 107; ac yn *Y Cymmrodor*, vol. iv., p. 230. Fel y canlyn y sylwa golygydd *Ceinion Llenyddiaeth Gymreig* mewn perthynas i'r cywydd hwn:—

"Yn ngwanwyn y flwyddyn 1405, cyfarfu Owain Glyndyfrdwy âg amryw anffodion blinion; canys mewn dwy frwydr a ymladdwyd yn mis Mawrth, efe a gollodd tua dwy fil a haner o wŷr; a lluaws o'i ganlynwyr a gefnasant arno, yr hyn a'i gwasgodd i gyfyngder dirfawr, fel y bu dros beth amser yn gorfod llechu mewn ogofeydd, a diffeithfaoedd, o'r lle y byddai yn achlysurol yn anturio ymweled â rhai o'i gyfeillion ffyddlonaf, y rhai a'i harlwyent âg angenrheidiau einioes; dywaid traddodiad mai un o'r cyfryw guddfeydd, ydoedd cilfachau Moelhebog, ger Beddgelert, a'r llall ydoedd "Ogof Owain," yn mhlwyf Llangelynin, swydd Feirionydd, lle ei porthid gan un Ednyfed ab Aron. Hwyrach mai dyma y pryd y cyfansoddodd ein Bardd y Cywydd blaenorol" [Cywydd Rhif XI. yn y casgliad hwn]; "a chyn diwedd y flwyddyn hon, cawn ein gwron ar y maes eto, a chanddo ddeng mil o Gymry dan ei luman, a byddin o Ffrancod yn ei gynnorthwyo."

Ysgrifenu o'r braidd yn ddifeddwl yr oedd Mr. Jones pan y dywedodd i'r cywydd hwn, os cyfansoddwyd ef yn 1405, gael ei gyfansoddi yn yr un flwyddyn a Chywydd y Seren, yr hon a ymddangosodd yn 1402. Ymddengys yn rhyfedd nad oedd golygydd *Ceinion Llenyddiaeth Gymreig* yn gweled unrhyw anhawsder i'n sicrhau i Gywydd y Seren gael ei gyfansoddi yn 1402, a'r cywydd hwn yn 1405; ac eto i'r ddau gael eu cyfansoddi yr un amser! Yn 1405 yr amserir y cywydd hwn hefyd gan Mr. H. W. Lloyd (*Y Cymmrodor*, vol. iv., p. 229), ac y mae yn sylwi fod y bardd, er yn nodi amryw leoedd ag y tybid fod Owain wedi myned i chwilio am gynnorthwy, yn gadael allan yn fwriadol y wlad o'r hon y dysgwylid cynnorthwy—sef Ffrainc. Ond y mae ei dybiaeth yn gorphwys ar ei gamesboniad o'r gair "Galiod," yr hyn a gyfieitha yn *Galahad* yn lle yn *Galiaid* (llin. 29). Yr ydym eisoes ("BRASLUN," &c., tudal. 59 a 71) wedi dangos nad oes unrhyw angenrheidrwydd i ni amseru y cywydd hwn yn ddiweddarach na'r flwyddyn 1404.

Y Gwr hir nith gar Harri
Adfyd aeth a wyd fyw di[1]

[1] Y mae yn amlwg fod y llinell gyntaf yn anghywir yn ysgriflyfr Glanyrafon:

"Y gwrr hir a garr harri
adfyd aeth ond wyt fuw di,"

o blegid afreidiol dyweyd nad oedd Harri mewn un modd yn caru "y gwr hir." Y mae y llinellau yn *G. B. C.* a *C. Ll. G.*, gan eu bod wedi eu hattalnodi, yn fwy amlwg eu hystyr:—

"Y gwr hir, ni'th gâr Harri,
Adfyd aeth, a wyd fyw di?"

Mewn atebiad i ymofyniad o'r eiddom, ar ol i ni glywed fod arfwisg Owain Glyndwr yng Nghastell Rhuthyn, ymddangosodd nodyn yn *Bye-Gones*, March 27, 1895, rhan o'r hwn a ddyfynwn yma:—"In answer to 'C.A.'s' query, it is true that the Welsh Chief's armour 'is to be seen in the servants' hall at Ruthin Castle,' placed on the mantelpiece, secured to the wall, and in good state of preservation. Helmet tight fitting) covering chin and forehead; length of feet, 13 inches; neck, 24 inches; shoulder to elbow, 16 inches; elbow to hand, 24 inches; and as it stands, 66 inches from head to foot; breastplate, knee caps, &c., solid and plain. History tells us that Glyndwr attacked and took possession of this Castle, and made its then owner, Lord Grey, a prisoner, and before he was liberated he was forced by Owen to marry his

Ag od wyd a gwayw o dan
Dyred dangos dy darian[1]
O wlad garw aergad eurgylch
Rufain dwg eirf yn dy gylch[2]
Dwg feddiant Pedr sant dan sel
Drwy iawnswydd Duw a'r insel[3]
Dyred o wlad y Dwyrain
Darw mawr a bwrw dyrau main[4]

daughter Jane (by Margaret, daughter of Sir David Hanmer, of Hanmer in Maelor.) In the year 1404 it is said 'that Glyndwr was in possession of the whole of Wales,' and after some years of successes and reverses he died at the house of his daughter on the 20th September, 1415, aged 61 years—thus accounting, it is supposed, for the armour being in Ruthin Castle." Pa beth bynag a ddywedir am y dybiaeth mai yng Nghastell Rhuthyn y bu Owain Glyndwr farw, y mae y dysgrifiad uchod o'r arfwisg, fel y sylwa awdwr y nodyn uchod, yn profi, fel y gwna y cywydd, ei fod yn ŵr cadarn a chydnerth, a thros ddwy lath o daldra. Ond nis gwyddom a oes rhyw brofion, heb law traddodiad, mai arfwisg Owain ydyw. Gwel ein "Braslun," &c., gyda golwg ar y *dybiaeth* ym mha le y bu farw (tudal. 62), yn gystal a'r *sicrwydd* am ei oedran yn marw (tudal. 50 a 71).

[1] "O dwyd a gwauw o dan
Dyred a dangos dy darian."
*Glan. MS.*

[2] "Da garw oergad durgylch
o rufain dwg arfau yn dy gylch."—*Glan. MS.*

"O wlad, garw aergad eurgylch,
Rhufain dwg arfau'n dy gylch."—*G. B. C.*

Yr ydym yn tybied fod y testyn yma yn gywir gyda golwg ar "aergad eurgylch" = *gold-girt warrior.* Anhawdd bod yn sicr pa un ai "*d*urgylch" ynte "*e*urgylch" sydd yn *Glan. MS.*

[3] Nid ydyw llinellau 7 ac 8 yn y *Glan. MS.*

[4] Llin. 23 a 24 ydyw y rhai hyn yn y *Glan. MS.*, a darllenant fel y canlyn:—

"Dyred o wlad y dwyrain
darw mawr bwrw dyre main."

Ond yn *G. B. C.* a *C. Ll. G.* gosodir hwynt yn yr un safle a'r testyn; ac y mae y darlleniadau ereill yn gyffelyb. Golyga "darw mawr" ei gryfder. Yr oedd y beirdd yn fynych yn defnyddio y fath enwau a *tharw*, *llew*, *eryr*, &c., i ddynodi nodweddion gwirioneddol, neu dybiedig, eu harwyr. A ydym i ddeall fod "bwrw dyrau main" yn golygu ei bod yn arferiad o daflu meini (= lluchio ceryg) at y gelynion? Diammeu ein bod. Hyd nes dyfeisiwyd pylor, yn y drydedd ganrif ar ddeg, er fod y "blif" (*catapult*) mewn arferiad; eto y mae yn lled debyg fod y milwyr, o dan amgylchiadau ffafriol i hyny, yn lluchio ceryg â'u dwylaw. Ond

Rhwydd i daw rheiddiau o dân
Rhagod pawb ath anrhegan[1]
Dos eryr glwys dos o'r glyn
Iarll owchlaif i dir Llychlyn[2]
Y gwr a ddug arwydd iach
Yn ei darian bedeirach[3]
Tri llew glas fal yr asur
Trwy wyllt dan a'r tair rhwyll dur[4]

pa fodd bynag, ar ol dyfeisio pylor, arferid math o fagnelau gan y Normaniaid i hyrddio meini a phicellau (*Penny Cyclop.*, vol. ii., p. 372).

[1] "Rhwydded Duw yn rhuddhau tan
rhagod bobol ath anrhegan."
*Glan. MS.*, llin. 7, 8.

"Rhwydd y daw rheiddiau o dân
Rhagod, pawb âth anrhegan'."—*G. B. C.*

Ceisia y bardd galonogi Owain i fyned rhagddo, trwy ei sicrhau y byddai i belydrau o dân ddyfod allan i'w gynnorthwyo, ac y byddai yr holl wlad yn barod i gyfranu i'r drysorfa fel ag i'w alluogi i gario y rhyfel ym mlaen.

[2] Nid ydyw y llinellau hyn yn y *Glan. MS.*; ond darllenant fel y canlyn yn *G. B. C.* a *C. Ll. G.*:—

"Eryr glwys, dos, ior o'r Glyn
Iarll awchlaif, i dir Llychlyn."

"Llychlyn" = Denmarc a Norway. Ei annog y mae y bardd, mae'n debyg, i fyned i Lychlyn am gynnorthwy.

[3] "Y gwr a ddwg arwydd iach
yn i darian bedeiriach."
*Glan. MS.*, llin. 9, 10.

Diammcu mai y testyn ydyw y cywiraf; o blegid, methwn a chanfod synwyr mewn tarian "bedeiriach." Tybia Mr Howel W. Lloyd, yn lled naturiol feddyliem, mai wrth "bedeirach" yr ydym i ddeall y pedraniad (*quartering*), oedd ar arfbais Owain (*Hist. Powys Fadog*, vol. ii., p. 107).

[4] "Y tri llew glas fel assur
drwy yr holl dan ar tair rhull dir."
*Glan. MS.*, llin. 11, 12.

Nid ydyw y "*tri* llew" yn cyfateb i'r dysgrifiad a geir o arfbais Owain. Y mae, neu yr oedd, dwy weithred ar gael yn Hotel Souboise, yn Paris, gyda seliau Owain Glyndwr arnynt. Y mae i'r Sel Fawr ei gwyneb (*obverse*) a'i gwrthwyneb (*reverse*). Ar y gwyneb, darluuir Owain, gyda barf ranedig gyffelyb i eiddo Richard II., yn eistedd dan nenfwd o grogleni Gothaidd; hanner corff blaidd yn ffurfio breichiau ei gadair ar bob ochr; y tu cefn yn addurnedig â mantell wedi ei britho gyda darluniau o lewod, ac yn cael ei chynnal gan angylion. Wrth ei draed y mae dau lew. Yn ei law ddehau y mae teyrnwialen, ond nid oes ganddo goron. Yr arysgrifen ydyw *Owenus . . . . Princeps Walliæ.* Ar y gwrthwyneb, darlunir Owain ar farch, mewn rhyfelwisg; yn ei law ddehau, yr hon sydd yn estynedig, y mae cleddyf; ac yn ei law aswy y mae tarian wedi ei harflunio gyda phedwar

Rhown ni ar y paun diwarth
Rhowch rwyf ar yr hwch ar arth,[1]
Llyma'r tair bwyall unyd
Lle mae'r gwaith llu mawr i gyd[2]
Gillwng yn gynta gellych
Saith llong a saith ganllong gwych[3]
Dyred wrth ddamuned Môn
O'r North yr yn Iwerddon[4]
Rhaid yw i ti, Rho Duw Tad,
Gael Owtils au galw attad,[5]

o lewod ar ruthrnaid, yn bedranol; ac y mae napcyn a ennillwyd mewn campfa yn grogedig wrth ei arddwrn dehau. Ceir llewod rhuthrneidiol hefyd ar fantell y march. Y mae y Ddraig Goch ar ei helmog, ac hefyd ar ben y march. Addurnir arwynebedd y darian gan rosynau gweuedig. Gellid tybied fod yr arysgrifen ar yr ochr hon fel pe yn llanw y bwlch sydd ar y wyneb, *Owenus Dei Gratiâ* . . . . *Wallie.* Y mae y Gyfrin-sel yn arddangos y pedwar llew rhuthrneidiol i wynebu ochr aswy yr edrychydd, ar darian gyda choronig agored; Draig Cymru yw'r cynheilydd ar yr ochr ddehau, a llew ar yr aswy. Yr arysgrifen ar hon yw *Sigillum Oweni Principis Walliæ.* (*Arch. Cambr.*, 1851, p. 121.)

[1] "Rhown rif ar y paen diwarth
rhowch rwyf ar yr hwch ar arth."
*Glan. MS.*, llin. 13, 14.

Er mwyn ateb gofynion cynghanedd y mae y bardd yn rhoddi *hwch* yn lle *baedd.* Y *baedd* oedd Harri IV.

[2] "Llymar tair bwyall enbyd
lle maer gwaith llu mawr i gyd."
*Glan. MS.*, llin. 15, 16.

Gwall cynghaneddol ydyw *n* yn ateb *m*—yn "llyma" ac "unyd," neu "enbyd"—buasai "lly*na*" yn gywir o ran cynghanedd.

[3] "Gollwng yn gynta gellych
saith leng a saith ugeinllong gwych."
*Glan. MS.*, llin. 17, 18.

[4] "Dyred wrth dymuned mon
O'r nordd hyd yn y werddon."
*Glan. MS.*, llin. 19, 20.

Os oes coel i'w roddi ar yr hyn a ddywed y bardd, yr oedd trigolion Môn yn parhau yn ffyddlon i Owain hyd yn hyn. Ond y mae Iolo yn cymmysgu i fyny gynnifer o bethau annhebygol yng nghyd fel ag i'n tueddu i dybied mai rhoddi mynegiad i'w deimlad, ac nid adrodd ffeithiau yr oedd. Pa fodd bynag, y mae yn amlwg fod ysgriflyfr Glanyrafon, yn gystal a darlleniadau *G. B. C.* a *C. Ll. G.*, yn gywirach yn llinell 26 na'r un a geir yn y testyn.

[5] "Rhaid yw i ti rho duw tad
gael owteils ai galw attad."
*Glan. MS.*, llin. 21, 22.

Y mae Cynddelw (*Gorch. Beirdd Cymru*, tudal. 119) a Mr Howel W. Lloyd yn cytuno mai wrth "Owtils" y golygir yr Italiaid.

Cyfod glod o'r Galiod glan
Cawn glywed cyn Gwyl Ieuan[1]
Dyro fflam bennadur fflwch
Draw'n Nulun drwy anialwch[2]
Gwna lynges gain o longwyr
O gynfyl Gwyddyl au gwyr[3]

Ceir "Owtil" am Itali hefyd gan Lewis Glyn Cothi (*Gwaith*, tudal. 102):—

"A byr yr ateb wyr o'r Owtil,
A brau'n nghwynvan y bwrw anghenvil"

Yma, eto, y mae dychymmyg y bardd yn myned yn gryfach na ffeithiau; o blegid nid oes y rhithyn lleiaf o brawf i Owain erioed feddwl am ofyn cynnorthwy o'r Eidal.

[1] "Kyfod or galewd glan
Kawn glowed kyn gwyl Ifan."
*Glan. MS.*, llin. 25, 26.

"Galiod" a geir yn *G. B. C.*, *C. Ll. G.*, a "*Hist. Powys Fadog*," ac yn ol Cynddelw, Gauls=Galiaid a feddylir; ond cyfieithir yr enw gan Mr H. W. Lloyd yn Galahad, sef un o farchogion Bord Gron y Brenin Arthur. Ond ni wyddom am gymmaint ag un enghraifft pan y gelwir Galahad yn Galiod nac yn Galewd. Galath y gelwir galahad gan Lewis Glyn Cothi (*Gwaith*, tudal. 497).

[2] "Doro fflam benadur fflwch
draw yn Ulun drwy anialwch."
*Glan. MS.*, llin. 27, 28.

Gallem dybied mai nid rhoddi Dublin ar dân yn llythyrenol a ddymunai Iolo; ond yn hytrach ar fod i Owain greu y fath frwdfrydedd yn y Gwyddelod fel ag i'w cynhyrfu i ddyfod drosodd i'w gynnorthwyo.

[3] "Gwna lynges o longwyr
o gynfil gwyddyl ai gwyr."
*Glan. MS.*, llin. 29, 30.

"Gwna lynges gain o longwyr,
O gynfyl Gwyddyl a'i gwŷr."
*G. B. C.*

"Gwna lynges gain o longwyr,
O Gynfyl, Gwyddyl, a Gwŷr."
*C. Ll. G.*

Y mae Mr. H. W. Lloyd yn cyfieithu y llinellau hyn fel y canlyn:—

"Raise a fair fleet of seamen's power,
In the confines of the Gael, and Gower."

Yn hyn y mae yn dilyn cyfieithiad y Dr. W. O. Pughe, trwy osod *cynfyl* yn gyfystyr â *chartrefle* neu *drigfan*. Ond y mae y Canon Silvan Evans (*Geir. Cymraeg*), gyda llawer mwy o briodoldeb yn rhoddi *cynfyl* i olygu *strife*, *contention*, *discord*, ac yn sylwi ar y llinellau hyn o eiddo Iolo fel y canlyn:—

"The poet urges the patriot to take advantage of the disaffection of the Irish, and man a fleet with them to attack England. 'Gwyr' (=Gŵyr, generally *Gwhyr*), meaning Gower in Glamorgan, as Pughe takes it, cannot properly rhyme with *llongwyr*, the one being a sparsison and the other a rotundison."

Felly, tebygol mai yr iawn ddarlleniad ydyw—"O gynfyl Gwyddyl â'u gwŷr."

Tyred wr a draeturiwyd
O Fanaw dir f'enaid wyd[1]
Gorau arwydd gan Wyddyl
Melyn a choch ymlaen chwyl[2]
Urdda bensel Llywelyn
Arddel hwy a'r ddeuliw hyn[3]
Galw gar bron gwae Loegr o'r brad
Lu Bryttaen ai lwybr attad[4]
Dyre i'n gwlad dur iawn gledd
Deyrnaswr drwy ynysedd[5]
Cynneu dan cyn oed unawr
I oror Môn Eryr mawr[6]
Cur gestyll caerau gystudd
Cwncwer wal au cwn Caerludd[7]

[1] "Tyred wr a draetiriwyd
o fanaw i dir fenaid wyd."
*Glan. MS.*, llin. 31, 32.
"Dyred, ŵr a draeturiwyd,
O Fanaw dir, f'enaid wyd."
*G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

Sylwa Cynddelw (*Gorch. Beirdd Cymru*, tudal. 120) ar y llinell flaenaf fel hyn :—"A draeturiwyd —a fradychwyd ; neu efallai, a gyhoeddwyd yn fradwr (*traitor*) am ei wrthryfel yn erbyn Harri IV. o Loegr." Gwell genym ni yr olaf o'r ddau awgrymiad.

[2] "Gorau arwydd gan Wyddyl
melyn a choch ymlaen yr
hwyl."
*Glan. MS.*, llin. 33, 34.

[3] "Urdda ben sel llywelyn
arddolhwyntar ddeuliw hyn."
*Glan. MS.*, llin. 35, 36.

Cynnygia O. Jones (*Ceinion Llen. Gymreig*, cyf. i., tudal. 20) yr eglurhad a ganlyn ar y llinell flaenaf :—"Cyssegra ben lluman Llywelyn." Arfarwyddion Llywelyn ab Gruffydd, Tywysog Cymru, oeddynt—"quarterly, *gules* and *or*, four lions passant guardant counterchanged."

[4] Yn blaenori y ddwy linell uchod ceir dwy arall yn y *Glan. MS.* ; ond y mae ymyl yr ysgriflyfr yn rhy ddrylliedig i ni ddarllen diwedd y llinellau, y rhai ydynt fel y canlyn :—
"Kydwalader ddurgader ddewr-
gr . .
kariad y ffair karw du ffu . . .
galw gar bron gwae loegar . . .
llu bryttain ai llwybyr atta . ."
"Bryttaen" = Llydaw (*Brittany*).

[5] "Dyred yn gwlad dur dau . .
dyrnasswr drwy yr ynyssoedd."
*Glan. MS.*, llin. 41, 42.

[6] "Kynne dan enyd unawr
i oror mon Eryr mawr."
*Glan. MS.*, llin. 43, 44.

[7] "Kur gestill kaurau kys . . .
kwnkwria wlad kwn ka . . .
*Glan. MS.*
"Cur gestyll caerau gystudd,
Concweria wâl cwn Caer
Ludd."—*G. B. C.*

Cur a lladd y wadd ai wyr
Cyrn aur Mon cur Normanwyr[1]
Dir y gwnai darogan oedd
Fyd teilwng o fatteloedd,[2]
Gwna frwydr a gwaith ar grwydr groch
Aerllew Môn jor lle mynnoch[3]
Gwaith dy law a ddaw yn ddig
Gwyr meirw a gair ym Merwig[4] Berwig, i.e., y Wig ferr.
Gwna drwy'r haf, gwn droi y rhod
Gymmynn brwydr Gwminod,[5]
Gwna gad fal torriad Deri
Fochno a hŷn foch na hi[6]

1 "Kyr a lladd y wadd ai gwyr
kyrn aur mon kyr norman-
wyr."—*Glan. MS.*
Normanwyr = *Normans.*

2 "Dir i gwnai drogan oedd
. . teilwng o fatteloedd."
*Glan. MS.*

3 Y mae y llinellau hyn yn amrywio yn eu darlleniad o gryn lawer yn y *Glan. MS.*; ac yn cael eu blaenori yno gan ddwy linell arall, dechreuad y rhai sydd wedi dryllio i'r fath raddau fel ag y maent yn annarllenadwy :—

". . deg fal toriad digwydd
. . ffedairrhoed o ffoed rhwydd
gwna frwydyr o waith krwydyr
kroch
Durllew mawr ar y llu moch."

4 "Gwaith dy law a ddaw yn
ddig
Gwyr meirwon a gair ym-
erwig."—*Glan. MS.*
"Gwaith dy law a ddaw yn
ddig
Gwŷr meirw a geir ym
Merwig."—*G. B. C.*

5 "Gwna drwyr haf gwir dorri'r
rhod
gymynu brwydr gwminod."
*Glan. MS.*
"Gwna drwy'r haf gwn droi'r
rhod,
Gymynu brwydr Gwminod."
*G. B. C.*

Tybia y Canon Silvan Evans (*Geir. Cymraeg*) fod Cymminawd, Cymminod, neu Cwminod, yn enw lle ym Mhowys, neu ar y cyffiniau ; lle yr ymddengys i frwydr gael ei hymladd. Y mae amryw o'r beirdd o Myrddin i Lewis Glyn Cothi yn cyfeirio at y frwydr hon. Dywed y blaenaf (*Facsimile of the Black Book of Carmarthen*, fol. 31) fel y canlyn :—" Ami discoganawe. Kad ar yton. a chad machavy. a chad avon. Achad corsmochno. Achad unmon. Achad Kyminaud. Achad caerlleon. Achad Abergwith. Achad ieithion."

6 "Gwna gad fel toriad Deri
fochno hen pan fynech di."
*Glan. MS.*
"Gwna gad fal toriad deri
Fochno, a hŷn fych na hi."
*G. B. C.*

Gwna'r daith yn rhyd Glyn Iaithon
Gwyr lawer a Maner Môn,[1]
Gwna naw cad yn daladwy
Yn un modd ac na wna mwy.[2]
Deigr Gadwaladr fendigaid
Dyred a dwg dir dy daid[3]
Dyga rann dy gerennydd
Dwg ni o'n rhwym dygn yn rhydd.[4]

Iolo Goch ai cant.

Brwydr Cors Fochno, yn sir Aberteifi, yn yr hon yr ennillodd Maelgwn Gwynedd ei goron, ydyw yr un y cyfeirir ati, yn ol Mr Howel W. Lloyd (*Y Cymmrodor*, vol. iv., p. 232). Ond yn ol y "Cyfreithiau Cymreig," nid trwy ymladd brwydr yr ennillodd Maelgwn ei goron, ond trwy iddo allu aros yn hwy na neb arall ar y traeth ar adeg llanw, yr hyn a lwyddodd i'w wneyd am fod ganddo gadair bwrpasol i'w gadw ar wyneb y dwfr. Tybia Skene fodd bynag (*Four Anc. Books of Wales*, vol. i., p. 64) i ryw frwydr gael ei hymladd yma, yn yr hon y gorchfygodd Maelgwn dri brenin arall, er fod y frwydr erbyn hyn yn guddiedig dan y chwedl.

[1] "Gwna r ur daith i rud eithion
gwyr llawer a maner mon."
*Glan. MS.*

"Gwna daith yn rhyd Glyn Eithon,
Gwna lawer â maner Mon."
*G. B. C.*

"Gwna daith, yn Rhŷd Glyn Iaithon,
Gwŷr lawer a Maner Mon."
*C. Ll. G.*

Ysgrifenir enw yr afon y cyfeirir ati yn *Ithon* gan y Seison, ond *Ieithon* ydyw yr enw Cymraeg (*Owen's Descript. Penbrokshire*, vol. 240, note 1.). Pa fodd bynag, ysgrifenir hi gan y Cymry yn *Ithon* mor aml ag *Ieithon*. Ymae yn tarddu yn agos i'r ffin rhwng Sir Drefaldwyn a Sir Faesyfed, ac yn rhedeg yn ddeheuol trwy y sir olaf am agos i 30 milltir nes ymuno â'r Wy, ryw 4½ milltir i'r gogledd-ogledd-orllewin o Llanfair ym Muallt. Bu Owain Glyndwr yn diffeithio fwy nag unwaith yn y cymmydogaethau hyn—y tro cyntaf yn 1401, pan yr ymosododd ar Abatty y Cwm Hir.

[2] "Gwna naw kad yn deiladwy
yn un modd ag na wna mwy."
*Glan. MS.*

[3] "Deiger Kadwalader fendigaid
tyred a dwg dir dy daid."
*Glan. MS.*

Cadwaladr, yn ol yr achau (*Y Cymmrodor*, vol. viii., p. 87) oedd fab Cadwallon. Dywedir fel hyn:—"Kadwaladyr vendigeit M. Katwalla6n, M. Kad6ga6n. M. Iago. M. Beli. M. Runhir. M. Maelgwn G6yned M. Kadwalla6n lla6hir. M. Einya6n yrth. M. Kuneda wledic." Ond fel rheol, dywedir wrthym mai Cadfan, ac nid Cadwgan oedd enw tad Cadwallon.

[4] "Dyga ran dy garenydd
Dwg ni on rhwym dygyn yn rhydd."—*Glan. MS.*

# XV.

## * MARNOD OWAIN GLYN-DWR.

---

*(O Ysgriflyfr yn Llyfrgell Rydd, Caerdydd).*

Cymmerwyd y cywydd hwn o ysgriflyfr a gopiwyd gan y diweddar Mr. William Rees, o Lanymddyfri, gyda'r amcan fel yr ymddengys o'i gyhoeddi; gan ei fod yn barod i'r wasg. Blaenorir y casgliad gan y teitl—"Cowyddau Cymreig, A.D. 1400—1450." Ond anhawdd dyweyd pa un ai y teitl dan ba un y bwriadai Mr. Rees gyhoeddi y gwaith, ai ynte teitl yr ysgriflyfr o'r hwn y cymmerodd y casgliad, ydyw. Ysgrifenodd Mr. Rees, ar y llyfr, y nodyn a ganlyn:—

"The following Cowyddau are transcribed from a folio MS., No. 2,378, in the collection of Sir Thomas Phillipps, Bart., ot Middle Hill, in the County of Worcester, which was once in the possession of J. Price, of Jesus College. The peculiar orthography of the above MS. has been closely followed in this transcript.

William Rees.

Tonn, 1858."

Ceir y cywydd yn *Glanyrafon MS. K.*, fol. 64, lle y priodolir ef i "Gruff. llwyd ap dd. ap engan." Y mae i'w gael hefyd yn *Ellis's Memoirs of Owen Glendowr*, p. 84; yn *Jones's Musical and Poetical Relicks* (edit. 1794), p. 39, gyda rhydd-gyfieithiad o hono i'r Seisoneg; yr hwn rydd-gyfieithiad a geir hefyd yn y gwahanol argraffiadau o *Pennant's Tour in Wales*; a dyfynir y cywydd hefyd gan Gweirydd ap Rhys yn ei *Hanes Llenyddiaeth Gymreig*, tudal. 186. Yn yr oll o'r gweithiau argraffedig uchod, priodolir ei awduriaeth i Gruffydd Llwyd ap Dafydd ap Einion Lygliw—yr hwn oedd yn gydoeswr ag Iolo Goch. Pa fodd bynag, gan y dywedir ar ddiwedd y cywydd yn

Ysgriflyfr Caerdydd mai "Iolo Goch ay Cant" yr ydym yn ei osod i mewn yma, ond gyda chryn ammheuaeth. Nid ydym heb ystyried os y caniateir i Iolo Goch gyfansoddi Marwnad i Owain Glyndwr—yr hwn a fu farw 1415—fod y bardd wedi cael oes feithach nag ydym yn barod i roddi iddo. Ond, wrth ddarllen y cywydd, nid ydym yn cael llinell yn awgrymu mai Marwnad ydyw o gwbl—yn hytrach canmol ei haelioni a'i ddewrder milwrol a wneir ynddo.

Eryr digrif afrifed
Owain Helen, Cain hael am ged[1]
Ayr fab ag wrdd y arfod
Gruffydd Vauchan glan y glod
Myr glyn Maistir rodd glyn rydd
Dyfyrdwy fawr dwr di-ferydd[2]
Llawen ym annos noswaith
Oyddwn wrth gyfedd medd maith[3]
Fungayr yth amal gellwiriaw
Yth Lys ,n, cael aur oth Law[4]
Mufyn fardd mwy fy f'anfoes
Ay gwnaeth dros fu maeth moes[5]
May r mawl ayr mawr yr Milwr
Nag ū fy nhad arnad Wr[6]

[1] "Owain helm gain hael am ged."—*Glan. MS. K.*

[2] Nid yw llin. 3-6 yn *Glan. MS.*; ond dyfynir hwynt gan Gweirydd ap Rhys fel y canlyn :—
"Eurfab, a gwr i orfod,
Gruffydd Fychan, glân ei glod,
Aer y Glyn, meistr rhoddlyn rhydd
Dyfrdwy fawr, dwfr diferydd."

[3] "Llawen ymanos nos waith
Oeddwn wrth gyfedd medd maith."—*Glan. MS.*

[4] "Fyngair ith amal gellweiriaw
ith lys lle kawn win oth law."
*Glan. MS.*

[5] "Medd fynfur mwy oedd fanfoes
a gwaeth dros fymaeth fy moes."—*Glan. MS.*

[6] "Ner mowlair nowryw milwr
nag ar fynhad arnad wr."
*Glan. MS.*

Gweirydd ap Rhys a rydd :—
"Ner mawlair naw rym milwr,
Nag ar fynad arnad ŵr."
Ac fe eglura y llinell gyntaf gyda'r sylw :—"Yr oedd Owain yn gyfartal mewn bwydr, yn ol hyn, i *naw* o wroniaid.

R'awr a day thost ar wyth
Y dir prydain darpar adwyth[1]
Agos y hiraeth gaed gaeth
Am dwyn hyd farw am danad[2]
Nyd aeth dros gof drosof draw
Ayr balaf awr heb Wylaw[3]
Daigre' dros u grydd digrych
Diefr glaw fal dwr y glych[4]
Pan odd fwya fung ofal
Am danad fab ū tad hael[5]
Clywais o ben ryw genad
Cay ras dyw Cywyr o Stad[6]
[7]Fenaid ywch dyfyrdwy fainawr
Funnyr bwrw llawer yr llawr[8]
Dewin os ef ay dwawd
Ym un u gwraidd a gwawd[9]
Dugaist remnant ond antir
Eythyr ben dragwn dwyfron ddyr[10]

[1] "Yr awr ir aethost ar wyth
i dir prydain darpar adwyth."
*Glan. MS.*

[2] "Agos i hiraeth gaeth gad
am dwyn i farw am danad."
*Glan. MS.*

[3] "Nid aeth dy gof drosof draw
aur baladr awr heb wylaw."
*Glan. MS.*

[4] "Dagrau dros y grudd dugrych
dy friw glaw fal dwfr ai
gwlych."—*Glan. MS.*

[5] "Pan oedd dryma fyngafael
am danad mab y tad hael."
*Glan. MS.*

[6] "Kefais o ben rruw genad
kael ras duw kowir ostad."
*Glan. MS.*

[7] Yn dilyn llin. 26 ceir fel y canlyn yn *Glan. MS.* :—

"Kael yn yr aer kalon rwydd
o henod fowrglod farglwydd."

Wrth aer (=aerfa) y golygir *brwydr* neu *ymladdfa*.

[8] Nid ydyw llin. 27-28 yn *Glan. MS.* ; ond yn ol Gweirydd ap Rhys darllenir :—

"F'enaid, uwch Dyfrdwy Faen-
awr,
Fy ner, fwrw llawer is llawr!"

[9] Nid ydyw y ban hwn yn *Glan. MS.*

[10] "Kefaist rae ment yn dantur
o hur ben dragon gyfion
gur."—*Glan. MS.*

"Cefaist ramant yn d'antur
Uthr Bendragon ddwyfron
ddur!"
*Gweirydd ap Rhys.*

Uthr Bendragon oedd tad y brenin Arthur; ac y mae y bardd yma yn cyffelybu Owain Glyndwr iddo.

[1]Pan fy mwyd ryın Wannwr
U marchawg deog oy dwr[2]
Gwrol fy wrth ymgyraw
A phen draig ū ffunnon draw[3]
Gwyddent gair llwyddant lly
Gwir ddyrnod gwewyr ddarny[4]
Pan roedd fwyd dū Lafyr
Draw 'n ymdaro a dyr
Torrodd d' Onnen gennyd
Tyrnen gron taer n ū gryd
Gwelas pawbdraw uch law lan
Gwiw fawl daith gwayw ofeldan[5]

[1] Yn blaenori llin. 33 yn *Glan. MS.* ceir :—
" Pan ddi alawdd gawdd godde
i frawd oi rwysc ai frwydr ef
gwyliaist siwr nai a helynt
Owain ap urien gain gynt."

Ond y maent yn wahanol gan Gweirydd ap Rhys :—
" Panddialawdd gwawdd goddef,
Ei frawd, a'i rwysg, a'i frwydr ef,
Llywiaist, siwrneisiaist helynt,
Owain ap Urien gain gynt."

[2] " Pan oedd fuan ymwanwr
y marchog duog oi dwr."
*Glan. MS.*

" Pan oedd fuan ymwanwr,
y marchog difiog o'r dwr."
*Gweirydd ap Rhys*

[3] " Gwr fu ef wrth ymguraw
a ffen draig ar i ffon draw."
*Glan. MS.*

" Durol oedd wrth ymdaraw
A phen draig ar ei ffon draw."
*Gweirydd ap Rhys.*

[4] " Gwyn fuant er llwyddiant llu
Gwir ddewr wrth gwewyr ddarnu."—*Glan. MS.*

" Gwŷr fuant er llywiant llu
Gwrdd ddewrnerth gwewyr ddyrnu."
*Gweirydd ap Rhys.*

[5] Yn dilyn llin. 38 ac yn blaenori llin. 45 yn *Glan. MS.*, a chan Gweirydd ap Rhys, ceir :—

*Glan. MS.*

" Tithau Owain taith ewybr
tair i gwnaut drafn ath lafn lwybr
brawd un weithred ith edir
barwn hoff i fab urien hir
pan oedd dryma dylafur
draw yn ymwriaw ar mur
tores dy anian gynyd
tirion grair taer yny gryd
dewredd ffwg dur oedd i ffen
dros garw n dair yscyren

*Gweirydd ap Rhys.*

" Tithau Owain, taith ewybr,
Taer y gwnaed drafn lafnwaed lwybr :
A'th harddwayw rudd, cythrudd cant,
A theg enw a'th ogoniant
Brawd un weithred y'th edir,
Barn hoff i Fab Urien hîr.
Gwelai bawb draw o'th law lân
Gwiw fawldaith gwayw gafaeldan

Holltaist delaist ar Dalwrn
Du ddart hyd ar du ddwrn[1]
Dewredd fwg dyr odd y phen
Dors garw n dair Esceren[2]
Peraist fy naf oth Lafyr
Pyst mellt rwng ū ddellt ar dyr
O nerth ag ayrgal galon
A braych ag yscwydd a bron[3]
Gyraist uno gwrs doniog
U lly gyrad uchen llog[4]
Pob dday pob dri Cigay fawr
Ar daraf oll ar dyrfa fawr[5]
Hyd dydd brawd medd dū Wewdydd
Hyn Wyt o faeth hynod fydd[6]
Day fin glwys dayfiniog Lain
Brwydr dyhwyl u Brydain[7]

gweles pawb draw ith law lan
gwiw fowr daith gwayw ofel
dan."

[1] "Drylliaist deliaist ar dalwrn
dy ddard hyd ymron dy
ddwrn."—*Glan. MS.*

[2] Y mae llin. 47-48 yn dilyn diwedd ei ddyfyniad uchod, gan Gweirydd ap Rhys:—
"Dewr ffon, dur oedd ei phen,
Dros gar yn dair ysgyren."

[3] "O nerth ag arial kalon
a braich ag yscwydd a bron
peraist fynaf oth lafur
pyst melld rrwng y delld ar
dur."—*Glan. MS.*

[4] "Gyraist yno gwrs doniog
y llu gyriad ychen llog."
*Glan. MS.*

[5] "Bob ddau bob dri rrirrodd-
fawr
ar darf oll or dyrfa fawr."
*Glan. MS.*

Y mae Gweirydd ap Rhys yn

Pan oedd drymaf dy lafur,
Draw yn ymwriaw a'r mur,
Troes dy onen genyd,
Tirion grair taer yn y gryd."

cyfleu llin. 53-56 ar ol llin. 62, ac yn eu dyfynu fel hyn:—
"Gyraist yno, gwrs doniog,
Y llu, gyriad ychain llog,
Bob dau, bob dri, rhif rhyfawr,
A'r dorf oll o'r dyrfa fawr."

[6] "Hyd ddydd brawd medd
tafawdydd
Hamoyd o feilch hynod fydd."
*Glan. MS.*

Rhydd Gweirydd ap Rhys y ban hwn ar ol llin. 48, fel hyn:—
"Hyd ddydd brawd, medd dy
wawdydd,
Hanwyd o feilch hynod fyd1."
Ac eglura y gair "wawdydd" trwy roddi "Clodforydd" ar waelod y ddalen.

[7] "Eden glas dau finiog lain
heb brwydur dyhwyl i bry-
dain."—*Glan. MS.*

[1]Clywsom ddinam ddayoni
Ayr teg gan Herod y ti[2]
Gayr y gymry hy hwyl
Owaith Orchest yth orchwyl[3]
Iach wy fi ar Swydd ddirsamp
Am grio y gymro r gamp[4]
Ag awr drist wedy r Cadarn dro
Brynawn ungrydain uno
Ar gwiw rwyst ar gwrestin
Ar glod yr Marchog or glyn.[5]

Iolo Goch, Ay Cant.

"Dy lafn glwys, dau finiog, glain:
Hel brwydr, da hwyli Brydain."
*Gweirydd ap Rhys.*

[1] Yn blaenori llin. 61 ceir yn *Glan. MS.*:—
"Wrth dori brisc dy wisc wen
athruthur ir maesathrethren."

Ond yn ol Gweirydd ap Rhys, darllena y ban fel hyn:—
"Wrth droi brisg â'th wisg wen,
A'th ruthr i'r maes â'th rethren,"

a dywed wrthym, ar waelod y ddalen, mai "*gwaewffon, picell; a spear*," ydyw *rethren.*

[2] "Klowsom ddinam ddaioni
hort teg gan Herod iti."
*Glan. MS.*

Yn ol y geirlyfrau—megys eiddo Pughe—dywedir mai *calumny*, neu *reproach*, ydyw "hort;" ond y mae yn amlwg oddi wrth y ban hwn fod ystyr arall iddo—*newyddion da* a glywsom am danat gan yr herodr (=*herald*), neu yn ol y testyn—"Ayr" (=gair) teg. Yn dilyn y llinell yn *Glan. MS.* ceir:—
"Ath hyrddwayw rrudd kythrudd kant
a theg enw athigoniant."
*Glan. MS.*

[3] Nid yw llin. 63-64 yn *Glan. MS.*

[4] "Iach wyd ddiarswyd ddursiamp
a chrio i gymror gamp."
*Glan. MS.*

"Gwych wyd, ddiarswyd, ddursiamp,
A chlod i Gymro ar gamp."
*Gweirydd ap Rhys.*

Yn ol Gweirydd—"ddursiamp" ydyw *Dyrnod, a steel mark.*

[5] Diwedda y cywydd fel y canlyn yn *Glan. MS.*, ac yn ol Gweirydd:—

*Glan. MS.*

"Ag awr drist gwedir garw dro
bryd nawn am brydain yno
ar gair i gymru hy hwyl
wyth archoll frwydr oth orchwyl
ar gwiw rwysc ar gorescin
ar glod ir marchog or glyn."

*Gweirydd ap Rhys.*

"A gwawr drist o'r garw dro,
Brydnawn ar Brydain yno;
A'r gair i Gymry try hwyl,
Wrth archoll brwydr o'th orchwyl,
A'r gwiw rwysg, a'r goresgyn,
A'r glod i'r Marchog o'r Glyn."

# XVI.

## DAROGAN.

---

*(O Lyvr Huw Lleyn—Add. MS., 14,967, fol. 18b).*

O herwydd rhyw reswm, anhysbys i ni, y mae rhywun wedi croesi y cywydd hwn allan yn yr ysgriflyfr uchod, trwy dynu dwy linell ar ei draws, groes-ymgroes. Ond y mae yr inc gyda'r hwn y croeswyd ef allan yn ymddangos yn llawer diweddarach. Y mae y cywydd i'w weled hefyd yn *Add. MSS.*, 14,893, a 14,970; yn *Glanyrafon MSS. F.* ac *H.*, dan y penawd "Cywydd Brud."

Ar ddiwedd y cywydd yn *Glanyrafon MS. F.* ceir "Iolo Goch ai Kant 1400." Nid oes ond ychydig, neu ddim, ymddiried i'w roddi ar yr amseriad hwn; o blegid yr un amseriad fel rheol a roddir, os rhoddir amseriad o gwbl, ar ddiwedd bron yr oll o'i gywyddau. Ac nid ydyw yn golygu mwy na bod Iolo Goch yn fyw yn y flwyddyn hono. Pa fodd bynag, ar ol darllen y cywydd, tybiwn fod yr amseriad yn yr achos hwn yn gywir, neu o leiaf, yn lled agos felly.

Perthyna y cywydd hwn i ddosbarth o gyfansoddiadau, trwy y rhai y mae y bardd, dan rith brudio, yn ceisio ennyn dygasedd y Cymry tuag at y Seison, ac ennill eu gwasanaeth o blaid Owain Glyndwr. Y maent wedi eu hysgrifenu mewn arddull allegawl, gan mwyaf, gan osod allan y prif bersonau yn yr ymgyrch o dan enwau dychymmygol. Er enghraifft, yn y cywydd hwn rhoddir y "ddraig goch" i gynnrychioli *Cymru*, y "ddraig wen" am *Loegr*; ac yn Cywydd Rhif XX. gelwir *Owain Glyndwr* yn "llew," *Harri* IV. yn "faedd," a'r tywysog *Harri o Fynwy* yn "barchell." Nis gwyddom pa un ai ofn colli ei ben, ynte rhyw reswm arall, a barai i Iolo ganu yn y dull hwn. O'n rhan

ein hunain, tybiwn y credai y buasai rhyw ymadroddion tywyll a chyfriniol, y rhai a allesid eu hesbonio bron fel y chwenychid, yn fwy effeithiol i symbylu y Cymry, na phe defnyddiasai ymadroddion mwy eglur. Dylem gofio hefyd fod yn hawddach i gydoeswyr y bardd eu deall nag ydyw i ni yn yr oes hon. Ac ni ddylem anghofio ychwaith wrth eu darllen mai cywyddau "brud" ydynt, ac nid cofnodiadau am ffeithiau. Byddai yn orchwyl rhy anhawdd i ni benderfynu amseriad y cywyddau hyn; ond y mae yn amlwg iddynt gael eu cyfansoddi oddeutu dechreuad y gwrthryfel, pan oedd gobeithion Owain Glyndwr yn ddysglaer, a phan yr oedd yn gwneyd pob ymdrech i gael gan y wlad gredu ynddo, ac i ymrestru dan ei faner.

Cymharer y cywydd hwn â'r rhan olaf—o llinell 57 i'r diwedd—o Cywydd Rhif XVII.

Pann vu hyn ni wyddym ni[1]
gan ddreigie gynddeiriogi[2]
yleni[3] henn elyniaeth
y sydd y rhyngthent yn saeth[4]
Eres byth or oes y bu[5]
Gwrthevyrn y gwrthevu[6]

[1] "Pa ham hyn a wyddam ni." *Add. MS.*, 14,970.
"Pa ham hynn na wyddam ni." *Glan. F.*
"Pa ham hynn na wyddom ni." *Glan. H.*

[2] "Gan i ddreigiau ymgyrddriogi."—*Glan. H.*
Dechreua y bardd trwy ofyn, beth yw y cynhwrf? a pha ham y mae y dreigiau (y gwahanol alluoedd milwrol?) yn ymgynddeiriogi?

[3] "Eleni."—*Add. MS.*, 14,970.

[4] "Y sydd y rhyngddyn yn saeth." *Add. MS.*, 14,970.
'Y sydd rhyngth - ' yn saeth." *Glan. F.*
"A fydd."—*Glan. H.*
Hyny yw, hen elyniaeth rhwng y Cymry a'r Seison yn cael ei adnewyddu.

[5] "Eres byth yr oes i bu." *Glan. F.*
"Eres bydd ir oes i bu." *Glan. H.*
"Eres"=rhyfedd.

[6] "Gwrtheyrn i'n gwarthäu." *Add. MS.*, 14,970.
"Gwrthewyrn yn gwarthyru." *Glan. F.*
"Gwrtheyrn in gwerthau." *Glan. H.*
Cyfeirir yma, mae'n debyg, at Gwrtheyrn ab Gwrtheneu, yr hwn, yn ol y chwedlonwyr, a wahoddodd

Llonydd vuant er llynedd[1]
ac er wy[2] ni bu hwy hedd
Weithian provi[3] ymwyaw
y maen[4] ar draws y man draw
Dial maer[5] ddraic kynhaig koch[6]
I[7] cham sarff danfflam dinffloch
kael a wnaeth gavael gyving
ar y ddraic koch wen angen ing[8]
Och ir ddraic goch orddrwc hir[9]
os gollwng volld asgellir[10]
Heb dorri a ffri ffyrf[11]
I[12] chynffon och or[13] anffyrf
Saeth esgor a sych ysgwn[14]
A syth y gwyr sevthu gwn[15]

y Sacsoniaid—Hengist a Horsa—drosodd i'r ynys hon, yr hyn a fu yn foddion i ddwyn ein gwlad dan warth.

[1] "Y llynedd"—*Glan. F.*; "er y llynedd"—*Glan. H.*

[2] "Ac ar ddwy"—*Add. MS.*, 14,970; a *Glan. MSS.*, *F.* ac *H.*

[3] "Profi."—Yn y llyfrau ereill.

[4] "Y mae'n." –*Add. MS.*, 14,970.

[5] "Maen."—*Glan. F.*

[6] "Ddraig gynhaig goch."—*Add. MS.*, 14,970. Y Ddraig Goch yw arwyddlun y Cymry, ond nis gwyddom pa ham y geilw y bardd hi yn "gynhaig."

[7] "Ei"—*Add. MS.*, 14,970; "a"—*Glan. F.*

[8] Y mae yn amlwg fod y testyn yn anghywir; gwell yn ddiau yw:—

"Ar y ddraig wen angen ing."
*Add. MS.*, 14,970.

Y "ddraig wen" yma a gynnrychiola y Seison. Dywedir yn "Ystorya Brenhined y Brytanyet" (*Text of the Bruts*, p. 144, fel hyn:—"G6ae hi y dreic coch. kanys y haball yssyd yn bryssya6. y gogofeu hi aachub y dreic wen yr hon a ar6ydockaa ysaeson. . . . Y dreic coch a ar6ydockaa kenedyl y brytanyeit."

[9] "Arwddrwg hir."
*Add. MS.*, 14,970.

[10] "Ffolld asgellhir"—*Glan. F.*; "follt ysgellir"—*Glan. H.*

[11] "Heb dorri a phon heb dro ffyrf."—*Add. MS.*, 14,970.

"Heb dori a ffori yn ffyrf."
*Glan. F.*

Tebyg mai y blaenaf o'r ddau ddarlleniad ydyw y cywiraf; gan gyfeirio at yr arferiad o ladd y sarff trwy ei churo â ffon.

[12] "Ei."—*Add. MS.*, 14,970.

[13] "Or."—*Glan. H.*

[14] "Saeth esgora a saith ysgwrn."
*Glan. F.*

"Saith ysgor a saith ysgwrn."
*Glan. H.*

[15] "Syth i gwyr saethu a gŵn."
*Add. MS.*, 14,970.

Darogan uthr benn dragon[1]
Y bu hi hir y mae byw hon[2]
Weithion milast greulon goch[3]
Owain laif loyw gain loywgoch[4]
Hyn o thry yn ythrywylld[5]
Yw balchder gwiber wylld[6]
Am wybod i vod yn vyw[7]
I henn veistr hyn ywr ystryw[8]
Gorre gwyddiad gair goddef[9]
Ysbio nos[10] os byw iawn ef

[1] "Darogan Uthr Bendragwn." *Add. MS.*, 14,970.

Yn ol Sieffre o Fynwy, fel yr ydym eisoes wedi cyfeirio (Cywydd Rhif XI.), ymddangosodd seren anferthol ei maint, ar baladr yr hon yr oedd pellen o dân ar lun draig, yn amser Uthr Bendragon, yr hon a ragfynegai enedigaeth Arthur, &c., gyda'i fuddugoliaeth ar ei elynion. Ac y mae Iolo yn adgyfodi y traddodiad hwnw, ac yn ei briodoli i Owain Glyndwr.

[2] "I bi hi hir y mae byw hwn." *Add. MS.*, 14,970.

"Bu hi hir i wae byw hwn." *Glan. F.*

"A fu hir yma fuw hwn." *Glan. H.*

[3] "Weithion milast greulon groch."—*Add. MS.*, 14,970.

"Kynffon miliast greulon-groch."—*Glan. F.*

"Weithan miliast greulon-goch."—*Glan H.*

[4] Hwn yw y darlleniad a geir yn y llyfrau ereill oddigerth *Glan. F.*:—"Addfaen saeth loiw-gain liw-goch."

[5] "Hynny a thry yn athrywyllt." *Add. MS.*, 14,970.

"Hyny o thry yn ethrywylld." *Glan. F.*

"O threwi yn athrowyllt." *Glan. H.*

[6] "Yw balchder y wiber wyllt." *Add. MS.*, 14,970.

"Hyn iw balchder y wiber wyllt."—*Glan. H.*

[7] "Am wybod ei fod yn fyw." *Add. MS.*, 14,970.

[8] "Ei hen feistr hyn fu ystryw." *Add. MS.*, 14,970

[9] "Gorau i gwyddiad gair goddef." *Add. MS.*, 14,970.

[10] "Ysbiaw hyn"—*Add. MS.*, 14,970; "ysbio hyn"—*Glan. F.*

Tybiwn fod yma gyfeiriad eglur—yn "yr hen feistr"—at Richard II.; yn gystal a'r ansicrwydd a fodolai am hir amser pa un ai byw ai marw ydoedd. Er i gorff Richard gael ei ddwyn o Gastell Pontefract i Lundain, yn gynnar yn 1400, a'i ddangos i lawer ar y ffordd, yn gystal ag ar ol cyrhaedd pen y daith, ni bu hyny mewn un modd yn foddion i beri argyhoeddiad cyffredinol.

Brenin vydd ynydd ynos
Yn hyrnas loygr yn hirnos[1]
Pa ddelw yw hyn pan ddel hawdd
Marchawc ry diriawc drwawdd[2]
[3]Or tridiav ni direidwr
Pievydd gorvydd y gwr[4]
Kynta lle y bydd kentach[5]
Ynghorsfochno gar gro grach[6]
Kanmil[7] a gyrch o hil hors
Ir wern dywysogl wern ffuglgors[8]

1 "Brenin fydd yn nydd a nos
yn nheyrnas Lloegr yn hirnos."—*Add. MS.*, 14,970.

Amlygiad o'r gobaith yr adferid Richard II. i'r orsedd. Yng ngwyliau Nadolig, 1399, gwnaed ymgais feiddgar gan Ieirll Huntingdon, Kent, a Salisbury, ac ereill, i lofruddio Harri IV., yn Windsor; ac yr oedd offeiriad o'r enw Richard Maudeleyn i gynnrychioli Richard fel brenin—i'r hwn yr oedd yn lled debyg—hyd nes y deuid o hyd iddo. Ond darganfyddwyd y bradwriaeth (*Wylie's Hist. Eng. under Henry IV.*, vol. i., p. 92). Yr oedd y teimlad dros adferiad Richard yn lled gryf ym mhlith dosbarth lluosog yng Nghymru a Lloegr.

2 "Ba ddelw yw hyn ban ddel yn hawdd
Marchog modrwyog drwawdd."
*Add. MS.*, 14,970.

"Pa ddelw yw hyn pen ddel nawdd
Marchog modrwyog drwyawdd."—*Glan. F.*

3 Yn blaenori llin. 35 yn y llyfrau ereill ceir:—

"Tridiau rhydd ef tra ader
Cad ar faes cadr yw ei fer."
*Add. MS.*, 14,970.

"Tridiau rydd ef tra ader
Kad ar faes had yw i fer."
*Glan. F.*

4 "Ar tridiau nid direidwr
bieufydd gorfydd y gwr."
*Add. MS.*, 14,970.

"Y tridiau nid direidwr
diau fydd gorfudd y gwr."
*Glan. F.*

Ymddengys fod y bardd wedi dychwelyd oddi wrth Richard II. at Owain Glyndwr, i broffwydo y byddai iddo orchfygu y Seison mewn tridiau.

5 "Cyntaf lle i bydd yn ceintach."—*Add. MS.*, 14,970.

"Kyntaf lle bydd y keinach."
*Glan. F.*

"Y kynta llei bydd keintiach."
*Glan. H.*

Ceintach = ysgarmes, neu frwydr.

6 "Y nghors fochno gaergro grach."—*Glan. H.*

7 "Can mil."—*Add. MS.*, 14,970 (Gwel Cywydd Rhif XII., llin. 42).

8 "I'r wern dwys hoglwern siglgors."—*Add. MS.*, 14,970.

Ni ddaw o'r wern ufferndrefn
deuddec drwch ovec drachefn[1]
Digri aneiri i ni
dros y dwfr ar draws dyvi[2]
Edrych yn wych yny[3] wern
lle diffaith val[4] lled uffern
kwn a brain yn knoi brynaich[5]
carol a vryol i vraich
Ynghyfwng mwng mwn gymryf
a chymminod hynod hyf[6]
arddwr Havren garddol
y bydd y rail dydd ar ol[7]
Y gelain wrth i gilydd
Siwrnai fawr yn sarn a vydd[8]

[1] "Ni ddaw or wern dwr uffern
drefn
Deuddeg trwch ofeg tra-
chefn."—*Add. MS.*,14,970.

[2] "Digrif aneirif i ni
dros y dwfr ar draws Dyfi."
*Add. MS.*, 14,970.
"Digrif aneiryf i ni
drws y dwfr ar draws dyfi."
*Glan. F.*

[3] "Yn y."—*Add. MS.*, 14,970.

[4] "Fal"—*Add. MS.*, 14,970; "fel"—*Glan. F.*

[5] "Cwn a brain yn cnoi Brynaich
Carol afreol i fraich."
*Add. MS.*, 14,970.

[6] "Ynghyfrwng mwng Mon-
gymry
a chymminod hynod hy."
*Add. MS.*, 14,970.
"Y nghyfrwn mwng mon-
gymry
a chominod hynod hy."
*Glan. F.*

"Mwng Mongymry" = blaenau Sir Drefaldwyn (*Montgomeryshire*). Am "cymminod" gwel Cywydd Rhif XIV., llin. 58.

[7] "Ag arddwr Hafren garwddol
y bydd yr eilddydd ar ôl."
*Add. MS.*, 14,970.
"Ag ar ddwr hafren garwddol
i bydd yr ail ddydd ar ol."
*Glan. F.*

Proffwydo y mae Iolo y cymmerai brwydr ofnadwy le ar ryw lanerch ar lan yr Hafren.

[8] "Siwrnai fawr sarn a fydd."
*Glan. F.*

"Siwrnai fawr" a olyga feithder y tir a orchuddid gan gyrff y lladdedigion; ac fel y gwelir yn y llinellau dilynol, yr oedd yr afon i gael ei llenwi gan gyrff y lladdedigion fel y gallai pawb a fynai groesi yn droedsych. Yr ydym yn cymmeryd yn ganiatäol mai cyrff y Seison a feddyliai y bardd; ac nad oedd yn bwriadu i'r un Cymro gael ei ladd.

Ben ben ar havren hyvryd
I bawb a vynnor byd[1]
Dramwyaw draw yn drais
yn droedsych ar vol drudsais[2]
[3]Ynghefn y rais divalais dec[4]
y bydd trydydd nod tredec[5]
Torri a sengi a si eingl
Brython yn lladd Britheingl[6]
Ai mygyrn ai krimogav[7]
Ai hesgyrn vegis kyrn kav[8]
Sais gwyr yn wys garroc
Yn ddas ymhen y glas gloc[9]

1 "Benben ar Hafren hyfryd
I bawb a fynno o'r byd."
*Add. MS.*, 14,970.

2 "I dramwyaw draw a drais
Yn droedsych dros fol drud-sais."—*Add. MS.*, 14,970.
"I dramwyaw draw o drais
Yn droedsych dros gefn drud sais."—*Glan. F.*

Ceir yma linellau gwir farddonol; ond awen waedlyd i'r eithaf a feddai Iolo Goch. Nid ymddengys un amser yn fwy hapus na phan yn dysgrifio echryslonrwydd rhyfel a thywallt gwaed.

3 Yn blaenori llin. 59 ceir y llinellau a ganlyn :—

*Add. MS.*, 14,970.
"Rhyfeddawd gnawd yn ol gnif
Mawr afon greulon groywlif
Gweled cyrph or gwaelod cau
Gelynion hyd y glannau
A bod Hafren hen yw hi
Heb undafn iawnddafn ynddi."

*Glan. F.*
"Rhyfeddawd gwnawd yn ol gnif
Mawr afon greulon groiwlif
Gweled kyrff or gwaelod kau
Gelynion hyd y glannau
A bod hafren yw hi
heb un dafn iawnddafn ynddi."

4 "Ynghefn yr ais diflais dêg."
*Add. MS.*, 14,970.

5 "Y bydd trydydd nod rhydeg."
*Add. MS.*, 14,970.
"Bydd y trydydd nod rhydeg."
*Glan. F.*

6 "Torri a sengi ais eingl
A Brython a lladd Britheingl."—*Add. MS.*, 14,970.
"Britheingl" = *mongrel Angles* (Gwel *Geir. Cymraeg*, D. S. Evans).

7 "Crimmogau" — *Add. MS.*, 14,970; "krimogau"—*Glan. F.*

8 "Cyrn cau" = cyrn gwag (*hollow*) ?

9 "A ais gwyr yn wasgarog
Yn ddas ym mhen y glas glog."—*Add. MS.*, 14,970.
"Ag ais gwerin gwasgarog
yn ddas y mhen y glas glog."
*Glan. F.*

"Glog" (o *clog*) = clogwyn—glas glog = clogwyn glas.

Gwae Deirrw lloegr wedi llygrv
y gelwir i tir ai tv[1]
O hynny allan glan glod
o gwbl ac i kair gwybod[2]
Pwy orrav piev y werrin
Ar klawr wedir tramawr trin[3]
llundain a gwyn dwyn dwy vil[4]
a dwyn mwy no devnaw mil
Gwaer Eingl a gwyr Englont[5]
Yn ffrydiav am bennau y bont[6]
rvadru o bob tu y bydd
Ar hyd temys val rrwd tomydd[7]
Gweddw vydd gwragedd senedd son[8]
a gwasarn dan i gweission[9]

[1] "Gwae Deirw Lloegr gwedi eu llygru
y gwelir eu tir a'u tŷ."
*Add. MS.*, 14,970.

"Gwae deirw lloegr'r llygru
i gwelir i tir oi tu."
*Glan. F.*

Ar ymyl y ddalen gyferbyn â'r darlleniad blaenaf ceir :—"*tu* it shd be. I. Morg."

[2] "O gwbl ac y cair gwybod."
*Add. MS.*, 14,970.

"O gwbl ag i keir gwybod."
*Glan. F.*

[3] "Pwy orau piau y warin
Ar clawr gwedi'r dramawr drin.—*Add. MS.*, 14,970.

"Pwy orau pia'r werin
ar klawr wedi'r dramawr drin."—*Glan. F.*

"Clawr"—clawr gwlad = gwyneb y wlad. Gofyna y bardd pwy fydd biau y werin-bobl a'r tir ar ol y frwydr fawr y mae yn proffwydo am dani.

[4] "Dwy fil."—*Add. MS.*, 14,970.

[5] "Gwyar Eingl a gwyr Inglont."—*Add. MS.*, 14,970.

"Gwyar" (= gwaed) sydd gywir, fel y gwelir oddi wrth y llinell ddilynol. Gwelir "Inglont" ac "Englont" yn aml gan feirdd y cyfnod hwn am *England* = Lloegr.

[6] "Yn ffrydiau ar bennau'r bont."—*Add. MS.*, 14,970.

Gwaed y Seison yn ffrydiau ar *Bont Llundain* !

[7] "Rhaiadru bob tu y bydd
Ar hyd Tems fal rhwd tommydd."
*Add. MS.*, 14,970.

Dysgrifiad ydyw hwn o'r mwyaf erchyll ac ofnadwy a allasai dychymmyg hyd yn oed bardd ei greu. Ond y mae y broffwydoliaeth heb ei chyflawni eto ; a gobeithiwn na chyflawnir mo honi byth.

[8] "Somwedd son."—*Glan. F.*

[9] "Dar ei gweision"—*Add. MS.*, 14,970 dann y gweision"—*Glan. F.*

Ryueddod medd pan vyddant[1]
Ymddivaid i plaid ai plant[2]
A ffrangk a gar ddivankoll
Kyn kychwyn yr ellmyn oll[3]
O ddydd i ddydd kyn eirri
O nos i nos yny noes ni[4]
Ni welir hir ddiareb
Vn Sais yn vyw yny Sieb[5]
Nithric arf rrac twrf aervawr
Yni law yni el i lawr[6]
Nithric gwrregis y leni
am i gorff mwy noc am gi[7]
[8]I ddiawl y genedl ddiain[9]
Hwt yntwy at vnt Owain[10]

Iollo Goch ai kant.

[1] "Rhyfeddod medd rhai fydd-ant."—Yn y llyfrau ereill.

[2] "Ymddifaid eu plaid a'u plant."—*Add.MS.*,14 970.
"Ymddifaid oi plaid ai plant." *Glan. F.*

[3] "Y Ffranc a gar ddifancoll
cyn achwyn yr Ellmyn oll." *Add. MS.*, 14,970.
"Ffrank a garai difancoll
Kyn kychwyn yr ellmyn oll." *Glan. F.*

[4] "O'r dydd dydd deddf camwri
O'r nos nos yn ein oes ni." *Add. MS.*, 14,970.

[5] "Un Sais yna'n fyw yn Sieb." *Add. MS.*, 14,970.
"Sieb" = *Cheapside* (Gwel Cywydd Rhif X., llin. 50).

[6] "Ni thrig arf rhag llid tarfawr
Yn ei law oni el i lawr." *Add. MS.*, 14,970.

[7] "Ni lyn gwregis y leni
Am ei gorph mwy nog am gi." *Add. MS.*, 14,970.

[8] Yn blaenori llin. 93 ceir y ban a ganlyn:—
"Caith a gryn ganwaith yn gynt
no'r irwydd dan yr oerwynt." *Add. MS.*, 14,970.
"Kaith a gryn kanwaith yn gynt
Nar irwydd ar yr oerwynt." *Glan. F.*

[9] "Ydd ain" — *Add. MS.*, 14,970; "i ddain"—*Glan. F.*
Ni ddywedir yn ein geirlyfrau beth yw "ddiain;" "ddain" ydyw *pur*, neu yr hyn sydd yn *hyfryd* a *dymunol*, ond gwelwn oddi wrth y cyssylltiad mai nid hyny a olygir. Dyfyna y Dr Pughe (*Geiriadur*, s.v. "Hwt"), y ban yn ol darlleniad yr *Add. MS.*, 14,970; a chyfieitha ef fel y canlyn:—"To the devil the tribe would go: *away* with them, at them Owain!" Tebyg mai *ddiddain* a feddylir.

[10] "Hwt yntwy attynt Owain." *Add. MS.*, 14,970.
"Wtunt hwy attynt Ywain." *Glan. F.*

# XVII.

## DAROGAN.

*(O'r Add. MS., 14,893, fol. 77).*

Nid oes benawd i'r cywydd hwn yn yr ysgriflyfr. Ond gan ei fod o llinell 57 i'r diwedd—gydag eithrio ychydig o linellau a nodir wrth fyned ym mlaen—yr un yn hollol a'r cywydd diweddaf (Rhif XVI.), rhoddasom yr un penawd iddo. Y mae yr ysgriflyfr yn waith rhywun tra annghelfydd, ac y mae y colliadau mynych a geir ynddo yn tynu ymaith yn fawr oddi wrth ei werth. Hefyd, y mae amryw gyfeiriadau yn y rhan gyntaf ag ydynt yn peri i ni ammeu a ydyw yn peidio a bod yn gyfansoddiad gwahanol i'r rhan olaf. Pa fodd bynag, ein dyledswydd ni oedd ei osod i mewn, fel y mae, pa un bynag a ydym yn ei ddeall ai peidio; a rhaid i ni addef nad ydym.

Pen welir y pum weli
poini yn ol pan nawn i
ar blaened[1] beder bylynedd
gwedi hyn egeidi hedd[2]
gwedi hyn Duw gida hi
gydwaladr[3] i gyd weli
diau yn i daw on hiraieth
ddewin a gladdwyd ddwiwaith[4]
chwerwi yn flin ai ben elaeth
gwaitha gwaith ai greith ar go
gwenol hep fawr ddolir
lluddor yw ai lladd ai gwir

[1] Ai y seren wib a ymddangosodd yng ngwanwyn 1402 a feddylir? —ond nid planed oedd hono.

[2] "Egeidi hedd" = fe gyfyd hedd, neu, ti a gei di hedd?

[3] Cadwaladr Fendigaid.

[4] Pwy oedd hwn?

maer asen yn ymryson
bwla mawr a beli mon
mai un edyn yn adu
a deri yn ddig y daran ddu
tayr yw pan tery i hanian
adwen fwi a den[1] y fran
myn Duvinwen[2] nid adwanoch
y forwyn gwl ar fron goch
delid hari[3] weddiwr
lan i daith i lan y dwr
galwed y fran dan ganu
gole daith ar gwlw du
tyreigledd tua tur eglur
drwy goed i ddadyragied ddur
ni does mawr dewis mon
. . . . . . . . . . .
. . . . . . . . . . .
breuddwydion beirdd acidwd
hyny ysy yn lladd herwas llwyd[4]
. . . dewi a roes dyuall
aed i roi kof owdur[5] kall

[1] Aden.

[2] Dwynwen, santes warcheidiol y cariadon ym mhlith yr hen Gymry. Merch ydoedd i Brychan Brycheiniog, yn y bummed ganrif. Dywedir mai hi a sefydlodd eglwys Llanddwynwen, ym Môn. Pa fodd bynag, byddai lluaws o gleifion cariad gynt yn myned i ymweled â ffynnon Llanddwynwen, yr hon yn awr a elwir yn Ffynnon Fair. Rhagddywedid eu tynged gan bysgodyn yn y ffynnon; ac offryment hwythau arian er mwyn i'r santes eiriol ar eu rhan gyda Mair, am iddi dyneru calon gwrthddrych eu serch. Daeth yr aberthau hyn mor bwysig fel y gwnaed yr eglwys yn abatty, ac yr oedd cyllid y crefydd-dŷ hẁn, yn amser Harri IV., yn fwy nag un arall yng Ngwynedd (*Lewis's Top. Dict. of Wales*).

[3] Harri IV., mae'n debyg.

[4] Ar ol llawer o chwilio, methasom a chael allan pwy oedd "herwas llwyd." O herwydd y colliadau sydd yn yr ysgriflyfr, yn gystal a'r orgraff ryfedd ym mha un y mae y cywydd yn ysgrifenedig, y mae bron yn ammhosibl deall y cyfeiriadau a geir ynddo.

[5] "Kof awdur" = Cofiadur?

glan fardd ail un a fu
goido pen gwedi hyny
ar lleian arth ar llwinon
fu siriol verch faien sieron[1]
os gwir a ddowid y son gynt
addaw adwyth a ddywedynt
mae ar y dyrws or mor hydraw
kyfeddach kywisc addaw
amseroedd a mesurau[2]
a nodau terfynau sir
a hanwen ar haianwir[3]
kynta kafod adwen
kam mawr i wlad Kymru wen
mai gwir lladd yma gar llaw
pe beiddivn i kysuddiwn[4]
triged y tarw anghall
awnel llid yn ol y llall
arwiddion trymion hit traw[5]
a welaf af i wiliaw
. . . a dre os kefais
. . . yno son am un sais
a . . . dwr a dyn
diria . . . . y deryn
[6]Pam hyn na wyddin ni
gan ddreigiau ymgynddeiriogi
y leni hen elyniaeth
y sydd rhyngthun yn Saeth

[1] "Sieron" = St. Jerome. Ceir y ban canlynol gan Lewis Glyn Cothi (*Gwaith*, tudal. 93):—
"O'r haelder, mal llyvr *Sieron*,
Rholiau y sydd ar helw Sion."

[2] "*Mesuraw*" a ddylasai hwn fod i ateb i'r llinell flaenorol, neu dylasai y gair olaf yn hono fod yn "*addau*."

[3] Pa beth a feddylir yn y llinell hon—ai "a rhai anwir" ydyw "ar haianwir?"

[4] "Kysuddiwn"—o cysu = llin-iaru?

[5] Hyd draw.

[6] Yma y dechreua Cywydd Rhif XVI.

e rroes byth yr oes i bu
gwrtheyrn yn i gwarthau
llonydd fuant er llynedd
estwy ni buan hwy hedd
weithian profi ym wthiaw
i mewn o draws ym mon draw
dial maer ddraig gynhaig goch
i cham Sarff danfflam dinffloch
kael a wnaeth gafel gyfink
ar y ddraig wen agen Ink
och ir ddraig koch arwddyrwg hir
os gillwng bollt os gellir
heb dori a fferi ffyrf
y chynffon goch anffyrf[1]
darogan uthur pen dragwn
y bu hir mai byw yw hwn
weithian ymlid greulon groch
Owain wiw loiwgan lowgoch
hynu waithery Rhyrnwillt
yn bachder y wiber wyllt
anwibod fod yn fyw
ai hen feister hyn fu ystryw
gore i gwydded gaer goddef
y spiaw nos os byw ef
brenin fydd ynydd a nos
ynhyrnas loeger yn hirnos
pa ddelw hyn pa ddial hawdd
marchog Myd riog drwawdd
tridie rrydd y tua derw
kad ar faes kadryw iferw
ar tridiau and di reidi wr
diau fydd gorfydd y gwr
kynta lle i bydd ym gintach
ynghors iochno ger gro grach

[1] Yn dilyn y ban hwn yn Cywydd Rhif XVI., ceir :—
"Saeth esgor a sych ysgwn
A syth y gwyr sevthu gwn

kan mil a gyrch o hil hors
ir wern ddwysengloer wernwors
ni ddaw byth ar wern sern sefn
deuddeg trwch ofeg trachefn
digri aneirif i ni
drwssio deufad dros dyfi
edrych yn wych yn y wern
lliw diffaith mal lled uffern
kwn a brain knou y brynaich
karol afudol i fraich
Ynghyfrwng mawrong mery
a chyminod hynod hy
ar geurydd hafren garw ddol
y bydd yr ail ddydd ar dol
y gelain wrth i gilidd
Siwrnaw fawr yn sarn a fydd
benben ar hafren hyfryd
i bawb a fyno or byd
awn draw yn inion heb drais
yn droed sych dros fol drud sais
Rhyfeddod gynod geni[1]
ir afon greulon gwiw li
gweled kyrff yn gwaelod kau
gelynion hyd y glanau
a bod hafren hen yw . . . [2]
heb ddafn fawr ddwr ynddi
ynghefen yr ais dulais deg[3]
y bydd trydydd nod uredeg
tori a sengi as engil
brython a lladd y brithengl
ai migirn ai krimogau
ai hesgirn megis kirn kau

[1] Y mae hon a'r pum' llinell dilynol wedi eu gadael allan yn Cywydd Rhif XVI.

[2] Hi?

[3] A oes yma gyfeiriad at yr afon *Dulas*, yr hon sydd yn rhedeg trwy Gorris, yn Sir Feirionydd, ac yn ymuno â'r Dyfi, ger Machynlleth?

ais y gwyr yn wsgarog
ai holl benau glaw i glog
gwae di loeger gwedi lygru
i gwelir i tir ai tu
o hyn allan glan i glod
kowir gwbl i kair gwybod
pwy orau piau i werin
ar lawr wedir drom arw drin
llundain a gwyn dwyn dwy fil
a dwyn mwy no deunaw mil
gwaed engyl a gwyr englont
yn ffrydiau dan benaur bont
Rrydru o bob tu y bydd
ar hyd temys fal rrwd tomydd
gweddw a fydd gwragedd Senedd son
a gwassod dan bawb. o'i gweission
Ryfeddod medd rrai fyddant
Ymddiddiaid i plaid ai plant
y ffrank a gar ddifankoll
kan kychwyn yr ellmyn oll
kam arwydd y kamwri
o nos i nos yn oes ni
ni welir hir ddihareb
yn sais yn fyw yn y Sieb
ni thrig arf rag ofyn tarfawr
yn i law ar i ol i lawr
ni lyn gwregis y leni
am i gorff mwy nag am gi
kaith a gryn ganwaith gint
nar Irwydd gan yr oerwynt[1]
I ddiawl y genedl i ddain
oi diwedd onid Owain

Iolo Goch ai kant.

Ond nid ydyw darlleniad Cywydd Rhif XVI., llin. 59, yn awgrymu y fath beth.

[1] Nid ydyw y ban hwn yn Cywydd Rhif XVI.

# XVIII.

## KO: BRUT.

*(O Glanyrafon MS. F., p. 5.)*

Y mae y Cywydd Brud hwn, fel y cywyddau ereill o'r un natur, yn un lled anhawdd i'w ddeall. Yr oll a allwn gasglu oddi wrtho, gydag un gradd o sicrwydd, ydyw y byddai i'r Ddraig Goch—sef y Cymry—orchfygu y Ddraig Wen—sef y Seison. Wrth gwrs, gwyr pawb i'r broffwydoliaeth droi allan yn anwireddus. Ymddengys nad ydyw y cywydd fel y mae yn yr ysgriflyfr uchod—yr unig gopi o hono a welsom —yn gyflawn; ac y mae hyny yn ychwanegu at yr anfantais i'w ddeall. Nis gallwn wneyd yn well, o bosibl, na'i osod ym mhlith ereill o'r un dosbarth; gyda'r dybiaeth iddo gael ei gyfansoddi rywbryd yn ystod y pum' mlynedd cyntaf o'r gwrthryfel, sef rhwng 1400 a 1405. Ei amcan, mae'n amlwg, oedd calonogi y Cymry yn eu hymlyniad wrth Owain Glyndwr, trwy broffwydo gorthrechiad y Seison ac adferiad y genedl Gymreig i'w rhyddid a'i breintiau cyntefig.

Rho Duw i ras kwmpas koeth
gair hwylddawn i'r gwr haelddoeth
I ag N yw'r kymhenddoeth
4 I ag U ddwbl yw'r kwbl koeth[1]

[1] Buasai o gryn fantais, er mwyn iawn ddeall y cywydd hwn, pe gallasem benderfynu i sicrwydd beth a olygir wrth y pedair llythyren sydd ar ddechreu llin. 3-4. Ond rhaid i ni addef nas gallwn wneyd yn well na dyfalu mai Owain Glyndwr a olygir. Gwyddom fod Owain yn cael ei ysgrifenu mewn gwahanol ffurfiau, megys *Ywein*, *Ywain*, ac *Iwain*; ac o gyfnewid ychydig ar drefn y llythyrenau I.N.I.W. (U ddwbl), fe gawn IW[A]IN. Ac y mae y rhinweddau a briodolir iddo yma yr hyn a fuasem yn ei ddysgwyl gan Iolo Goch am Owain Glyndwr. Nid ydym heb gofio mai *Ywein* a ysgrifenid fynychaf yn amser Iolo, ond nid ydym byth yn cyfarfod â'r ffurf hono yn ei gywyddau ef- eithr *Owain*.

Mae yn i fryd wryd ar[1]
ruthro engl rethri[2] anglaiar
ai hawydd[3] nid amheuir
ymorol flaidd[4] hoiw wraidd hir
blwyddyn yw honn gronn grynno
ar ddraig wenn[5] ai ffenn ar ffo
ar ddraig koch lwybr wrthgoch lid
ai hamlwg fagl ai hymlid
llithred eira llethryd arawl
gann feiriolwynt ne hynt hawl
pen ddel ior kynnydd vawr lain
gwr o lendid gaer lundain[6]
a nghyfion y cysonir
oressain damwain i dir
effon dial ddental[7] dig
y beru Rwng dowyr a berwig[8]
Na bu iawn ddygyn greulonwedd
weithred lladd i ewythrydd[9]

[1] "wryd"=gwrol—y mae, o'i wroldeb, yn bwriadu rhuthro ar yr Eingl (*Angles*)=Seison.

[2] "Rethri"=picellau (*lances*).

[3] "A'i hawydd" a olyga yma, mae'n debyg, flaenllymder ei arfau —ei bicellau.

[4] Y blaidd yma oedd Owain, yr hwn a annogir gan y bardd i ymwroli.

[5] Cynnrychiola y "ddraig wen" y Seison, fel y gwna y "ddraig goch" y Cymry yn y llinell ddilynol. Brudia y bardd y bydd i'r Cymry ymlid y Seison; ac (llin. 13-14) y bydd i'r Seison ddianc o'u blaenau yn debyg fel y ffy yr eira o flaen y gwynt.

[6] Nis gwyddom pwy oedd y "gwr o lendid gaer lundain," os nad Richard II., yr hwn, ar ol ei ddiorseddu, y credid gan y werin am hir amser ei fod yn fyw.

[7] "Ddental" (Seisoneg *dental*)= deintiawl?

[8] *Dover* a *Berwick*.

[9] Gwelir fod yma wall odl; ond yr hyn sydd waeth fyth, y mae yma gryn anhawsder i ddeall yr hyn a ddywedir. Yr unig ddyfaliad a gynnygia ei hun ydyw fod yma gyfeiriad at waith Richard II. yn rhoddi ei ewythr—y Duc o Gaerloyw—i farwolaeth, yn 1394. A'r hyn, fel yr ymddengys, nid oedd hyd yn oed Iolo, yr hwn oedd yn bleidiol i Richard, yn ei gymmeradwyo.

fflam blaid loegyr bobl goygrus
yn fflam dân a mwg glan glas[1]
gan ddyrnodie bleiddie blwng
klod astud ai klyd ostwng
ni wybyddir i hirynt
ar for gwyrddlas gwnas gynt
oni ddel tarw rhyfel tair
y mysg engl y mwasg[2] anglaiar
trwy gymry lle i try llew trin[3]
yno i bydd y naw byddin[4]
Myrdd ar fôr gwyrdd a fwrw gwynt
lu gwr ddeffro i loegr ddyffrynt
a chanddo fwyell ellmyn
llychynig[5] llwybr tremig trin
i fyn in dir ne son o draw
lediwr i bobl lydaw[6]
a chanthaw er blinaw'r blaid
llynges o ddenkan llongaid
llong a ddaw gar llaw ffawydd
llyngesawg farchawg a fedd[7]
a llong fraith a llong frython
a llynges y mynwes mon

Iolo Goch.

[1] Ymddengys fod yma ddwy linell o leiaf yng ngholl; gan nad ydyw llin. 23 a 24 yn odli. Ac nid ydyw amryw o'r llinellau dilynol yn ymddangos fel pe wedi eu hadysgrifenu yn gywir.

[2] ym waeg?

[3] "Trin" = brwydr.

[4] Dylid cadw mewn cof mai nid adrodd ffeithiau y mae y bardd, ond brudio; ac nid oes arnom unrhyw angenrheidrwydd i gredu i ddim o'i broffwydoliaeth gael ei chyflawni. Felly, ofer a fyddai i ni geisio dyfalu pa naw byddin a feddyliai.

[5] "Llychynig" = maluriedig?

[6] Yn ystod haf 1403 glaniodd lluoedd o'r Llydawiaid yn Plymouth, gan ymosod ar y lle; ac er nad oeddynt mewn unrhyw gynghrair â'r Cymry, ystyrient unrhyw bobl a flinent y Seison yn gynnorthwywyr iddynt hwy.

[7] "A fydd"?

## XIX.

### [CYWYDD BRUD.]

(*Or Add. MS., 14,887, fol. 59.*)

Yn blaenori y cywydd hwn yn yr ysgriflyfr uchod ceir 46 o linellau yn dechreu gyda—"Dilud y broffwydoliaeth," ond gyda llinell ddu wedi ei thynu danynt, fel ag i dori eu cyssylltiad â'r cywydd. Y mae yn amlwg, feddyliem, mai cywydd gwahanol ydyw "Dilud y broffydoliaeth," yr hwn a briodolir yn *Add. MS.*, 14,994, i Gruffydd ab Dafydd Fychan.

Nid oes benawd i'r cywydd yn yr ysgriflyfr uchod; ond gelwir ef yn Gywydd Brud mewn ysgriflyfrau ereill. Y mae i'w gael hefyd yn *Add. MS.*, 14,897. Ceir 14 llinell o hono yn *Add. MSS.*, 14,892 a 14,994. Y mae bron yn gyflawn—oddigerth y ddwy linell flaenaf—yn *Glanyrafon MS. D.*; ac mewn ysgriflyfr perthynol i Mr. Robert Evan Jones, Ty'nybraich, Dinas Mawddwy. Y mae hefyd yn argraffedig yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 16, lle ei blaenorir gan y nodyn canlynol gan olygydd y gwaith hwnw (y Parch. Owen Jones):—

"Y Brudiau a ganai y Beirdd yn yr amseroedd terfysglyd a aethant heibio; yn enwedig yn ystod y tymhor blin o ymryson rhwng teuluoedd Caerefrog a Chaerhirfryn, am orsedd Prydain. Efallai fod cyfeiriad neillduol y Brud isod, at fradychiad Risiart yr Ail, i ddwylaw Harri Bolingbroke, a chyfodiad Owen Glyndwfrdwy yn y canlyniad i hyny."

Pa fodd bynag am y dybiaeth hon, bron na feddyliem ar ol darllen y cywydd mai nid brudio rhyfel rhwng y Cymry â'r Seison a wna y bardd yn gymmaint; ond yn hytrach proffwydo y mae am ryfel erchyll ym mhlith y Seison eu hunain—rhwng pleidwyr Richard II. a phleidwyr Harri IV. Ond y mae wedi ei eirio mor dywyll, fel y gallwn roddi yr

ystyr a fynom iddo—hyny yw, ni welwn ynddo ystyr amlwg o gwbl. Gallem feddwl oddi wrth ei ddiwedd iddo gael ei gyfansoddi oddeutu dechreu 1403.

A genais mae yn eginaw
myn fy fydd gwn y dydd i daw[1]
ban el y neidr ban awn
ai gwyr llu i gaer lleawn[2]
I rodiaw a lluniaw llid
y priffyrdd a budd proffid[3]
Duar drin ni chair hindda
kwyno yn ol kanv awna[4]
tyr a ddeheulaw draw yn y drin
ir bryn bydd dig brenin[5]
o fryn i bant tygiant twyll
or ymwrdd och or amwyll[6]
y ny pant ffyniant yw ffo
y bwrir gwae ai karo[7]

[1] Nid ydyw y ddwy linell flaenaf mewn un ysgriflyfr a welwyd genym, heb law yn yr hwn a gymmerasom yn gynsail. Buasai *ffydd* yn lle "fydd" yn gywirach o ran synwyr.

[2] "Pan el y neidr pen Ion
ai gwyr/ ai llu/ i Gaerlleon."
*Ty'nybraich MS.*

[3] "I roi oer llun I o llid
priffyrdd aludd y profid."
*Glan. MS.*

"I rodio, er llinio llid/
y priffyrdd, a llu proffwyd."
*Ty'nybraich MS.*

[4] "Tuar drin ni chair hindda
Cwyn yn ol cynen ar a."
*Glan. MS.*

"Kwyno yn ol hyn a wna."
*Ty'nybraich MS.*

Y "drin" (trin)=brwydr.

[5] "Tori deheulaw draw yn y drin
yn brin bydd dig ir Brenin."
*Glan. MS.*

"Troi dyheulaw/ draw ir drin
ir brin, bydd dig y Brenin./"
*Ty'nybraich MS.*

[6] "O fryn i bant y dygant dwyll
yr ymwrdd mawr fu'r am-'wyll."—*Glan. MS.*

"O fryn i bant, i dygant dwyll/
or ymwadd, ir ar amwyll./"
*Ty'nybraich MS.*

"Ymwrdd" = ffyrnigrwydd.

[7] Nid yw llin. 13-14 yn *Glan. MS.*; ond darllenant yn *Ty'nybraich MS.* fel y canlyn :—

"Yn y pant / ffyniant iw ffo/
i kirir, gwae ai karo./"

Curo y Seison, gan y Cymry, a feddylir: ac y mae y bardd yn cyhoeddi anathema uwch ben y rhai blaenaf.

tynghedfen dan nen y ne
fydd hyn oer ddychryn ddechre[1]
pyrnhawn fydd kynydd kan och
y gweddwir gwraig a gwaedd groch[2]
yna kyddir kedwir ko
yr eleirch a bair wylo[3]
gwell kyrchu /r/ koed heb oidi
yn fyan meddan i mi[4]
yna i mddiffin enaid
nor holl gymdeithion yn rhaid[5]
rhai dan wylaw draw or[6] drin
or gwyr llu ir gorllewin
rhai or Nordd gwaetha ffordd i ffo
rhai ir dwyrain rhowyr daro[7]

[1] "Oedd hyn oer ddychryn ddechre."—*Glan. MS.*
"Fydd yn oer ddychryn ddechre."
*Ty'nybraich MS.*

[2] "Pyrnawn fydd cynnydd can' och
y gweddwir gwraig a gwaed coch."—*Glan. MS.*
"Pyrnhawn fydd, kynydd koch
a gweddwyr gwraig ar gwaedd kroch."
*Ty'nybraich MS.*

Yn y llinellau blaenorol cyfeirir at yr arswyd oer oedd wedi meddiannu y wlad yn y rhagolwg ar y frwydr dybiedig; ond yn awr y mae yn dysgrifio echryslonrwydd ofnadwy y rhyfel hwnw.

[3] "Yno cuddir cedwir co
yr Elyrch a bair wylo."
*Glan. MS.*
"Yna i kiddir, kedwir ko./
'r Eleirch, a bair wylo."
*Ty'nybraich MS.*

Yr oedd yr alarch yn aderyn brenhinol; ac y mae y beirdd Cymreig yn fynych yn rhoddi yr enw hwn fel anrhydedd ar eu harwyr.

[4] "Gwell cyrchu'r coedi."
*Glan. MS.*
"Gwell kyrchu ir koed, heb oedi
yn fuan, meddan imi."
*Ty'nybraich MS.*
"Gwell syrthio i'r coed heb oedi."—*C. Ll. G.*

Pwy a gynghorir yma gan y bardd i gyrchu i'r coed?

[5] "Yno i mddiffyn enaid
nar holl gymdeithion rhaid."
*Glan. MS.*
"yno i ymddiffin Enaid
na'r holl gymedeithion yn rhaid."
*Ty'nybraich MS.*

[6] "Ir."—*Ty'nybraich MS.*

[7] "Rhai'r nordd aeth a ffordd ffo
rhai ir dwyrain rhy hwyr daro."—*Glan. MS.*
"Rhai ir Nordd, gwaetha ffordd i ffo
rhai ir dwyrain / rhiw ymdaro."
*Ty'nybraich MS.*

vn or dehau gwarchau gwiw
o ddig hwyrfrydig ydiw[1]
er hyn gorlleni towyn tes
y llechant y ny lloches[2]
paran ofal im kalon
eilwaith ir vn daith i don[3]
anhyfryd o fyd a fydd
pob dydd gelyn yw gilydd[4]
brodir a fydd oi ffydd yn ffo
ag y ffeiriaid yn fforio[5]
batelav diav y daw
y nol y gwaith an alw[6]
dwy ne dair myn mair i mae
chwerw fydd diwedd y chware[7]

1 " Yn y dehau gwarau gwiw
o ddig hyfredig ydiw."
*Glan. MS.*

" Vn ir deau, gwarau gwiw
o ddig hwyr / fyrydig ydiw."
*Ty'nybraich MS.*

2 Nid ydyw llin. 31-32 yn *Glan. MS.*; ond y maent fel y canlyn yn *Ty'nybraich MS.* :—

" Ar hyn gorllwyn, towyn tes/
y llechan yn i lloches/."

3 " Paran ofal im calon
eilwaith ir ail daith i dôn."
*Glan. MS.*

" Paran ofn im kalon/
eilwaith ir vn daith i dôn."
*Ty'nybraich MS.*

4 Nid ydyw llin. 35-36 yn y *Glan. MS.*, ond y maent yn *Ty'nybraich MS.*

5 " Brodyr ffydd ai bryd ar ffo
ag offeiriaid yn fforio."
*Glan. MS.*

" Ffario " yn *Ty'nybraich MS.* a *C. Ll. G.*

6 " Batelau diau y daw
yn ol y gwaith anelaw."
*Glan. MS.*

" Battelau, diau i daw/
yn ol y gwaith anaulaw./"
*Ty'nybraich MS.*

" Gwaith arianlaw " yn ol *C. Ll. G.*; ond nid oes synwyr yn hyny. Ai nid " anaelaw " (h.y., anaele = *dreadful*) a ddylai fod? Ceir Golyddan (*Myv. Arch.* p. 120) yn defnyddio *anaelew.*

" Dychymmydd angou angen llawer
Dechymmydd anaelew dagreu gwragedd."

7 " Dwy ne dair myn mair o ne/
chwerw fydd diwedd y chware./"
*Ty'nybraich MS.*

Ymddengys i ni fod y darlleniad hwn yn rhagori ar y testyn; ond yn *C. Ll. G.* ceir :—" Dwnedair myn Mair o ne ;" yr hyn sydd yn hollol afresymol,

breuddwyd gwenddydd dedwydd daf
o dydiw modd i doydaf[1]
buan hanes ben hunor
tair llynges ymynwes mor[2]
golau o beth i gwelir
tri man i deuan i dir[3]
y ddwy ddiwaetha a ddaw
y nol gwaith analaw[4]
rhwng bryn Eglwys bwys lid[5]
ag afon waed ag ofid[6]
gofal doeth fydd anoeth lyw
a gwyn i fyd ynfyd yw[7]
pedair byddin kyn peidiaw
diav ar ddifiav a ddaw[8]

[1] "Breuddwyd gwenddydd defnydd da
od ydyw modd i dweda."
*Glan. MS.*

"Breiddwyd gwenddydd, deunydd da/
o dydwy, modd i dweda./"
*Ty'nybraich MS.*

Gwenddydd oedd chwaer Myrddin, a gwraig, yn ol a ddywedir, i Rhydderch Hael.

[2] "Buan hanes ben huôr
tair llynges a leinw mynwes
môr"—*Glan. MS.*

"Dyna hanes, pen hunor/
tair llynges / ym mynwes
môr./"—*Ty'nybraich MS.*

Pan huno'r tair llynges?

[3] "Gole o bell i gwelir
i dri man i deuan i dir."
*Glan. MS.*

"Galar o beth i gwelir
a dair man i deuan i dir."
*Ty'nybraich MS.*

[4] "Y ddwy ddiweddaf a ddaw
Yn ol y gwaith a wnelaw."
*Glan. MS.*

"Y ddwy ddywaetha a ddaw/
yn ol y gwaith anailaw."
*Ty'nybraich MS.*

[5] "Rhwng gwern Eglwys lwyd
lid."—*Glan. MS.*

[6] "Ac afon o waed a gyfyd."
*Glan. MS.*

"Ag afon waed a gyfid."
*Ty'nybraich MS.*

[7] "Gofal doeth hyd anoethliw
a gwynfyd rhai ynfyd yw."
*Glan. MS.*

"Gofal doeth, byd anoeth liw/
a gwnfyd i ynfyd iw./"
*Ty'nybraich MS.*

[8] "Pedair blynedd cyn peidiaw
diau ar ddifiau a ddaw."
*Glan. MS.*

"Pedair blwyddyn kyn peidiaw
Diau, ar dduwiau a ddaw./'
*Ty'nybraich MS.*

Diammeu mai "pedair byddin" sydd gywir; o blegid nis gallasai pedair "blwyddyn" ddyfod ar "ddifiau" mwy nag ar ryw ddydd arall.

"Pedair byddin" a ddywedir hefyd yn *Add. MS.*, 14,994.

ı kirch i frwydr i kyrchant
i ryd y tyfod i rant[1]
ag ar y rhos gar y ryd
i gwelir tecka golyd[2]
mwstwr orwydd arglwiddi[3]
pedair iaith heb yn iaith ni[4]
lladdfa fawr ir llawr mewn llid
a gafar rhiain a gofid[5]
sarn o wyr om synwyr son
o ryfig ar yr afon[6]
briltwn a gylydwn i glod
berffaith ddwywaith a ddywod[7]

[1] " Y cyrch oferwyr y cyrchant
ar hyd y tyfod yr ant."
*Glan. MS.*

" I kyrchir frwydyr i kyrchan./
I Rud y tyfod ir ân."
*Ty'nybraich MS.*

Pa un ai *ar hyd y tywod*, yn ol darlleniad y *Glan. MS.*, ynte enw ar le, fel yr awgrymir yn y llyfrau ereill, a feddylir? Ymddengys i ni mai enw ar le ydyw—Rhyd y Tywod; ac y mae y llinell ddilynol yn cadarnhau hyny. Ac hefyd mewn cyfansoddiad a elwir " Ymddiddanion Taliesin, Merddin, a Gwenddydd " (Gwel *Ty'nybraich MS.*, fol. 70), dywed Gwenddydd:—" Yna i rhenir treth / ag fith ni thelir / ag nis gorfyddir./ yna i bydd r haul yn i ddeuwres / yna i bydd yn Nyfi longau / yna i bydd y Baedd yn oeri / a dyfin gwyr i Rofela ar fris, hud yn fro kaer, yna i bydd rhwng Aber Poriddon a Rhud y tyfod duon / y maes ar y Saeson ar wyr llur. / Yna kyn pen y flwyddyn i bydd kad Kors fochno."

[2] " Ag ar y rhos gerllaw'r rhyd
y gwelir ddau can golud."
*Glan. MS.*

" Ag ar y Rhos, gar llaw'r Rhud
i gwelir, tecka golyd./"
*Ty'nybraich MS.*

[3] " Yngwydd arglwyddi "—*Glan. MS.*; " ar fedde Arglwyddi " *Ty'nybraich MS.*

[4] " Bedair gwaith heb'n iaith ni."—*Glan. MS.*

[5] " Lladdfa fawr i'r llawr a'r llid
a gofyr mawr yw r gofid."
*Glan. MS.*

" Lladdfa fawr, ir llawr mewn llid
a gaf arian, a gofid."
*Ty'nybraich MS.*

Ai nid " a galar rhiain a gofid " ydyw y darlleniad cywir o llin. 64?

[6] " Swrn o wyr om synwyr son
Oer ofid a ir afon."
*Glan. MS.*

" Sarn or gwyr, synwyr sôn
Oer ofyd, ar yr afon."
*Ty'nybraich MS.*

[7] "Miltwn oi fryd ai glyd glod
berffaith ddwywaith a ddyfod."
*Glan. MS.*

Taliesin o dewin om dysg
a merddin yw fymowrddysg[1]
gwersi tomas urddasawl
72 a wyr derfyn hyn o hawl[2]
y baedd diethr i weithred
a ffydd grist a fedd y ged[3]

Nid ydyw y llinellau hyn yn *Ty'n-ybraich MS.*; a chredwn fod y testyn yn gywirach na'r darlleniad hwn. Nid oedd Milton wedi ei eni—ac ni anwyd ef am dros 200 mlynedd—ond y "Briltwn" hwn oedd John o Bridlington, fel y tybiwn; at yr hwn y cyfeiriwn yn ein sylwadau arweiniol i Cywydd Rhif XX.

[1] "Taliesin ddewin ai ddysg
a Merddin yw fy mowrddysg.—*Glan. MS.*

"Taliessin ddewin am ddisg/
a merddin, iw fy mowrddisg."
*Ty'nybraich MS.*

[2] "Gwersi Thomas vrddassawl
a wyr terfyn hyn o hawl."
*Ty'nybraich MS.*

Cyfeirir yma at Thomas Becket, neu Thomas à Becket, Archesgob Caergaint yn nheyrnasiad Harri II. Llofruddiwyd ef Rhagfyr 28, 1170; ac ystyriai y werin iddo farw fel merthyr. Canoneiddiwyd ef ym mhen dwy flynedd ar ol hyny; ond tynwyd ei enw ymaith o'r Calendar yn amser Harri VIII.; pa fodd bynag, y mae y Pabyddion yn parhau i gadw "Dy'gwyl S. Thomas, Archescob Cantwari a Merthyr." Medrai Becket hefyd broffwydo. Proffwydodd yng nghylch rhyfeloedd oedd i gymmeryd lle rhwng Lloegr, Ffrainc, a Holland; ac y mae Iolo Goch yma yn gosod sel ei gadarnhad arnynt. Gwelwn, felly, fod Proffwydoliaethau Becket—y rhai nis gallasent fod yn argraffedig—yn hysbys ar ddechreu y bymthegfed ganrif. Ni chyhoeddwyd hwynt hyd 1666, pryd yr argraffwyd hwynt yn Llundain, yn y ffurf o bamphledyn 4 plyg, dan yr enw "*The Prophecie of Thomas Becket, Archbishop of Canterbury, in the Reign of Henry II., concerning the wars between England, France, and Holland.*"

[3] "Y Baedd dinerth i weithred
ai fodd cria o fodd cred."
*Glan. MS.*

"Y Baedd diwarth weithred
a i fedd Crist, o fodd Cred."
*Ty'nybraich MS.*

Y "Baedd" oedd Harri IV.; a gallwn dybied fod yn y llinellau hyn, a'r rhai dilynol, gyfeiriad at ymweliad Manuel II., ymherawdwr Constantinople, â Llundain tua diwedd y flwyddyn 1401, er ceisio cynnorthwy Harri yn erbyn y Tyrciaid oedd yn gorthrymu y Cristionogion yn y Dwyrain. Cafodd yr ymherawdwr dderbyniad croesawgar gan Harri, a rhyw gymmaint o arian; ond nid oedd y Brenin, gan fod ganddo ddigon o waith oddeutu cartref, yn alluog i estyn unrhyw gynnorthwy arall. Mewn llythyr a anfonodd yn ddiweddarach at Dywysog Abkasia, dywedai Harri ei fod yn awyddus am ymweled â'r Bedd Sanctaidd, a gobeithiai dalu

I wlad r dial brad bron
i wir dduw ar eiddewon[1]
i ynill o berffeithoes
o angred i gred y groes[2]
gwn a dderfydd gar gwydd gwin
ir baedd deilynga byddin[3]
yngwlad arall ni ffalla
drigaredd a diwedd da[4]
ar ol hyn gwn gywydd
gwn hefyd pa fydr a fydd[5]
gwybod mae hyn ywn gobaith
gwyn i fyd gwendyd or gwaith[6]

Iolo Goch ai Kant.

ei wasanaeth yn y lle hwnw yn bersonol cyn marw. (*Wylie's Hen. IV.*, vol. i., pp. 156-67, and 321). Proffwydodd rhywun hefyd y byddai iddo farw yn Jerusalem; ac er gwirio y broffwydoliaeth, mae'n debyg, y galwyd y gell lle y gosodwyd ei gorff, yn Westminster, yn *Jerusalem Chamber* (*Comp. Hist. Eng.*, vol. i., p. 552). Ni fu dim ychwaneg na hyn yna o berthynas rhwng Harri â'r dwyrain; ond ymddengys i ymweliad Manuel â Llundain fod yn foddion i chwedl gael ei lledaenu y bwriadai ymuno â'r Groesgâd; a thybiwn mai hyny a achlysurodd i Iolo gyfansoddi y rhan hon o'r cywydd.

1 "I wlad i ddial brad bron
i wir Dduw ar Iddewon."
*Glan. MS.*
"Ir wlad i ddial brad bron
i wirdduw, ar i ddewon."
*Ty'nybraich MS.*

2 Nid ydyw llin. 77-78 yn *Glan. MS.*; ond cytuna *Ty'nybraich MS.* â'r testyn.

3 "Gwn na dderfydd gorfydd
ginc
i'r Baedd deilynga Byddinc."
*Glan MS.*
"Gwnu dderfydd, i Gaerwydd
gwyn
ir Baedd teilynga byddin./"
*Ty'nybraich MS.*

4 "Y ngwlad arall ni phalla
drugaredd a diwedd da."
*Glan. MS.*
"Yngwlad arall ni ffalla
trigaredd, a diwedd da."
*Ty'nybraich MS.*

5 "Yn ol hwn gwn geufydd
gwn hefyd par fyd fydd."
*Glan. MS.*
"Ar ol hwn gwn gynydd
gwn hefyd pa fyd a fydd."
*Ty'nybraich MS.*

6 "Gwybydd mae hyn yw'r
gobaith
ag hefyd gwynfyd yw'r
gwaith."—*Glan. MS.*
"Gwybydd, mae hyn iw gobaith
mae gwnfyd Gwenddydd iwr
gwaith."
*Ty'nybraich MS.*

# XX.

## BRUD.

---

*(O'r Add. MS., 14,887, fol. 63b).*

Y mae y cywydd hwn i'w weled hefyd mewn ysgriflyfr perthynol i Mr Robert Evans Jones, Ty'nybraich, Dinas Mawddwy, fol. 11b.

Fe welir fod y cywydd hwn a'r un dilynol iddo mewn rhan yr *un*. Y mae y 18 llinell blaenaf yn hwn a'r 40 llinell blaenaf yn hwnw yn hollol wahanol, ond y mae y ddau oddi yno i'r diwedd yn cytuno, oddigerth fod yn yr olaf ddwy linell—neu olion dwy linell—yn fwy nag sydd yn hwn. Ac yn ein tyb ni, perthyn i'r cywydd hwn, ac nid i hwnw, y mae y rhan a geir ar y diwedd—neu y rhan a gyssylltir â'r ddau. Gwelir hyny yn amlwg, feddyliem, wrth gymharu y llinell gyntaf:—"Brawd llid urddas llwyd urddol," gyda'r llinellau terfynol, yn enwedig llin. 58:—"llais y brawd Sais bryd Sant." Pwy oedd y "brawd" hwn sydd fwy nas gallwn benderfynu i sicrwydd. Ond bron na feddyliem fod yma gyfeiriad at John, penaeth priordy Bridlington, yn rhanbarth ddwyreiniol Sir Gaerefrog. Iddo ef y priodolid rhyw rigymau Lladin, a gyfansoddwyd rywbryd cyn marwolaeth Edward, y Tywysog Du, a'r rhai a elwid yn "Broffwydoliaeth." Bu farw y Prior John o Bridlington tua diwedd teyrnasiad Richard II., a chladdwyd ef yn Beverley. Symmudwyd ei weddillion i Rufain, Mai 11, 1404, gan Archesgob Caerefrog ac Esgobion Durham a Carlisle, ym mhresennoldeb llawer o edrychwyr; ac yr oedd y gwyrthiau a wnaed ar yr achlysur yn lluosog!! Ond cyn i'w weddillion gael eu symmud, yr oedd ei "Broffwydoliaeth," yr hon oedd, o ran ei haneglurdeb, yn gyffelyb i "Ddaroganau" Myrddin, yn cael ei chredu fel Efengyl gan

y werin. Ac yr oedd y Brodyr Llwydion—mynachod o'r urdd Franciscaidd—ar ol marwolaeth Richard II.—yn cael digon o sail ym " Mhroffwydoliaeth " John o Bridlington y byddai i Richard ddychwelyd, a gwneuthur rhyfel yn erbyn Harri IV. Yr oedd y Brodyr hyn, y rhai oeddynt yn bleidwyr selog i Richard, ac yn fawr eu parch ym mhlith y werin, yn gwneuthur yr oll a allent i ledaenu y chwedl fod y brenin diorseddog yn fyw, a thrwy hyny yn creu ansefydlogrwydd a therfysg (Gwel *Wylie's Hist. Eng under Henry IV.*, p. 272 *et seq.*). Gan fod Harri IV. a'i bleidwyr yn ymddwyn tuag at y " Broffwydoliaeth " gyda dirmyg, ac yn carcharu y Brodyr Llwydion a'i lledaenent, sylwa Iolo Goch yn briodol yn y cywydd hwn (llin. 62) na " chred Sais llais y llall " rhagor " proffwyd o Gymro llwyd llon " (llin. 52). Darogan yn yr un cyfeiriad â John o Bridlington y mae Iolo; ond fod ei broffwydoliaeth ef yn dal perthynas â Chymru ac Owain Glyndwr; a gallem dybied i'r cywydd hwn gael ei gyfansoddi rhwng 1400 a 1403.

Brawd llid urddas llwyd urddol
Sais awnaeth bod sias yn ol[1]
Darllenais daliais Duw lwyd
llafyr praff yn llyfr proffwyd[2]
pryffydoliaeth praff deilwng
fflowrddylis a na blemis blwng[3]

[1] " Brawd llwyd llid urddol
Sais a naeth bod Sias yn ol."
*Ty'nybraich MS.*

O bosibl y defnyddir y gair " Sias " yma yn yr un ystyr ag y defnyddir ef gan Lewis Glyn Cothi (*Gwaith*, tudal. 17), i olygu *brwydr*, neu *ymladdfa* :—

" Tomas, rhwng y ddwy sias ddig,
Ab Rhosser a'r pâr ysig."

Fe allai fod y gair " sias " yn tarddu o'r gair Ffrancaeg *chasse*, neu *chase* yn Seisoneg—yn golygu hela, saethu, &c.

[2] " Darllenais lais, düw lwyd
llawr praff llyfr y proffwyd."
*Ty'nybraich MS.*

Y mae y bardd yn hòni yma y medrai ddarllen " llais duw lwyd " —hyny yw, y medrai broffwydo neu frudio.

[3] " Pryffydoliaeth praff deilwng
fflowr ddilis a wna blangr blwng."
*Ty'nybraich MS.*

fflowrddelis medd llyfr dilis daf
fal dien a flodeuaf[1]
keningliau aml yn amlwg
hefaid o ddrygiaid a ddwg[2]
ni bydd henydd o honyn
breniol y reiol yr vn[3]
brangk blin gorllewin lliwiaw
ir fflowrddelis dilis i daw[4]
eres o waith llownwaith llyr
esgysawl wrawl eryr[5]
yr hwn a gyrch or hen gan
ar tri llu or tir allan[6]
yna daw baedd llownwaedd llv
ai frydawg ar fradychv[7]
hwn a garwn ai gorug
trwy liw ffals traolew ffug[8]
y llew du yna llydan waedd
a yr bw oer ar y baedd[9]

[1] "Fflowr ddylis medd llyfyr dilis daf
fal deulen i blodeuaf."
*Ty'nybraich MS.*

[2] "Korn karw kras aml yn amlwg/
heuait/o/ddrygiaid a ddrwg."
*Ty'nybraich MS.*

[3] "Ni bydd heinydd /o/ honyn
breiniol yreiol yr vn."
*Ty'nybraich MS.*

[4] "Krank blin or Gorllewin yn llaw/
fflowr ddilis, dilis i daw."
*Ty'nybraich MS.*

[5] "Ers /o/ waith llowndaith llir/
estlyssawl wrawl Eryr."
*Ty'nybraich MS.*

[6] "Yr hwn a gyrch or hen gan
ar trillawr or tir allan."
*Ty'nybraich MS.*

[7] "Yna daw Baydd, llownwaedd llu
o frud awch/ i fradychu."
*Ty'nybraich MS.*

Y baedd oedd Harri IV. Gelwid ef, ond nid mewn gwawd, gan rai o grachfeirdd Seisonig ei oes yn "faedd māsnach"—"*the boar of commerce*" (*Wylie's Hist. Engl. under Hen. IV.*, vol. i., p. 19). Y mae y Canon Silvan Evans (*Geir. Cymraeg*, s.v. *Baedd*) yn dyfynu llin. 19-20 a 23-24 gan eu priodoli i Robin Ddu ab Siancyn; yr hwn, medd Owen Jones (*Geir. Cen. Cymru*, cyf. ii., tudal. 497) oedd o Ddeheubarth, ac yn blodeuo rhwng 1470 a 1510.

[8] "Yr hwn gwiriwn, ai gorug
trwy liw ffaelis, traelew ffug."
*Ty'nybraich MS.*

[9] "Y llew du, yna llydan waedd
a ur bw oer, ar y Baedd."
*Ty'nybraich MS.*

Y "llew du," mae'n debyg, oedd Owain Glyndwr; yr hwn oedd i greu "bw" (dychryn) ar Harri IV.

ag a fyn blaidd berthnudd borth
Gamber o ferch ag ymborth[1]
rhwydd o beth y rhydd y baedd
ar dduw yno orddinwaedd[2]
da hudol Duw ai hoedaf
pen fo addfed planed plaf[3]
byd rhyfal bid rhai ufudd
byd llai y gerdd bid llew o gudd[4]
byd glodaidd byd goludaed goluwaedd
Camber ar flaen ber y baedd[5]
Pan ddel kyw praffael proffwyd
llew du i ddwyn llownblu llwyd[6]
ni chaiff y baedd trawswedd trwch
oer lon iddo awr lonyddwch[7]

[1] "Ag a fun blaid, Barthiaid borth
Gamber/ o feirch ag ymborth."
*Ty'nybraich MS.*

Camber (*Text of the Bruts*, p. 60) oedd un o dri mab Brutus; ac o'r hwn y dywedir i'r Cymry hanu. Nid oes sail ddigonol i dybied ei fod amgen na dychymmygol; ond y mae Iolo yn ei ddefnyddio yma fel enw cynnulliadol ar y Cymry—gwasanaeth y rhai a fynai—neu a hawliai—i Owain Glyndwr.

[2] "Ar dduw yna, oer ddiynwaedd' ydyw y darlleniad yn *Ty'nybraich MS.*, gyda "ddygnwaedd"—yr hyn, mae'n debyg, sydd gywir, ar ymyl y ddalen.

[3] "Da hudol, duw ai hoeda
hit pan fo addfed, playned pla."—*Ty'nybraich MS.*

A oes yma gyfeiriad at y Seren Wib (*comet*) a ymddangosodd yng gwanwyn y flwyddyn 1402?

[4] "Byd rhyfalch, bit rhai vfydd/
byd blag i geurdd, bit llew /o/ gudd."
*Ty'nybraich MS.*

[5] "Byd gwladaidd, bit goludwraedd
Gamber ar flaen bêr y Baedd."—*Ty'nybraich MS.*

[6] "Pan ddel kiw praff, fal proffwyd/
llew du i ddwyn llownblu llwyd."—*Ty'nybraich MS.*

Gallem dybied mai wrth "kiw . . . llew du" y golygai y bardd un o feibion Owain Glyndwr, oddi wrth yr hwn y dysgwyliai arddangosiad o gryn wroldeb.

[7] "Ni chaiff y Baedd, trowswaedd trwch
Oer len iddi, fawr lonydd wch."—*Ty'nybraich MS.*

Diammeu mai "oer lem iddo" a ddylasai fod—ymadrodd yn cynnwys dymuniad drwg, cyffelyb—ond i'r gwrthwyneb o ran ystyr lythyrenol—i "yn boeth y bo."

tair ewin blin yw ir blaid
a ddigia r baedd ai ddugiaid[1]
pan el rhuw adel rhydid
y baedd mawr ir llawr mewn llid[2]
porchell di efell deufaedd
ysa wyl y byd o wal y baedd[3]
fo ddaw in plith chwith ywr chwedl
dydd kwyn in diwedd kenedl[4]
ynol karol hepkoriaid
porchell yna pla pob plaid[5]
ar trechaf or tir uchel
hwnw ai gleddau biaur bel[6]
ni cherais Sais kroylais kreulon
broffwyd o gymro llwyd llon[7]
ni chred yn lledd ddiweddfab
yn fyr nar Eryr nar ab[8]

[1] "Tair ewin blin iw ir blaid
a ddigia y Baedd, ai ddig-iaid."—*Ty'nybraich MS.*

"ddigiaid = ddugiaid (*dukes*).

[2] "Pan el rhiw adel rhyttid
Y Baedd mawr, ir llawr ar llid."—*Ty'nybraich MS.*

[3] "Parchell diewell deufaedd
a wyl y byd, o wâl y Baedd."
*Ty'nybraich MS.*

At y tywysog Harri o Fynwy—wedi hyny Harri V.—y cyfeirir yma dan yr enw "porchell"; yr hwn, yn ol fel y sylwa Iolo, a ddeuai i'n plith. Ond gwyddom na phenodwyd y tywysog yn Rhaglaw ar Gymru hyd Mawrth 7, 1403; ac yn fuan wedi hyny aeth gyda nifer o filwyr i'r Dywysogaeth.

[4] "Fo ddaw ich plith chwith iwr chwedl
dydd kwyn, a diwedd kenedl."
*Ty'nybraich MS.*

[5] "Yn ol karol, heb gariad/
parchell yna, pla pob plaid."
*Ty'nybraich MS.*

[6] "Ar trechaf, or tir vchel
hwnw ai gledde, bie r bel."
*Ty'nybraich MS.*

Awgryma y bardd fod y tywysog Harri ac Owain Glyndwr i ymladd law yn llaw; ac fod y fuddugoliaeth (sef y "bel") i gael ei phenderfynu felly. O leiaf, fel yna y deallwn ni y llinellau. Yn 1400, gwnaed cynnygiad cyffelyb gan y Duc o Rothsay, dros Frenin Ysgotland, sef fod i Frenin Lloegr anfon o 100 i 300 o'i bendefigion i ymladd â'r un nifer o'r pendefigion Ysgotaidd; yr hyn, fodd bynag, a wrthodwyd. (*Wylie's Henry IV.*, vol. i., p. 138).

[7] "Ni chred Sais kroiwlais kreulon
broffwyd o Gymro llwyd llon."
*Ty'nybraich MS.*

[8] "Ni chred yn kleddyf diwedd-fab
ni fyn nar Eryr nar Ap."
*Ty'nybraich MS.*

Tybiwn mai yr *Eryr* oedd Owain Glyndwr.





ni chred rholed yr hwylwynt
werth /r/ angel heb gel gynt[1]
ni chred gwiried gwarant
llais y brawd sais bryd sant[2]
ni chred y sais drais i drosi
llais neb a nel lles i ni[3]
purdan engl pardwn angall
pan na chred sais llais y llall[4]

Iolo Goch ai Kant.

[1] "Ni chred i weled, rhwylwynt
Wersi r Angel, heb gel gynt."
*Ty'nybraich MS.*

[2] "Ni chred gowred gwarant
llais y brawd, Sais bryd sant."
*Ty'nybraich MS.*

[3] "Ni chred Sais, drais drossi
llais neb, a wnel lles i ni."
*Ty'nybraich MS.*

[4] "Purdan yngel, pardwn Angall/
pan na chred Sais, llais y llall."
*Ty'nybraich MS*

## XXI.

### COWYDD BRYD.

---

*(O Glanyrafon MS. H., p. 77).*

Yn *Add. MS.*, 14,887, fol. 34*b*, ceir cywydd, heb yr un penawd, wedi ei arwyddo gan "Davydd lloyd ai Kant," yn cynnwys 92 o linellau; ac y mae y rhan gyntaf o'r cywydd hwnw yn cyfateb i'r rhan gyntaf o'r cywydd hwn. Hyd nes y darllenir at llin. 44 yn y cywydd hwn, nid ydym yn cael dim nad ydyw i'w gael hefyd yn y cywydd hwnw; ond y mae yn y rhan gyntaf o'r cywydd hwnw 30 o linellau nad ydynt yn hwn—wedi eu cymmysgu megys ar ddwywaith rhwng y llinellau—gwel llin. 15 a 29. Yn y cywydd a briodolir i Davydd Lloyd, ceir 18 o linellau ar ei ddiwedd heb fod dim yn debyg ynddynt i'r 46 (44 mewn gwirionedd) a geir ar ddiwedd y cywydd a briodolir i Iolo Goch. Ond y mae y llinellau terfynol yn yr olaf (llin. 45-90) yn cyfateb i'r rhan olaf (llin. 19-62) o Gywydd Rhif XX. Wrth ddarllen y rhan gyntaf o'r cywydd hwn, nid ydym rywfodd yn cael lle i gredu fod a wnelo ddim â Iolo Goch. Y mae enw Iarll Warwic yn taraw yn ddyeithr yn llin 4, yn ei gyssylltiad ag Owain Glyndwr. Y mae yn wir yr enwir rhyw Owain amryw weithiau yn y cywydd a briodolir i Davydd Lloyd; ond nis gwyddom yn iawn pa Owain ydoedd, os nad Owen Tudur. Ond nid oedd hwnw—mwy na Owain Glyndwr, yn "Owain wyr Owain"—fel y dywedir ar ei ddiwedd. Gwyddom, fodd bynag, fod Dafydd Llwyd ab Llywelyn ab Gruffydd, o Fathafarn, yn bleidiwr gwresog i Iarll Richmond (Harri VII. wedi hyny)—ac ymddengys i ni mai efe, tua therfyn Rhyfeloedd y Rhosynau, a gyfansoddodd yr oll o'r cywydd a geir yn *Add. MS.*, 14,887—yr hwn a ddyfynir genym ar waelod y tudalenau canlynol. Os felly, nid ydyw

y rhan flaenaf o'r cywydd hwn (llin. 1-44), ond gwaith Dafydd Llwyd wedi ei osod gan ryw gopïwr diofal o flaen dernyn olaf cywydd o waith Iolo Goch—sef rhan o'r cywydd blaenorol (Rhif XX). Os ydym yn gywir yn ein dyfaliad, nid oedd a wnelo Iolo ond â'r rhan olaf (llin. 45-90) o'r cywydd hwn. Ar yr un pryd, tybiasom mai gwell oedd rhoddi yr oll o hono i mewn fel y mae yn ysgriflyfr Glanyr-afon, er fod y dernyn perthynol i Iolo yn fwy cyflawn yn Cywydd Rhif XX.

Dall o beth yw dull y byd
a beius iawn yw yn bowyd[1]
bryd ar dwyll maer bradwyr dîc
yn aros henwi Warwic[2]
tarw dà a gais dir i dad
tarw yn arwain kyrne dirawd[3]
kwyno twyll o fewn y llwyni
yn un iaith i maen . l . ni[4]
ymaros am rhai meiwrwon
ymma i dir mi a wn i don[5]

[1] "Dall o beth yw dvll y byd
a bevs iawn ywn bowyd."
*Add. MS.*, 14,887.

[2] "Bryd ar dwyll mae bradwyr dig
yn aros enw Warwig."
*Add. MS.*, 14,887.

Gellid meddwl mai cyfeiriad a geir yma at Richard Neville, Iarll Warwic, yr hwn, ar ol bod yn un o bleidwyr gwresocaf yr Iorciaid, a wrthgiliodd i bleidio achos Margaret o Anjou, ond a drodd drachefn i ffafrio Edward IV. Ganwyd ef oddeutu 1420; a lladdwyd ef ym mrwydr Barnet, Ebrill, 1471. Dichon, y mae'n wir, mai cyfeiriad sydd yma at ryw Iarll Warwic, yr hwn oedd yn cydoesi âg Owain Glyndwr, ac mai Iolo Goch oedd awdwr y llinellau hyn wedi'r cyfan. Ond y mae cryn anhawsder ar ffordd y dybiaeth.

[3] "Tarw du a gais tir i daid
koron arwydd kyrn euraid."
*Add. MS.*, 14,887.

Yr ydym yn analluog i ddyfalu pwy oedd y "tarw du." Sylwasom eisoes fod Dafydd Llwyd yn bleidiwr gwresog i Henry, Iarll Richmond (wedi hyny Henry VII.), ond prin y mae y dysgrifiad yn ateb.

[4] "Llunio twyll mewn llwyni
am yn Iaith y maen i ni."
*Add. MS.*, 14,887.

[5] "Ymaros am rai meirwon
yma i dir mi a wn y don."
*Add. MS.*, 14,887.

pan ddel y gwyddyl eilwaith
Dros y mor ymdrwssio maith[1]
o fanaw i Dyfynir
y marw o dwyll mawr i dir[2]
[3]ar ych hen ar awch hynnod
ar dwr noeth y ddaw ir nod[4]
ag yma ir a gwn yr ych
yn darw anian dewrwych[5]
. . . . . un iaith
. . . . . yro kaith[6]
. . . . . i ben
. . . . . figen[7]
nodais nid wyf anwadal
y doe i dwyll yn i dal[8]

[1] "Pen ddel y gwyddel eilwaith
dros y mor ymdrwsio maith."
*Add. MS.*, 14,887.

[2] "O fanaw y dyfynir
y marw o dwyll mawr i dir."
*Add. MS.*, 14,887.

[3] Yn blaenori llin. 15 ceir y llinellau a ganlyn yn *Add. MS.*, 14,887 :—

"Ir daith mi a wn y don
haid o draturiaid dewrion
ag ir gaer lle i bu /r/ ayrfa
y devan dyrogan da
or gaer ir maes y gored
y ra r llv mawr ar lled
ac o ddyna i rosmant
i ryd y tyfod ir ant
a llv gwyn llew a gwenol
a ddaw i rhyd yn dda i rhol
yna y daw baedd kynefin
ar wedd y dreigwedd ir drin
ar faner gan ofni /r/ gad
a ddwg Owain yn gaiad
ar llew koch mewn evrlliw kan
ar dragwn ywr dyrogan
twrw a nerth yn lle i taria
kyfarfod yn y nod a wna
ymdrechu a wna devlv dig
yn wrol yno orig
hyd na wyddan syfyrdan ʒon
pwy /r/ gwr peav /r/ goron
hyd pen ddel or gorllewin
y marchog tramwyog trin
ar kleddav or deau dir
gwiliwn yna i gwelir
yn lladd pob gradd a nasvn
o dair iaith ni edir vn"

[4] "Ar ych hen ayrwych hynod
a dvr noeth o daw ir nod."
*Add. MS.*, 14,887.

[5] "Ag ni ery gwn yr ych
gan darw anian dewrwych."
*Add. MS.*, 14,887.

[6] "Ar oen yn llew aur in Iaith
yno pen fo/r/ kyffero kaith."
*Add. MS.*, 14,887.

[7] "Ar balch a osdwng i ben
a fagodd y genfigen."
*Add. MS.*, 14,887.

[8] "No dais ni dwg anwadal
y daw i dwyll yn i dal."
*Add MS.*, 14,887.

Dan draed ir a yn y drin
ar i wared ai werin[1]
ar ffo i dda or ffair ddig
o ddyrrys ni ddaw orig[2]
[3]hwn a bair tan ymanaw
a dal drwg i ddulun draw[4]
Owain a adweinir yno
fy ner wrth i faner iw fo[5]
hwn ywr keliog o emrais
o sorres ef ni erys Sais[6]
Dylyna hwynt yleni
Dros y dwr ymdrwssia di[7]
Dos ir werddon or unwaith
Dulun un diail yn iaith[8]
a llosg Ddulun fun uner
ar dy naid er Duw o ner[9]
yna i kai enw ai kant
da yw geni y digoniant[10]
. . . r chweched o werddon
na tharia yn hwy eithyr yn hon[11]

[1] "Dan draed y ra yn y drin
ar i wared ai werin."
*Add. MS.*, 14,887.

[2] "ar ffo adda or ffair ddig
yn ddyrys ni ddaw orig."
*Add. MS.*, 14,887.

[3] Yn blaenori llin. 29 yn *Add. MS.*, 14,887, ceir :—
"Gwadd a ddaw medd gwiw ddysg
ar dorfoedd a wna derfysg."
*Add. MS.*, 14,887.

[4] "Hwn a bair tan ymanaw
a ddvlin drwg i ddvlyn draw."
*Add. MS.*, 14,887.

[5] "Owain adweinir yno
ar faner wrth i fan fo."
*Add. MS.*, 14,887.

[6] "Hwn ywr keliog a henwais
o ssorres ef nid ery Says."
*Add. MS.*, 14,887.

[7] "Dylynar yntw leni
dros y dwr ymdrwsia di."
*Add. MS.*, 14,887.

[8] "Dos i werddon ar vnwaith
a dilin dig dial yn faith."
*Add. MS.*, 14,887.

[9] "A llosg ddvlvn yn y nef
ar dy naid ir duw nef
*Add. MS.*, 14,887.

[10] "Ac yno i kai gwn ai kant
da yw geny y digoniant."
*Add. MS.*, 14,887.

[11] "Ti yw chwched o werddon
na tharia yn hir ni thery hon."
*Add. MS.*, 14,887.

[1]Yno dawr baedd . . .
o fryd . . . . . .
yr hwn . . . . . .
Drwy liw . . . . . .
llew du . . . . . .
a yr bw . . . . . .
ag a fyn blaid borthiaid borth
gamber o feirch ag ymborth
rhwydd o beth a rydd y baedd
ar ddûw yna orddinwaedd
Da hudol Duw ai hoeda
pan fo addfed plaened pla
byd rhyfalch byd rhai ufydd
byd llai o gerdd llew o . .
hyd wledydd bydd golyd .
gamber o flaen ber y baedd
pan ddel kiw praff fal proffwyd
llew du i ddwyn llownblu llwyd
ni chaiff y baedd trowswaedd trwch
fowrlon iddo fawr lonyddwch
taeir ewin blin tew ywr blaid
a ddigiar baedd ai ddugiaid

[1] Y mae y Cywydd hwn o llin. 55 i'r diwedd yn cyfateb i llin. 19-62 yn Cywydd Rhif XX., gyda'r eithriad fod *olion* dwy linell yn ychwaneg yn hwn nag sydd yn hwnw—sef llin. 73-74. Yn y copi o'r cywydd a geir yn *Add. MS.*, 14,887, nid ydyw yn cytuno â'r un a geir yn *Glanyrafon MS.*, *H.*, ym mhellach na hyd llin. 44, gan ei fod o hyn i'r diwedd fel y canlyn :—

"May r wadd wedi groni
eithyr hyn ni tharia hi
dyred ar gwyddyl gwlldion
a thir mawr a theirw Mon
a gyr feilch a ffeils i fo
y sy yn daros i dirio
Dilin y Sayson dilwydd
garw i farn a gyr oi swydd
gwn nad oes oi hoes hwy
yma drimis i dramwy
gwyl bedyr i kair edrych
ar gyfarth rhwng yr Arth ar ych
ar ych ai dilin ar ol
ar Arth a yr, ar wrthol/
Owain wyr Owain o fon
a gwnkweria gan koron
hwn yw fv y nol yn Iaith
a wna yn ynys yn vn Iaith
Davydd lloyd ai kant."

pan ddel rhuw adol rhyd .
y baedd mawr ir llawr . .
porchell di etell deufae .
. . . . . . .
. . chwith ywr chwedl
. . . . kenedl
. . . . . . .
. . . . . . .
. . . . . . .
. . . . . pob plaid[1]
ar trechaf o'r tir uchel
hwnnw ai gleddau y piau'r bel
ni chred Sais kroywlais kreylon
proffwyd o gymro llwyd llon
ni chred yn lleddf ddewedd fab
yn fyrr nar Eryr nar ab
ni chred rholed yr hwylwynt
wersi yr Angel heb gel gynt
ni chred gowired gwarant
llais y brawd Sais oedd brud Sant
er na chred Sais drais drosi
llais neb a wnel lles ini
Purdan engil pardwn angall
pan na chred Sais lais y llall.

Terfyn 1400

Iolo Goch ai kant.

[1] Er gwneyd y diffygion i fyny, cymharer y llinellau gyda'r rhai cyfatebol yn Cywydd Rhif XX.

# XXII.

## *CYWYDD I RYFEL YR HERBERT.

---

*(O'r Piser Hir, p. 450).*

Ceir ef hefyd yn *Add. MS.*, 14,866, fol. 48, dan y penawd "Cywydd i Syr William harbart, pan ddanfoned ef gan Ed. 4 yn erbyn Dauid ap Ieuan ap Einion ac yn erbyn Conwy a Dinbech 1461;" ond ar ddiwedd y cywydd yn yr ysgriflyfr hwnw dywedir fel hyn:—"Gytto or Glyn ai cant a llawer o gerdd dda arall ir gwr hwn." Ac yr ydym yn cymharu y darlleniad hwnw gyda'r cywydd fel y mae yn *Y Piser Hir*. Y mae yn argraffedig hefyd yn *The Records of Denbigh*, pp. 202-3, lle ceir "Gutto'r Glynn A.D. 1468" ar ei ddiwedd.

Buom mewn peth petrusder a roddasem y cywydd hwn i mewn ai peidio, o blegid, pwy bynag oedd yr awdwr nis gallai mai Iolo Goch ydoedd—hyny yw, os cyfansoddwyd ef ar yr achlysur a nodir uchod. Ond rhag ofn i rywun a'i gwel yn *Y Piser Hir*, gydag enw Iolo Goch wrtho, yn ddifeddwl ei briodoli iddo, yr ydym yn ei roddi i fewn er mwyn cael cyfleusdra i gywiro y camgymmeriad.

Yr oedd Syr William Herbert, yn ol golygwyr Lewis Glyn Cothi, yn Gymro o enedigaeth, iaith, a disgyniad; ac yr oedd yn bleidiwr selog i dŷ Caerefrog. Ar y cyntaf o Fai, 1461, penodwyd ef gan Edward IV. yn brif farnwr ac ystafellydd Deheudir Cymru; ar y 4ydd o Dachwedd, yn yr un flwyddyn, gwnaed ef yn farwn; ar y 3ydd o Chwefror, 1462, rhoddwyd iddo gastell, tref, ac arglwyddiaeth Penfro; yn 1463, gwnaed ef yn ynad heddwch dros sir Feirionydd; ac yn 1467, penodwyd ef yn brif ynad Gogledd Cymru am ei fywyd; ar y 27ain o Fai, 1468, gwnaed ef yn iarll Penfro—ac efe oedd y Cymro cyntaf er darostyngiad Cymru gan

Edward I., a gafodd y teitl hwnw. Yr oedd yn un o'r rhai a gymmerwyd yn garcharorion ym mrwydr Banbury, Gorphenaf, 1469; ac yn fuan ar ol hyny torwyd ei ben yn Danesmore. Ceir câñ iddo gan Lewis Glyn Cothi (*Gwaith*, tudal. 58).

Dengys yr amseriadau uchod mai nid Iolo Goch oedd awdwr y cywydd. A'r tebygolrwydd ydyw mai Guto'r Glyn, yr hwn oedd yn gydoeswr â Lewis Glyn Cothi, a'i cyfansoddodd.

Tri llu aeth o Gymru[1] gynt,
Trwy Wynedd y trawenynt;[2]
Llu'r Pil, llu Arglwydd William,
Llu F'ewynt[3] bu hwynt ba ham;
Tair ffordd clawdd tir Offa hên,
Siwrnai William sarn Elên,[4]
Arglwydd Herbert a'i barti,[5]
A'th luoedd Duw a'th lwydd di;
Glew wyt a gai lu ag ost,
Hin dda weithian pan ddaethost;[6]
Dewinais y doi Wynedd,[7]
A dwyn Môn i'r dŷn a'i medd
Lloegr pawb a roi eu llygaid,
O cheisiwch Harddlech o chaid;[8]

[1] "Gymbru."—*Add. MS.*, 14,866.

[2] "Trywenynt." — *Add. MS.* Trawenu = *to pass over*.

[3] "Fiewnt"—*Add. MS.*; "Vepwnt"—*Rec. of Denbigh*.

[4] Elen Llwyddawg, gwraig Macsen Wledig. Dywedir ym "Mreuddwyd Macsen Wledig" (*Mabinogion*, Oxford edit., p. 89) i Elen feddwl gwneuthur prif ffyrdd o bob caer i'w gilydd ar draws Ynys Prydain. Gwnaed y ffyrdd, a galwyd hwynt ar ei henw. Gelwid Sarn Helen yn *Via Occidentalis*; ac arweiniai o Gaerfyrddin, trwy Sir Aberteifi, heibio Mawddwy, i Domen y Mûr, lle yr ymunai â ffordd arall--y *Western Watling Street*—gan gyfeirio am Gaernarfon.

[5] "Ath gerti."—*Add. MS.*

[6] "Glaw gynt a gae lu ag ost
hindda weithian pan ddeuthost."—*Add. MS.*

[7] "Dewinais i tage Wynedd."
*Add. MS.*

[8] "Berw lloegr pawb a roi i llygaid,
pan geissiech Hardlech o chaid."—*Add. MS.*

Chwedl Bonfras o gâs i gŷd
Blaenfain fu bobl ynfyd;[1]
Chwedl Blaenfain uwch brain bro
Bonfras Arglwydd ar Benfro;[2]
Pan friwed un Penfro dêg
Pa well Castell rhag gosteg;[3]
Bwriaist ysgydwaist godwm,
Ben Carreg† Cenneg i'r Cwm;[4]
Ni ddaliawdd ei chlawdd achlan,
Uwch Harlech mwy na chorlan;[5]
Ni phery na thŷ na thwr,
Na chan caer na choncwerwr,[6]
Tair câd aeth or tair-gwlad[7] tau,
Trwy Wynedd fel taranau;
Tair plaid yn Gatoniaid tyn,
Tair mil naw mil yn Nywmyn;[8]
Dy frodyr milwyr y medd,
Dy genedl, Deau, Gwynedd;[9]
Dy werin oll dewrion ynt,
Drwy goedydd dreigiau ydynt;

†q. Castell Carreg Cennen, yn Sir Gaerfyrddin.

1 "Chwedl bomfras o gas y gyd
blaenfain oedd ir bobl ynfyd."
*Add. MS.*

"Bonfras" mewn gwrthgyferbyniad i "Blaenfain," mae'n debyg.

2 "Chwedl blaenfain nis train ach tro
bonfras arglwydd o Benfro."
*Add. MS.*

3 "Ba well castell rhag gosteg
ban fwrie wal benfro deg."
*Add. MS.*

4 "Bwriaist ergidiaist godwm
beñ carreg cymeñ i'r cwm."
*Add. MS.*

5 "Ni ddaliawae nai glawdd yslan
ywch harddlech mwy no *herddlañ*."—*Add. MS.*

6 "Nis eris na thu na thwr
na chan-caer na chwngnerwr."
*Add. MS.*

7 "Teirgwlad."—*Add. MS.*

8 "Teirplaid yn gâpteinieid ynn
teirmil nawmil yn gowmyn."
*Add. MS.*

Gwelwn y gair *Caten* am *gapten* yn *Balliol MS.*, 353, fol. 6:—"a Darothe gwreic Latham oed Sargeant or Caten yr brenin Harri viiith."

9 "Dy genedl i doi Gwynedd."
*Add. MS.*

Dringai lle nid elai da,
Dy rwydd-feirch dorr y Wyddfa ;[1]
[2]Tros greigiau mae d'olau di,
Tir âr y gwnait Eryri ;[3]
Da y mynnaist dymun-waith,
Drwy lâdd ag ymladd fu'a gwaith ;[4]
Dyrnod an-ufudd-dod fu,
Darnio Gwynedd ai dyrnu ;
O bu'r tir Herbert wrawl,
Heb gredu'r modd y bu'r mawl ;[5]
E fu ar bawb feio'r bŷd,
E ddifeiodd ei fywyd ;[6]
Fo â ar ffo feuor ffydd,
Ag o phaid e gaiff fedydd ;[7]
Chwithau na fyddwch weithian,
Greulon wrth ddynion â thân ;
Na lâdd weilch a wnai wledd ynn,
Gwynedd fal Pedr y Gwenyn ;[8]
Na fwrw dreth ar dy fro draw
Na allant ei chynnullaw ;[9]
Na friw Wynedd yn frynar,[10]
Nad i Fôn fyned i fâr ;
Nad y gweiniaid i gwynaw,
Na brâd na lledrad rhag llaw ;[11]

[1] " Dringai lle nid elai'r da
d' *orwyddfeirch* dorr y widd-
fa."—*Add. MS.*

[2] Yn blaenori y llinell hon yn *Add. MS.* ceir :—
" Torres dy wyr mewn tair *stal*
trwy weunydd tiroedd ynnial."

[3] " Dros greigiau mae dolau di
tir âr i gwnayt Eryri."
*Add. MS.*

[4] " Od emynaist Dân ennyd
drwy ladd ag ymladd y gyd."
*Add. MS.*

[5] " Heb gredu, fal i bu bawl."
*Add. MS.*

[6] Nid ydyw y ban hwn yn *Add. MS.*

[7] " A vu ar fai ar var fudd
o ffaid e a gaiff fedydd."
*Add. MS.*

[8] " Pedr y gwenwynn."
*Add. MS.*

[9] " Na fwrw dreth yn y fro draw
ni aller i chynnyllaw."
*Add. MS.*

[10] " Yn franar."—*Add. MS.*

[11] Nid ydyw y ban hwn yn *Add. MS.*

Nad trwy Wynedd blant Rhonwen[1]
Na phlant Hors yn y Fflint hên
Nad f'arglwydd un swydd i Sais
Na'i bardwn i un Bwrdais;[2]
Barna'n iawn Brenin ein iaith
Bwrw yn tân eu braint un-waith
Cymer wŷr Cymru'r awron,
Cwnstabl o Farnstabl i Fôn,[4]
Dŵg Forganwg a Gwynedd,
Gwna yn un Gonwy a Nedd;[5]
O digia Lloegr a'i Dugiaid,[6]
Cymru[7] a dru yn dy raid.

Iolo Gôch a'i cant.

1 Rhonwen, neu Rowena, oedd ferch i Hengist; â'r hon y syrthiodd Gwrtheyrn Gwrtheneu mewn cariad. Cymmerodd hi yn ordderch-wraig, a chafodd dri o blant o honi, sef Cyndeyrn, Gwrthefyr Fendigaid, a Pasgen (*Text of the Bruts*, pp. 135-8).

2 "Na ad farglwydd swydd i Sais
nai bardwn i un bwrdais."
*Add. MS.*

3 "Barna yn iawn brenin yr iaith
a bwrw'n tan i braint un-waith."—*Add. MS.*

4 "Kymer wyr Kymry'r rowron
Kwnstabl o varnstabl i fôn."
*Add. MS.*

5 "Drwy forganwg a Gwynedd
a gwna yn un o Gonwy i Nedd."—*Add. MS.*

6 Ceir llinell gyffelyb yn Cywydd Rhif XX., llin. 40:—
"A ddigia r baedd ai ddugiaid."

7 "Cymbru."—*Add. MS.*

# CANIADAU CANMOLIAETHOL A MARWNADOL.

## XXIII.

### ARAITH I DDAFYDD AP BLEDDYN AP ITHEL LLWYD AP ITHEL GAM ESGOB LLANELWY 1314.

Succeeded by T. Trevor 1352.

---

(*O'r Add. MS., 14,964, fol. 63*).

Y mae i'w gweled hefyd yn y *Delyn Ledr* (*Add. MS.*, 14,873); ond nid oes ond ychydig wahaniaeth rhyngddynt. A dywedir yng nglŷn â'r penawd iddi gael ei chymmeryd allan o'r *Delyn Ledr.*

Yr oedd Dafydd ap Bleddyn yn aelod o deulu pendefigaidd a chyfoethog, fel y gwelir yn yr achau canlynol, a gymmerwyd o *History of Powys Fadog,* vol. iv., p. 154:—

Uchdryd ab Edwin ab Goronwy = . . . . merch Rhys Sais ab Ednyfed, Arglwydd Castell y Waun.

Maredydd, Arglwydd Mostyn =

Ithel Gam, Arglwydd Mostyn =

Ithel Llwyd, Arglwydd Mostyn = Margaret, merch Hwfa ab Iorwerth ab Ieuaf ab Niniaf.

Ithel Fychan, Arglwydd Mostyn. Yr oedd yn byw yn Ewlo Castle, a gwnaeth warogaeth am ei etifeddiaethau yn y flwyddyn 1300. = Alice, merch Richard ab Cadwaladr ab Gruffydd ab Cynan. | Bleddyn =

Tudor, Arglwydd Mostyn.

Ithel Anwyl, o Ewlo Castle. | Bleddyn Fychan. | Dafydd, Esgob Llanelwy.

Yn 1314, olynwyd Llywelyn ap Ynyr gan Dafydd ap Bleddyn fel Esgob Llanelwy; ac yn flaenorol i hyny yr oedd yn un o'r Canoniaid. Ar yr amgylchiad hwn defnyddiodd y brenin, Edward II., ei hawlfraint i enwi un Nicholas de Huyate (Wyatt ?) yn esgob, yr hyn a orfodai i Dafydd ap Bleddyn roddi iddo flwydd-dal o bump morc hyd nes y penodid ef i fywoliaeth eglwysig. Yn 1321, llwyddodd Dafydd ap Bleddyn gael gan yr un brenin, at ei wasanaeth ei hun a'i ganoniaid, y tollau a godid ar ffeiriau neillduol yn Llanelwy. Yn ychwanegol at gadarnhau y rhodd hon, caniatäodd Edward III. naw a deugain o erwau o dir, gwerth £20, yn y Dyserth, Dincolyn, Nannerch, Coedymynydd, a Rhywlyfnwyd, iddo. Cymmerodd feddiant hefyd o Nantglyn er ychwanegu at gyllid yr Eglwys Gadeiriol, tuag at gynnal deg o ficeriaid, a thuag at weinyddu gwasanaeth yr offeren ddwywaith yn ddyddiol yn y capel oedd newydd gael ei adeiladu ar yr ochr ddeheuol i'r Eglwys Gadeiriol—lle y cynhelir y Llys Esgobol yn awr. Yn amser Dafydd ap Bleddyn y casglwyd ac yr ysgrifenwyd yr ysgriflyfr a elwir "Llyfr Côch Asaph" (*Liber Ruber Assavensis*); yr hwn a gynnwysai weithredoedd yr Esgobion a chofnodion am elusenau yr esgobaeth. Y mae y llyfr gwreiddiol ar goll; ond y mae dwy adysgrif o ranau o hono ar gael, y naill yn Llyfrgell Peniarth, Sir Feirionydd, a'r llall yn y Llyfrgell Esgobol yn Llanelwy. Olynwyd Dafydd ap Bleddyn yn Esgobaeth Llanelwy gan John Trevor I., yn 1352 (*Thomas's Hist. Dioc. St. Asaph*, pp. 60, 61, 222). Gwelir fod "T. Trevor" yn y penawd yn wallus—"J. Trevor" a ddylai fod.

Y mae yr "Araith" ddilynol wedi ei chyfansoddi ar ffurf o ryw fath o Hir a Thoddaid, ond nid ydyw yn cyfateb i unrhyw fesur Cerdd Dafawd mewn arferiad cyffredin. Heb law hyny, y mae y gynghanedd yn nodedig o wallus, a'r llinellau yn aml yn rhy fyrion. Y mae yma ambell linell gywir, mae'n wir; ond yn lled eithriadol. Pa fodd bynag, y mae y bardd yn ceisio gwneyd iawn am ei ddiffygion

celfyddydol trwy bentyru digon o eiriau gwenieithus ar eu gilydd. Nid ydyw ei ganmoliaeth o'i wrthddrych mewn un modd yn brin. Y mae, yn y pennillion blaenaf, yn ei gyffelybu i luaws o gymmeriadau dysglaer—ond chwedlonol—y bummed a'r chweched ganrif. Cymmeriadau oedd y rhai hyn ag sydd yn cael eu portreadu fel ymgorfforiad o haelioni, dewrder, a doethineb; ond eto, yn ol Iolo Goch, yr oedd Dafydd ap Bleddyn wedi etifeddu eu holl rinweddau hwy yn ei berson ei hun.

Nid oes dim yn yr "Araith" ag sydd yn ein galluogi i benderfynu ei hamseriad; ond y mae yn amlwg iddi gael ei chyfansoddi rhwng 1314 a 1352; sef, pan yr oedd Dafydd ap Bleddyn yn Esgob Llanelwy. Ac, os cymmerir amgylchiadau ereill, megys oedran y bardd, i ystyriaeth, tybiwn y dylid gosod yr amseriad yn nes i 1352 nag i 1314.

1

Da iawn fu Fordaf[1] Naf nifeiriawg
Da fu Nudd[2] o fudd wrth anfoddawg
Da fu Run[3] ei hun fu heniawg o serx

[1] Y Mordaf y cyfeirir ato yma, yn ddiammeu, oedd Mordaf Hael; ac nid Mordaf, Esgob Bangor, yr hwn a aeth gyda Hywel Dda i Rufain yn y ddegfed ganrif. Penaeth oedd Mordaf Hael a flodeuai yn y bummed ganrif. Arweddodd fywyd crefyddol, a rhestrir ef ym mhlith y Seintiau Cymreig. Cyfeirir ato yn "Chwedlau'r Doethion" (*Iolo MSS.*, p. 253), fel y canlyn:—

"A glywaist ti chwedl Mordaf,
Oedd un o'r Triwyr haelaf?
O'r drygau gorau'r lleiaf."

Yn "Trioedd Ynys Prydain" (*Myv. Arch.*, p. 397), dywedir wrthym pwy oedd ei gymheiriaid mewn haelfrydedd:—

"Tri hael ynys Prydain a Rhyderch hael vab Tutual Tutclyt. a Nud hael vab Senyllt a Mordaf hael vab Serwan."

[2] Pendefig a flodeuai yn y chwechad ganrif oedd Nudd Hael, mab Senyllt ab Cedig. Rhestrir yntau ym mhlith y Seintiau Cymreig, a dywedir ei fod yn aelod o Goleg Illtyd. Ac os gwir a ddywedir mewn Triawd arall (*Myv. Arch.*, p. 408), gallasai yn hawdd fod yn hael, o blegid yr oedd yn berchenog ar ugain mil ac un o wartheg blithion.

[3] Yr oedd amryw yn dwyn yr enw hwn — Rhun mab Brychan Brycheiniog, Rhun mab Lleon Gawr, a Rhun mab, ac olynydd, Maelgwn Gwynedd. O bosibl mai at yr olaf y cyfeirir yma. Cyssylltir ef yn y Trioedd (*Myv. Arch.*, p.

Da fu Rydderx[1] gwr ardderxawc

2

Da fu Ruawnbefr[2] da fu Efrawg[3]
Da iawn fu Feiriawn[4], da fu Fwrawg[5]

396), gydag Owain ab Urien a Rhuawn Befr, yn un o'r "Tri Gwynndeyrn Ynys Prydein."

Cyfieithir y ddwy linell gan y Dr. Pughe (*Geiriadur*, s.v. "Heinniawg") fel y canlyn:—"Good was Rhun, who was himself *diseased* from love; good was Rhyzerç, a dignified man."

[1] Blodeuai Rhydderch Hael yn yr hanner olaf o'r chweched ganrif. Efe oedd brenin Brythoniaid Ystrad Clwyd, gogledd Lloegr, a phreswyliai yn Aclclwyd (Dumbarton yn awr). Cymmerodd ran ym mrwydr Arderydd, lle y gorchfygodd Aeddan Fradawg a Gwendoleu ab Ceidio.

[2] Rhuawnbefr oedd fab i Gwyddno Garanhir. Yr oedd yn un o arweinwyr brwydr Cattraeth, a chlodforir ef gan Aneurin am ei wrhydri yno. Lladdwyd ef mewn brwydr, a rhoddwyd ei bwysau o aur am ei gorff, o herwydd yr hyn y rhestrir ef yn y Trioedd (*Myv. Arch.*, p. 397) gyda dau ereill fel y canlyn:—

"Tri eur gelein ynys Prydein. Madawc uab Brwyn. a Cheugan Peillyawc. a Ruuawn Peuyr ab Gwydno."

Dywedir mai yr un oedd Gwyddno Garanhir a'r hwn a elwir mewn llyfrau diweddar yn Dewrarth Wledig, neu fel y gelwir ef yn y *Mabinogion*, Deorthach Wledic, a Dorarth Wledic.

[3] Efrog Gadarn, yr hwn a olynodd ei dad, Membyr, i orsedd Prydain. Yn ol Sieffre o Fynwy, gwr mawr, cadarn, a dewr oedd Efrog, a bu yn gwledychu ar ynys Brydain am ddeugain namyn un o flynyddoedd. Efe oedd y cyntaf, ar ol Brutus, a aeth â llynges i Ffrainc, lle yr ennillodd amryw frwydrau, ac a adeiladodd Gaerefrog ar ol dychwelyd oddi yno, Bu iddo ugain o wragedd, ugain o feibion, a deg ar hugain o ferched; ei fab hynaf oedd Brutus Tarian Las. Ac yr oedd yn gydoeswr â Dafydd brenin Israel (*Text of the Bruts*, p. 63; *Myv. Arch.*, p. 484).

[4] Yr oedd Sant yn y chweched ganrif, yr hwn oedd frawd i Einion Frenin, ac yn fab i Owain Danwyn, o'r enw Meirion. Yr oedd penaeth hefyd o'r un enw yn blodeuo yn y bummed ganrif, yr hwn oedd yn fab i Tybiawn ab Cunedda. Cafodd ei dad ei ladd tra yn brwydro yn erbyn y Gwyddelod, y rhai oeddynt wedi goresgyn Gwynedd. Ond ar ol i Meirion eu gorchfygu a'u hymlid ymaith, daeth i feddiant, yn hawl ei dad, o gantref Meirionydd.

[5] Mwrog — nawddsant Llanfwrog, ym Môn, a Llanfwrog, Sir Ddinbych.

Gwr coedd mwyn oedd Mynyddawg[1]—Eiddin
Da Gynir[2] dewin gair godidawg

3

Da fu Forier[3] hoywner muner manawg
Da fu Edwin[4] ddaw i'n Frenhin freiniawg
Goruxaf adaf barnaf Eudaf[5] oediawg

[1] Un o brif arwyr brwydr Cattraeth oedd Mynyddog Mwynfawr. Efe oedd pendragon y gogledd ar ol Urien Rheged; a myn rhai mai o'i achos ef a'i wraig yr ymladdwyd y frwydr grybwylledig (*Y Beirniad*, llyfr v., tudal. 139, 292); ond dywed Skene (*Four Ancient Books*, vol. ii., p. 369) mai ffugenw ar ryw berson adnabyddus oedd Mynyddog, yn golygu "gŵr o'r mynydd." Gelwir ef hefyd yn Mynyddog Eiddyn, neu *Eiddin* yn ol y testyn.

[2] Cynin oedd sant a flodeuai yn y bummed ganrif. Yn ol rhai yr oedd yn fab i Brychan, ond ŵyr yn ol ereill; a dywedir mai efe a sefydlodd eglwys Llangynin, yn Sir Gaerfyrddin. Hwyrach mai gwall ydyw *Gynir* am *Cynin.*

[3] Nis gwyddom pwy oedd Morier, os nad ffurf arall ydyw ar Morien. Yn y drydedd gyfres o'r Trioedd (*Myv. Arch.*, p. 405)—sef y gyfres leiaf ei gwerth o honynt—dywedir:—

"Tri Estron Deyrn ynys Prydain: Gwrddyled Gawr, a Morien Farfawc, a Chystenyn Fendigaid."

Diammeu mai at hwn y cyfeirir yn y "Gododin" (*Myv. Arch.*, pp. 8, 20) lle, mewn gwahanol ddarlleniadau, y gelwir ef yn Moryen, Emorem, a Morem.

[4] "Da fu Edwin Ddewin frenin freiniawg."—*Add. MS.*, 14,873.

Yr oedd yr Edwin hwn, fel y gwelir oddi wrth yr achres, yn un o hynafiaid Dafydd ap Bleddyn. Yr oedd yn Arglwydd Tegeingl, Sir Fflint, ac yn benaeth un o Bymtheg Llwyth Gwynedd. Mab ydoedd i Goronwy ab Einion ab Owen ab Hywel Dda (*Harl. MS.*, 1,969).

[5] "Goruchaf a Daf barnaf Eudaf oediawg."

*Add. MS.*, 14,873.

Ai tybed mai Eudaf, Iarll Erging ac Euas, oedd hwn? Os felly, cymmerodd feddiant o Goron Prydain, os gwir a ddywedir ym Mrut Sieffre o Fynwy, yn absennoldeb Trahaern, yr hwn a aethai gyda Chystenyn ar ryfelgyrch i Rufain. Pan ddychwelodd Trahaern bu llawer o ymladd rhyngddynt; ond y diwedd fu i Eudaf fradlofruddio ei wrthwynebydd. Daeth mor gyfoethog yn y diwedd fel nad oedd yn hawdd i'r un brenin ymryson ag ef. Cadwodd ei awdurdod hyd nes y daeth gwyr Rhufain, y rhai a'i cynghorasant i roddi ei ferch, Elen wrth ei henw, yn wraig i Macsen ab Llywelyn (*Text of the Bruts*, pp. 109, 115). Y mae y Brut ei hun yn llawer mwy chwedlonol na hanesyddol; ond y mae awdwyr diweddar yn ychwanegu ato. Dywed Rowlands (*Mona Antiq. Rest.*, p. 169) mai Elen Lueddog, neu Luyddawg, oedd

Da fu heb gelu Goel Gydebawg.[1]
Da fu Eiriol[2] enau eiriau oriawg
Ys gwell gar i Bell gŵr pwyllog—balxryw
Ni bu ei gyfryw llyw galluawg.

4

Os rhaid manegi pwy rhi yrhawg
Dafydd ap Bleddyn yw'r dyn doniawg

merch Eudaf; ond haera Thomas Stephens (*Beirniad*, llyfr v., tudal. 292) mai gwraig Mynyddog Eiddin (Gwel tudal. 271, *supra*) oedd merch Eudaf, ac nid gwraig Macsen Wledig. Ond, fel y gwelir oddi wrth y nodyn canlynol, nid ymddengys yn eglur pa Elen ydoedd, os oedd yn bodoli y gwbl.

[1] Coel Godebog, o Gaer Coelin, yr hwn a elwir weithiau yn Iarll Caerloyw, ydoedd fab i Tegfan ab Deheufraint, a Brenin Prydain dan y Rhufeiniaid yn y drydedd ganrif. Daeth i'r orsedd trwy ladd Asclepiodotus mewn brwydr; gwnaeth heddwch â Chysteint, y Rhaglaw Rhufeinig, yr hwn a briododd Elen ei ferch ef, o'r hon y cafodd Gystenyn Fawr. A'r Elen hon, yn ol Brut Sieffre, oedd Elen Llwyddawg (*Text of the Bruts*, pp. 107-8). Ond ym "Mreuddwyd Macsen Wledig" (*Mabinogion*, Oxford edit., pp. 87-91) dywedir mai merch i Eudaf oedd Elen Lwyddawg—gwraig Macsen Wledig.

[2] Ni wyddom am neb yn dwyn yr enw Eiriol. Ai nid gwall ydyw am Eidiol? Yn ol y chwedleuwr Sieffre o Fynwy, Eidiol Gadarn, iarll Caerloyw, oedd yr unig Frython a allodd ddianc o'r wledd drychinebus hono a gynhaliwyd "ym maes Kymry"—rhwng Hengist a'r Sacsoniaid a Gwrtheyrn a'r Prydeiniaid, yr hon a adwaenir wrth yr enw "Brad y Cyllill Hirion," pryd y llofruddiwyd 460 o'r rhai olaf. Pan welodd Eidiol pa fodd yr oedd y Sacsoniaid yn gweithredu, cymmerodd bawl cadarn yn ei law, gyda'r hwn y tarawai bob Sais a'i cyfarfyddai, hyd nes iddo ladd cynnifer a deg a thriugain o honynt. (*Text of the Bruts*, pp. 139-40, 160). Cyssylltir Eidiol Gadarn, gyda Gwrnerth Ergydlym a Gwgawn Lawgadarn, yn y Trioedd diweddaraf (*Myv. Arch.*, p. 407) fel "Tri Gyrddion ynys Prydain;" a'r orchest a wnaeth Eidiol i deilyngu yr anrhydedd hwn oedd lladd o'r "Saeson ym mrad Caersallwg chwechant a thrigain a chogail gerdin o fachlud haul yd yn nhywyll." Gwelwn felly fod deng ŵr a thriugain y "Brut," a ysgrifenwyd yn y ddeuddegfed ganrif, wedi cynnyddu yn fawr dan law ysgrifenydd y Trioedd. Ond y mae cryn ammheuaeth a fu y fath gyflafan erioed a "Brad y Cyllill Hirion." Nid ydyw Gildas, yr hwn a ysgrifenai o fewn can' mlynedd i amser Gwrtheyrn, yn son am dani; ac ni chyfeirir ati gan Bede, na'r un ysgrifenydd arall hyd Nennius. Nennius yw y cyntaf i son am dani, ac y mae Sieffre o Fynwy wedi ychwanegu llawer at y chwedl.

Gwr perffaith iawnwaith enwawg—sancteiddbryd
Gwr o lwyth Uxdryd[1] nid bryd Branawg.[2]

5

Gwr digrif, gwr rhif,[3] nwyf tylwythawg
Gwr teuluaidd doeth, gwr cyfoethawg
Gwr digabl[4] roen[5] xwaen xwanawg—i Gerddlais
Gwr a gar Priflais Prelad Baglawg.

6

Gwr gwiw gwyl ydyw, Gwr goludawg,
Gwr gwar hygar, car coronawg
Gwr Iessin lladdwin letenfawg[6]—cydostwng
Gwr diflwng teilwng talaidd gwisgawg

7

Gwr cowir a gwir a gwaredawg
Gwr cymmen llawen lliw cenhedlawg
Gwr coedd rhwydd wersoedd cydwese assolawg[7]
Gwr cwbl ei gampau cenau cynawg.[8]

[1] Uchdryd ab Edwin ab Goronwy (Gwel yr achres ar ddechreu yr Awdl).

[2] Y mae y Dr. Pughe (*Geiriadur*, s.v. "Branawg") yn egluro y gair fel hyn :—

"Branawg, *a*. (brân) of the nature of a crow.

Davyz ab Blezyn yw'r dyn doniawg—
Gwr o lwyth Ugdryd, nid bryd branawg.

Davyz the son of Blezyn is the virtuous man ; one of the tribe of Ugdryd, this is not the uncertain presage *of a crow*."

Ond y mae yn debyg fod gan y bardd ryw berson neillduol mewn golwg.

[3] "Rhif," o rhïaidd = *pre-eminent*.

[4] "Digabl" = disen = *(free from reproach)*. Ceir Llywelyn Brydydd Moch yn defnyddio y gair yn yr ystyr hwn yn ei gân i Llywelyn ab Iorwerth (*Myv. Arch.*, p. 211) :—

"Yr digabyl barabyl gan bawb oe uann
Digrifwch elwch elyf egwan."

[5] "Roen" = rhoi, hyny yw, o gyssylltu y gair gyda'r gweddill o'r llinell, yr oedd Dafydd yn hael wrth gantorion.

[6] "Letenfawg"—cyfeiriad at y *Litani?* Y mae Lewis Glyn Cothi (*Gwaith*, tudal. 240), yn defnyddio y geiriau :—

"A *Letni* o Vair gan ofeiriaid,
A *Luwt* ac organ gan brelad-iaid."

[7] Addolawg?

[8] "Cenau cynawg" = yn deilliaw o gyff boneddig, mae'n debyg.

8

Gwr dwyfawl i hawl hwyl anlufoddawg[1]
Gwr celfydd dedwydd· a godidawg
Gwr atto Mair gair gorfodawg
Gwr iawn hoyw radlawn 'n hirhoedlawg
Gwr hyborth i borth, aberthawg—gwisga
Gwrda'n lle Assaf[2] iawn lluosawg.

[1] Anlloeddog? (=*wealthy, affluent*, &c.)

[2] Sefydlwyd Esgobaeth Llanelwy, meddir, gan Cyndeyrn (*St. Kentigern*), yr hwn, ar ol bod yma am amser, a ymadawodd gymmeryd gofal eglwysig yn Glasgow, gan adael Llanelwy dan ofal ei ddysgybl, Asaf. Oddi wrth Asaf, neu Asaph, yr hwn oedd fab i Sawyl Benuchel ab Pabo Post Prydain, y cafodd yr esgobaeth ei henw Seisonig.

# XXIV.

## CYWYDD MARD. TUDUR FYCHAN, TREF Y CASTELL, YM MON.

---

*(O'r Add. MS., 14,970, fol. 87).*

Y mae i'w weled yn *Add. MSS.*, 14,866; 14,868; 14,894, a 14,964—yn yr olaf dan y penawd "Cywydd Marwnad Tudur ap Goronwy o Ben Mynydd ym Môn Tad Owain Tudur;" yn *Jesus MS.*, C. 101, p. 105, ceir ef dan y penawd "Cywydd Marwnad Tudur Vaughan;" yn *Y Piser Hir*, p. 112, dan y penawd "Cywydd Mar. Tudur Fychan, Tref y Castell;" ac y mae 32 o linellau (neu yn hytrach 30) o hono mewn ysgriflyfr yn Llyfrgell Rydd Caerdydd, dan y penawd "Main Melin," ac yn dechreu fel y canlyn:—

"U Twr ychaf or tri-chant
Ow ayd a dyst hyd v̄ dant."

Ond nid ydyw y ddwy linell yma yn perthyn i'r cywydd o gwbl. Pa fodd bynag, fel yna y dechreua cywydd "I ofyn Main Melin," o waith Lewis Mon, a welir yn *Add. MS.*, 14,866. Y mae y cywydd canlynol yn argraffedig hefyd yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 6, dan y penawd a'r eglurhad a ganlyn:—

"CYWYDD MARWNAD TUDUR AB GRONW, O BENMYNYDD, MON. Y gwr hwn ydoedd dad-cu i Syr Owain Tudur, yr hwn a briododd Catharine, gweddw y Brenin Harri y Pummed; o'r hon brïodas yr hanodd Harri y Seithfed. Bu farw Tudur ab Gronw yn y flwyddyn 1315."

Y mae y penawdau anghywir uchod wedi achosi i rai amseru genedigaeth Iolo Goch yn y rhan olaf o'r drydedd ganrif ar ddeg. Ond bydd yn hawddach eu beirniadu ar ol

dyfynu rhan o achres y Tuduriaid o Benmynydd o'r *Arch. Cambr.* am 1869 (vol. xv., Third Series, opposite p. 379) :—

Ednyfed Fychan, about 1220, bore a chev. betw. three Saxons' heads couped. = 2ndly. Gwenllian vch Rhys, Prince of South Wales.

Grono, did homage to Edward I. = Morfydd vch Meuric.

Tudor hên ap Grono founded the Carmelite Friary in Bangor, about 1276, and was subsequently buried there; did homage, in 1301, to Ed. of Carnarvon. = Angharad vch Ithel Vychan.

Grono, buried at Bangor, 1331 = Gwerfil vch Madoc o'r Hendwr.

Tudor Vychan ap Gronw. He assumed knighthood, and bore *gu.* a chev. between three close helmets *arg.* Died 1367. = Margaret vch Thomas ap Llewelyn ap Owen.

Hoell owned half Penmynydd in 1352, and the whole in 1371.

Gronw Fychan. Drowned 23 March, 1382; Forester of Snowdon. = Myfanwy.

William.

Rhys.

Meredydd ap Tudor = Margaret vch David Vychan ap David Lloyd.

Tudor, heir; minor in 1392.

Morfydd, heiress = Gwylim ap Gruffith of Penrhyn, Sheriff of Anglesey in 1395-6, etc.

Tudor Vychan cir. 1430. = Annes, d. of Robert Puleston of Emral.

Owen ap Meredydd ap Tudor, called Owen Tudor. = 1428, Katherine of Valois, Queen of England, widow of Henry V.

Mewn ysgriflyfr ym meddiant Mr Edward Griffith, Springfield, Dolgellau, a ysgrifenwyd oddeutu 1550, ceir y cofnodiad a ganlyn (tudal. 353), yr hwn sydd yn cytuno mewn rhan, ac yn anghytuno hefyd, â'r achres uchod :—

"Oed Xt pan fu farw Tudur ap Grono ap Ednyfed Vn.

1311 11 y dydd o fis Hydref ai gladdu yn Mynachlog Bangor ai esgyrn yn y mur. Oed Xt pan gladdwyd Grono ap Tudur ap Grono ap Ednyfed Vn. ym Mynachglog Vangor yn anrhydeddus 1331 yr 11 o fis rhagfyr Oed Xt pan gladdwyd Tudur ap Grono ei fab yntef yn y mur y du Deheu ir gafell 1369 y 19 o fis Medi Oed Xt pan fu farw Rees ap Tudur ap Grono 1412 ai gladdu yno. Llyfr Sr Dafydd Vân o law Gyttun Owen."

Fe welir yn yr achres dri Tudur ab Gronw; a gwelir hefyd nad ydyw pawb yn cytuno gyda golwg ar y flwyddyn y bu y cyntaf—Tudur Hên ap Gronw—farw. Dywedir yn *Add. MS.* 14,978, fol. 11, iddo adeiladu Mynachlog Bangor yn 1301, ac iddo gael ei gladdu yno yn 1311; ac i ychwanegu at y dyryswch, dywed un (*Arch. Camb.*, vol. xv., p. 286) ei fod yn fyw mor ddiweddar a 1352; a'i fod, er ei wahaniaethu oddi wrth ei ŵyr, yn cael ei alw yn Tudur Hên ab Gronw. Tybiwn fod yma ryw gamgymmeriad. Ond pa fodd bynag am hyny, y mae yn amlwg mai ar ol ŵyr Tudur Hên ab Gronw y cyfansoddwyd y cywydd Marwnad sydd yn dilyn y llinellau hyn. Y mae y *Tudur Fychan* a geir ar ddechreu llin. 10 a 12 yn profi hyny; ac yr oedd efe yn *daid* i Owain Tudur. Ond nid ydyw yr achres uchod yn gwbl eglur i ni, yn enwedig mewn perthynas i enwau ei feibion. Yn yr achres, dywedir mai ei feibion oedd Gronw, William, Rhys, a Meredydd. Ond mewn cywydd arall o eiddo Iolo Goch (Rhif XXV.), enwau ei feibion oedd Gronwy, Rhys, Ednyfed, a Gwilym; ond ni enwir Meredydd o gwbl. Drachefn, yn *Hist. Powys Fadog*, vol. ii., pp. 134-5, yr oedd gan Tudur Hên ab Gronw dri mab, sef Gronw, Howel (yr hwn a fu farw yn ddiblant), a Madog, yr hwn fu yn dal y swydd o Archddiacon Môn, ac wedi hyny yn Abad Aberconwy. Etifeddodd Gronw ei fab, heb law ei etifeddiaeth ei hun, ran ei frawd Howel ar ol ei farwolaeth; ac felly, yr oedd yn berchenog Tref Castell, Penmynydd, Arddreiniog, a Thref Gayan, y rhai a adawodd ar ei ol i wrthddrych y cywydd dilynol. Ac ychwanega

fod i Syr Tudur Fychan bump o feibion, set Gronw Ednyfed, Gwilym, Meredydd, a Rhys. Cytunir yma hefyd mai y Meredydd hwn oedd tad Owain Tudur. Bydd genym ych ydig o eiriauyng nghylch y meibion hyn eto, pan y deuwn at y cywydd a gyfansoddwyd iddynt hwy. Pa fodd bynag, dylem sylwi yma nas gall y Chevalier Lloyd fod yn gywir pan yn dyweyd i Gronw, mab Tudur Hên ab Gronw etifeddu ar ol ei frawd Howel; o blegid, yn y lle cyntaf, os cywir yr achres uchod, nid brawd i Howel oedd Gronw, eithr ewythr iddo. Yn ol yr achres, bu Gronw farw yn 1331, â'r hyn y cytuna y Chevalier Lloyd. Yn ol yr achres, brawd Tudur Fychan ab Gronw oedd Howel, ond nis gallasai y blaenaf etifeddu ar ol yr olaf, o blegid bu farw Tudur yn 1367, tra yr oedd Howel yn fyw yn 1371, pa faint bynag yn ddiweddarach. Ond y mae genym bob lle i gredu i blant Tudur ddyfod i feddiant o'r lleoedd a nodwyd. Rhydd Powel (*Hist. Wales*, edit. 1702, p. 314), yr hanes canlynol am Tudur ab Gronw:—

"Yn amser Edward y Trydydd yr oedd Syr Tudur Vaughan ab Grono yn byw; yr hwn a hanai mewn llinell uniongyrch o Ednyfed Vaughan, ac oedd o ran ei etifeddiaeth, gallu, a dylanwad, yn un o'r rhai penaf yn holl Ogledd Cymru. O herwydd rhyw amcan, naill ai uchelgais neu fympwy, cymmerodd arno ei hun anrhydedd marchog; gan orchymmyn i'r bobl ei alw a'i gyfarch fel Syr Tudur ab Grono, fel pe yn brudio ac yn rhagweled y buasai rhai o'i lwynau ef yn codi â chanddynt hawl i roddi yr anrhydedd hwnw. Y brenin Edward, ar ol cael ei hysbysu o'r cyfryw hyfdra anarferol, a anfonodd am Syr Tudur, ac a ofynodd iddo pa fodd y bu mor hyf ag ymyryd â'i hawlfraint ef, trwy gymmeryd arno ei hun anrhydedd marchog heb ei awdurdod. Atebodd Syr Tudur fod ganddo ef hawl, yn ol deddfau a sefydliadau y Brenin Arthur, i gymmeryd arno ei hun y teitl hwnw, yn gymmaint ag y perthynai iddo y tri chymhwysder, y rhai pwy bynag a fyddai yn eu meddu, a roddent hawl iddo, yn ol y deddfau

hyny, i urdd marchog. Yn gyntaf, yr oedd yn foneddwr; yn ail, yr oedd ganddo etifeddiaeth ddigonol; ac yn drydydd, yr oedd yn wrol ac anturiaethus: gan ychwanegu ym mhellach, 'Os bydd i'm gwroldeb a'm dewrder gael eu hammeu, Wele! dyma fi yn taflu fy maneg i lawr; ac er llawn brofi fy ngwroldeb, yr wyf yn barod i ymladd gydag unrhyw un, pa beth bynag fyddo.' Y brenin, gan ei fod yn cymmeradwyo ac yn hoffi ei bybyrwch a'i benderfyniad, oedd hawdd ei ddarbwyllo i gadarnhau anrhydedd marchog arno."

Ymddengys i Syr Tudur (yn ol *Arch. Camb.*, vol. xv., p. 289) fod ddwywaith yn briod. Ond mam y plant a nodwyd genym oedd Margaret, ferch Thomas ap Llywelyn ap Owen. O bosibl nad hon oedd ei ail wraig; o blegid gwr cyntaf Margaret oedd William ap Griffith de la Pole, Arglwydd Mawddwy. Yr oedd Margaret yn chwaer i fam Owain Glyndwr; ac felly, yr oedd ei phlant yn gefnderoedd i'r gwron hwnw. Y mae yn wir nad oedd Owain amgen rhyw wyth mlwydd oed pan y bu farw Syr Tudur; ond y mae yn dra thebygol mai trwy ei gyfeillgarwch â'i rieni y daeth Iolo Goch yn adnabyddus â'r Tuduriaid o Fôn.

Yn y *Myvyrian Archaiology* ceir cyfres o gywyddau i'r Tuduriaid gan Gruffudd ab Maredudd:—

I Dudur vab Gronwy. Tudal. 293.
I Dudur ap Goronwy o Benmynydd. Tudal. 294.
I Dudur. Marwnad. Tudal. 295.
I Dudur. Marwnad. Tudal. 295.
I Dudur. Tudal. 296.
I Dudur pan oedd glaf. Tudal. 296.
I Dudur fab Goronwy. Tudal. 297.
I Dudur neu Ronwy. Tudal. 298.
I Oronwy fab Tudur. Tudal. 298.
I Oronwy pan oedd glaf. Tudal. 300.
Marwnad Oronwy Fychan a foddodd. Tudal. 301.
I Sr. Howel ap Gruffudd. Marwnad. Tudal. 301.
I Hywel ap Gruff. ap Tudur. Marwnad. Tudal. 302.
I Ronwy Fychan ap Tudur. Tudal. 303.

Y mae cywyddau Gruffudd ab Maredudd yn llawer tywyllach, ac yn fwy hynafol eu harddull, nag eiddo Iolo Goch. Gellid tybied wrth eu darllen fod eu hawdwr yn blodeuo oddeutu can' mlynedd o flaen Iolo. Ond wrth eu cymharu, yr ydym yn dyfod i'r penderfyniad mai i Tudur Fychan ab Gronw yr oedd Gruffudd ab Maredudd yn canu; o blegid, fe welir iddo ganu amryw hefyd i Oronwy ei fab yr hwn a foddodd. Nid ydyw cywyddau Gruffudd na Iolo yn taflu ond ychydig o oleuni ar hanes personol Tudur Fychan. Ond y mae y naill fel y llall yn rhoddi iddo gryn lawer o ganmoliaeth ac y mae pob un o honynt yn ei osod allan fel milwr dewr. Pa fodd bynag, yr ydym yn methu a chael dim yn y cywyddau, nac ychwaith mewn cofnodion ereill, i'n galluogi i werthfawrogi ei wasanaeth yn y cyfeiriad hwnw.

Er fod y penawd i gywydd Iolo yn rhai copïau yn dyweyd ei fod "o Benmynydd;" eto, yn y cywydd ei hun dywedir mai yn Nhref Castell y preswyliai; ac yn ol yr erthygl yn yr *Arch. Camb.* vol. xv., p. 285, yr oedd Tref Castell, yn 1352, ym meddiant Howel a Tudur fel cydberchenogion; Penmynydd, un ran rhyngddynt hwy, a'r rhan arall gan Abad Aberconwy; tra yr oedd Arddreiniog ym meddiant Howel, ei frawd Tudur, ac un Rhees ap David. Pa fodd y daeth y maenoriaethau hyn wedi hyny i feddiant plant Tudur sydd gwestiwn na fedrwn ei ateb; ond, fel y cawn ddangos eto, felly y bu. Ond yn ol y cywydd a ganodd Iolo i'w feibion, ymddengys y byddai Tudur ar amserau yn Mhenmynydd.

Bu farw Tudur Fychan ab Gronw, fel y crybwyllwyd eisoes, yn y flwyddyn 1367, neu yn 1369 yn ol ysgriflyfr Mr. Edward Griffith; ac y mae yn ddiddadl i'r cywydd canlynol gael ei gyfansoddi yn fuan ar ol hyny. Mewn canlyniad, nis gellir mewn un modd ei ystyried fel un o gyfansoddiadau boreuaf yr awdwr; ac nid ydyw ei amseriad yn cynnorthwyo dim arnom, fel yr haerir ei fod, tuag at benderfynu amser ei enedigaeth. Ceir yn y cywydd un neu ddwy o ffeithiau ydynt yn taflu goleuni ar arferion

yr oes; yn eu plith awgrymir i Tudur gael ei gladdu mewn arch, yr hyn sydd yn bwysig, gan y dywedir gan rai nad oedd eirch mewn arferiad yn yr oes hono. Ni ddywedir gan Iolo ym mha le y claddwyd ef. Ond Mynachlog Bangor oedd claddfa y teulu; a diammeu mai yno y claddwyd yntau. Tybiwn fod y dernyn canlynol gan Gruffudd ab Maredudd yn cadarnhau hyny; yr hwn, gan nad yw ond byr, a ddyfynwn, fel y gallo y darllenydd gymharu ei waith ef gydag eiddo Iolo:—

" Doeth i blaid eirchiaid erchyll
Hir annerch a hwyr ynnill
Brwydr gwirlafn trev Castell
Brwyn a dogn gwyn oi dygn goll
Rhagorawl pob rhyw giried
Oedd fy Arglwydd Udd fawrglod
Traws ofyn tir treisyfiad
Tra sefis cyn trais ofid
Gwae fi lorf eurgorf gwawr aergur cyfarf
Gwayw didarf gwiw Dudur
Gwasgu llew gwas glew gleifddur
Gwaisg haerngaen ym maen mur
Aml uch grann o'i hynt Fangor
I'm didyr deigr am Dudur
Aelaw ynof ei alar
Elyn gryd Alun gryfder." (*Myv. Arch.*, p. 296).

Er mor anhawdd ei ddeall ydyw cywydd Iolo Goch, o herwydd gwallau y copïwyr, fe wel y darllenydd ei fod yn llawer hawddach na'r dernyn uchod, yr hwn sydd yn enghraifft eithaf teg o gynnyrchion ereill yr awdwr.

Clywais[1] doe[2] im clust deau[3]
Canu corn cyfeiliorn cau

[1] "Klowais."—*Jes. MS.*

[2] "Ddoe"—*Add. MS.*, 14,964, a *Jes. MS.*

[3] "Ddeau"—*Add. MS.*, 14,964, a *Jes. MS.*; "dïau"—*C. Ll. G.*

Ie Dduw ai wedd ddiorn[1]
Pa beth yw ei gyfryw[2] gorn,
Galargyrn Mychdeyrn[3] Môn
Gogleiswyd Beirdd gwag loesion,[4]
Da darf[5] yw hwn gwn gannoch[6]
Pa ymffust i'm clust mal cloch.
Marw y chwedl pencenedl coeth[7]
*Tudur*, arf awchddur wychddoeth,[8]
Ni furniai[9] ddim o'i farwnad,
*Fychan*, marchog midlan[10] mad,

[1] "O Vair pann ywr gweddiorn." *Jes. MS.*
"O Fair fam y gweddiorn!" *C. Ll. G.*

Y mae yn amlwg ddigon fod yma ryw ammhuredd yn yr holl ddarlleniadau. Gallem dybied mai ymgais a geir yma i osod allan y meddylddrych fod y bardd yn clywed swn rhyw gorn yn hofran yn yr awel, ac yn gofyn yn ddifrifol pa beth a allai fod yr achos o hono.

[2] "Yw y gyfryw Gorn"—*Add. MS.*, 14,964; "yw y cyfryw gorn." —*C. Ll. G.*

[3] "Melldeyrn" — *Add. MS.*, 14,964, a *Jes. MS.*; "a melldyrn"— *C. Ll. G.* Yn *Jes. MS.* a *C. Ll. G.*, y mae llin. 5-8 yn dilyn llinell 14. Gosodir y llinellau gan y Dr. W. O. Pughe yn ei Eiriadur, gyda chyfieithiad, yn y drefn a ganlyn:--

"ɡwerw iawn yw ɡware orn
Gyd gerz rhwng cloç ac udgorn;
Galargyrn myçdeyrn Môn,
Gogleisiaw beirz gwagleision."

"Very bitter is to ring a peal, in concert between a bell and organ; the horns of lamentation for the sovereign of Môn are grating to the bards *of empty sounds*."

[4] "Gwaglwysion"—*Add. MS.*, 14,964; "gwagleision"—*Jes. MS.* a *C. Ll. G.*

[5] "Pa dwrw" — yn y llyfrau ereill; ac y mae yn fwy naturiol.

[6] "Ganoch."—*C. Ll. G.*—h.y., can' och.

[7] Yn *Jes. MS.* a *C. Ll. G.* y mae llin. 9 yn dilyn llin. 4; "Marw y chwedl," hyny yw, y mae y bardd yn ateb y cwestiynau blaenorol trwy ddyweyd mai adroddiad am farwolaeth "pencenedl coeth" ydyw yr achos am y swn oedd yn ei glustiau. "Marw gyxwedl" yn *Add. MS.*, 14,964; a "Marwchwedl" yn *C. Ll. G.*; ond y mae darlleniad y testyn yn llawn cystal —"Marw y chwedl" = Marw yw y chwedl. Yn ol llafar gwlad, y mae "cloch mewn clust" yn arwydd sicr o farwolaeth.

[8] "Wch ddoeth"—*Jes. MS.*; ond yn anghywir.

[9] "Furniwn"—*Add. MS.*, 14,964, gyda "Farnad" ar ddiwedd y llinell; "fyrnia"—*Jes. MS.*; "furniais" —*C. Ll. G.* Y gair cyfystyr â "furniais" ar waelod y ddalen yn *C. Ll. G.* ydyw *pentyru*.

[10] "Mydlan"—*Jes. MS.*; "mudlan"—*C. Ll. G.* "Midlan" (= ymorchestfa) ydyw y ffurf arferol.

Chwerw iawn yw geñym a chwyrn[1]
Gydcerdd rhwng clych ag udcyrn,[2]
Pa weiddi pwy a wyddiad[3]
Yw hwn a glybwn[4] i'n gwlad,
Ubain a llefain a llid[5]
Am y gwr mwya gerid,[6]
Tudur wasgarwr tewdorf
Tad helm enwog *luriog* lorf[7]
Calon pawb nis coeliwn pwy
Calon doethion Tindaethwy[8]

[1] "Xwern yw genym a xwyrn."
*Add. MS.*, 14,964.
"Chwerw iawn yw chware orn."—*Jes. MS.*
"Chwerw iawn genyf chwareu orn."—*C. Ll. G.*

Nid ydym yn gallu canfod dim synwyr yn "chwareu orn" =*to play at a push* (*or threat*); ond y mae darlleniad y testyn yn hollol ddealladwy.

[2] "Cloch ag utgorn"—*Jes. MS.* a *C. Ll. G.*

[3] Yn *Jes. MS.* a *C. Ll. G.* y mae llinell 15 yn dilyn llinell 8.

[4] "Glywn"—*Add. MS.*, 14,964; "glown"—*Jes. MS.*; "glywwn"—*C. Ll. G.*

Yn y llinellau dechreuol yn y cywydd y mae y bardd yn holi ac yn ateb; ac yn llin. 15-16 y mae yn gofyn a oes rhywun yn gwybod beth ydoedd yr holl waeddi a'r galaru oedd i'w glywed trwy y wlad yn gyffredinol. Y mae trwy hyn yn ceisio dangos fod galar cenedlaethol ar ol Tudur, ond ei fod yn cymmeryd ffordd led ryfedd i ddyweyd hyny.

[5] Prin yr ydym yn gweled y priodoldeb o ddefnyddio y gair "llid" yn y cyssylltiad hwn. A oedd y bardd yn teimlo yn *ddigofus* o herwydd marwolaeth Tudur? Teimlo yn *hiraethus* y byddys yn gyffredin. Nid ydyw "Ubain, a llefain rhag llid," a geir yn *C. Ll. G.*, yn ymddangos yn ddim eglurach.

[6] "Mwya a gerid"—*Jes. MS.*, yr hyn sydd yn llawn mor ddealladwy, ond y mae yr *a* yn gwneyd y llinell yn rhy hir o sill.

[7] Nid ydyw y ban hwn yn y llyfrau ereill.

[8] "Colon pwyll nis celwn pwy
Colon doethion Dindaethwy."
*Add. MS.*, 14,964.
"Kael y pwyll nis cela pwy
Calon doethion tindaethwy."
*Jes. MS.*
"Cael i'm pwyll, ni's celaf pwy,
Calon doethion Tindaethwy."
*C. Ll. G.*

O'n rhan ein hunain, tybiwn mai *Jes. MS.* ydyw y goreu yma, trwy ei fod yn arddangos y bardd wedi dyfod i'w bwyll o'i wylltineb, ac yn dechreu sylweddoli pwy oedd wedi marw.

Yn ol "Parthau Cymru (*Myv. Arch.*, p. 734) yr oedd cantref Rhosyr, ym Môn, yn cael ei ranu i ddau gwmmwd, sef Tindaethwy

Llygrwyd Mon *mynllaw* Egryn[1]
Llygrwyd oll lle gorau dyn,[2]
Llygrwyd Cymry[3] gwedy gwart[4]
Llithricced pobl llwyth Riccart,[5]
Dwyn llew[6] bryn byrddau dan llaw
Dadwreiddiwyd ei dy drwyddaw,[7]
Dygn ymchwel dwyn Hywel hardd
Dygn waeth dwyn brawdfaeth bridfardd[8]

a Menai, y rhai a ffurfiant y rhanbarth dde-ddwyreiniol o'r ynys, gan ffinio ar y Fenai. Yr oedd cwmmwd Tindaethwy yn cyfateb, ar y cyfan, i ddeoniaeth wladol Tindaethwy, yr hon a gynnwysa y plwyfi canlynol :—Llanfaes, Llangoed, Llanddegfan, Llanddona, Llanddyfnan, Llanfairpwllgwyngyll, Llansadwrn, Penmynydd, a Pentraeth.

1 "Myn llaw grynedig," yn ol yr eglurhad a geir ar waelod y ddalen yn *C. Ll. G.* Ond y mae yn llawn can debyced genym mai tyngu, bron wrth fyned heibio, yr oedd y bardd, ar law Egryn Sant, yr hwn a flodeuai yn y seithfed ganrif ; a'r hwn, meddir, a sefydlodd eglwys Llanegryn, ym Meirionydd.

2 "Goreu."—*Add. MS.*, 14,964.

3 "Gymru"—*Jes. MS.*; "Cymru" *C. Ll. G.*

4 "Gwedi gwart"—*Jes. MS.*, a *C. Ll. G.*

5 "Llethriced yw llwyth Ricciart."—*Add. MS.*, 14,964.
"Llithriked hoedl llwyth Rikart."—*Jes. MS.*
"Llithriced oedd llwyth Rhicart."—*C. Ll. G.*

Nis gwyddom at ba beth y cyfeirir yn y llinell hon, os nad at rai o hynafiaid Tudur a fuant yng ngwasanaeth Richard I.

6 Cyffelybir Tudur i'r "llew," yr hyn sydd yn fwy naturiol na "llwyth," yn ol darlleniad *Add. MS.*, 14,964.

7 "Dadwreiddio i du drwyddaw." *Jes. MS.*
"Dadwreiddio ei dŷ drwyddaw."—*C. Ll. G.*

8 Yn y llyfrau ereill y mae y ban hwn yn dilyn llinell 34 ; ond y maent yn amrywio yn y darlleniad :—
"Dygn ymxwedl dwyn hoedl hardd
Pand gwaeth dwyn browdfaeth bridd fardd."—*Add. MS.*, 14,964.
"Dygn vm chwedl dwyn hoedl hardd
Ys gwaeth dwyn browdfaeth bridfardd."—*Jes. MS.*
"Dygn ymchwedl dwyn hoedl hardd,
A gwaeth, dwyn brawd-faeth bryd-fardd."—*C. Ll. G.*

Credwn fod ein testyn yn anghywir wrth roddi "Hywel" yn lle hoedl. Cyfeirio y mae y bardd at farwolaeth Tudur ei hun, yr hwn a fu farw flynyddau o flaen ei frawd Hywel.

Wyr *Ririd* lwyd[1] euraid lwyth
*Flaidd* ddifilandraidd flaendrwyth,[2]
Dyrnod pen hyd ymmhennydd[3]
Ar dylodion[4] gwlad Fon fydd,
[5]Beth o daw[6] heibiaw hebom
I'r Traeth coch[7] lynges droch drom,
Pwy a ludd gwerin, pwl ym,[8]
Llychlyn a'u bwyaill[9] awchlym,
Pwy a gawn, piau[10] Gwynedd ?
Pwy a ddyrchaif glaif neu gledd.[11]
[12]Pwy nid wyl penyd alar
Pwy mwy uwch Conwy ach câr ?

[1] "Lwyr."—*Jes. MS.*

[2] Nid yw y ban hwn yn *C.Ll.G.*; ac y mae y ban dilynol iddo yn *Jes. MS.* yn llinell 30.

[3] "Hyd y Mennydd"—*Add. MS.*, 14,964; "hyd ymenydd"—*Jes. MS.*

[4] "Dlodion."—*Add. MS.*, 14,964. Cyfeirir yma at haelioni Tudur a'i garedigrwydd tuag at y tlodion; a meddyliai Iolo y byddai pob peth drosodd arnynt ar ol iddo farw.

[5] Yn blaenori y ban uchod yn *Add. MS.*, 14,964, ceir :—
"Llywiodd Wynedd llaw ddinag
Llas nen Môn wenn maenwâg."
"Llas penn Môn wenn i mae /n/
wag."—*Jes. MS.*

[6] "O daw"—*Jes. MS.*, a *C.Ll.G.*

[7] "Traeth Coch" sydd feisfor yn y parth gogledd-ddwyreiniol o Ynys Fôn. Gallem feddwl oddi wrth a ddywed Iolo fod Tudur yn amddiffynydd cadarn rhag ymosodiadau tramorwyr—y Llychlyniaid.

[8] "Pwy a ladd Gwerin/ pwl ym."
*Add. MS.*, 14,964.
"Pwy a lvdd pwl i ddyn."
*Jes. MS.*
"Pwy a lydd werin (pŵl ym)."
*C. Ll. G.*

Y mae golygydd *Cein. Llen. Gymreig* yn rhoi "pwy a luydda" fel eglurhad ar y rhan gyntaf o'r llinell. Ond y mae yn amlwg mai gofyn yr oedd Iolo:—"Pwy bellach, wedi i Tudur fyned, a gawn yn ddigon galluog--oblegid pwl (diallu) ydym ni—i luddias gwerin Llychlyn i lanio?"

[9] "Au Bwyeill"—*Add. MS.*, 14,964; "ai bwyill"—*Jes. MS.*; "a'u bwyill"—*C. Ll. G.* "Bwyeill" = *battle-axes.*

[10] "Pie"—*Add. MS.*, 14,964, a *Jes. MS.*; "pïau"—*C. Ll. G.*

[11] "Glaif ne gledd."—*Jes. MS.* Cleddyf cam ydyw "glaif."

[12] Nid ydyw y ban hwn yn *Jes. MS.* a *C. Ll. G.*

Gwedi marw y rhygarw rhugl[1]
Ffyniant hir[2] Naf Bryn[3] Ffanugl,
Aesawr oedd fawr iddo Farch
Yswain wayw llithfain llwythfarch[4]
Du lliw Mon Frehyrion Fro
Dall tai bwyll Dellt ab Illo,[5]
Gwyrennig[6] car pwyllig pell
*Cawr troi* cost carw Trecastell,[7]

[1] "Pan a fu farw rhygarw rhugl."—*Add. MS.*, 14,964.
"Gan farw fyngharw rhygl." *Jes. MS.*
"Gan farw fy ngharw rhugl." *C. Ll. G.*
Ymddengys y ddau ddarlleniad olaf yn well na'r lleill.

[2] "Hil"—*Add. MS.*, 14,964, *Jes. MS.*, a *C. Ll. G.*

[3] "Brynn ffanygl."—*Jes. MS.* "Hil Naf Bryn Ffanigl" o herwydd ei haniad o Ednyfed Fychan, yr hwn oedd Arglwydd Bryn Ffanigl, ym mhlwyf Bettws yn Rhos, Sir Ddinbych. Ac y mae tair o ffermydd yn y plwyf hwnw wedi derbyn en henwau oddi wrth Bryn Ffanigl, neu Bryn Ffenigl (*Y Cymmrodor*, vol. x., p. 150).

[4] "Ac aesawr oedd fawr ei fraix
Yswain wayw llith$^{rain}_{fain}$
llwythfr$^{aix}_{cix}$."
*Add. MS.* 14,964.
"Ag aisawr oedd vawr i fraych
Yswain wayw llathfain llithfraych."—*Jes. MS.*
"Ac oesawr oedd fawr ei fraich;
Yswain wayw llithfrain, llythyr-fraich."—*C. Ll. G.*
Y mae yn amlwg fod y testyn yn anghywir. Dysgrifir ef gan y bardd fel yswain, yn trin y darian a'r waywffon yn ddeheuig, a chyda braich gadarn. Yn dilyn y llinellau hyn yn y llyfrau ereill ceir :—
"Aesawr gwlad fawr golud fu
Yswain brwydr syn i brudu."
*Add. MS.*, 14,964.
"Aesor gwlad fawr golud fy
Yswain brwydur sy/n/ i brydy."
*Jes. MS.*
"Asawr gwlad fawr golud fu ;
Yswain brwydr sy'n ei brydu."
*C. Ll. G.*

[5] "Dillyn Mon . . . tro
D'allai bwyll dull Abillo."
*Add. MS.*, 14,964.
"Dillin môn freheyron fro
Dalldai bwyll dellt ebilldo."
*Jes. MS.*
"Dillyn Môn frehuon fro
Dealldai bwyll delld ebilldo."
*C. Ll. G.*

[6] "Gwyrenig" — *Add. MS.*, 14,964, *Jes. MS.*, a *C. Ll. G.* "Gwyrenig" = o dwf ffaethus.

[7] "Cartre'r cost carw Tre'r Castell."
*Add. MS.*, 14,964
Cost " ' = costus gwych.

[1]Ffelaig[2] ysgythrddraig Uthr ddrud
*Ffu* Mon o daw *ffw* a mud,[3]
Gwae'r Deau rhaid[4] maddau'r medd
Gweddwi un gwae ddwy Wynedd,[5]
Gwae'r iyrch mewn llennyrch mae'n llai
Gwae'r ceirw am y gwr ai carai,[6]
Gwae finnau[7] heb gyfannedd
Gweled bod mewn gwaelod bedd.
Anhudded oer iawn heddiw[8]
O ro a phridd ar ei ffriw,[9]

[1] Yn *Add. MS.*, 14,964, y mae y ban hwn yn dilyn llin. 44; ond yn *Jes. MS.*, y mae yn dilyn y llinell a ddyfynir yn nodyn 4 uchod (tudal. 286).

[2] Teyrnon, neu lywydd.

[3] Gwell o lawer ydyw y darlleniad a geir yn y llyfrau ereill :—

"A phen Môn rhag ffo na mud."

[4] "Gwaer deau er maddau medd."—*Jes. MS.*

[5] "Gweddw iawn, a gwae ddwy Wynedd."

*Add. MS.*, 14,964.

"Gweddw iawn gwae ddwy wynedd."

*Jes. MS.* a *C. Ll. G.*

Gwynedd *uwch* ac *is* Conwy.

[6] "Gwae ieirx ym *llesmeirx* mae'n llai
Gwae'r ceirw am ŵr ai carai."

*Add. MS.*, 14,964.

"Gwae ieirch mewn llenyrch maen llai
Gwaer ceirw ddwyn gwn ai carai."—*Jes. MS.*

"Gwae'r ieirch mewn llaneirch mae'n llai
Gwae'r ceirw, ddwyn gwr a'u carai!"—*C. Ll. G.*

[7] Nid ydyw *Add. MS.*, 14,964, yn gywir wrth roddi "Fôn ai;" "finae" ydyw yn *Jes. MS.*

Tybiwn fod y llinell yn awgrymu y byddai Iolo yn arfer mynychu preswylfod Tudur; ac ei fod yn cwyno nad oedd ganddo mwyach le i gyfanneddu ym Môn.

[8] "Anhunedd oer iawn henyw."

*C. Ll. G.*

Tebyg mai "anhudded" = *exposed*, gan gyfeirio at y bedd agored, sydd gywir.

[9] Y mae yr ysgriflyfr sydd genym fel testyn, yr hwn a ddilynir gan *C. Ll. G.*, yn gywirach na'r darlleniadau a ganlyn :—

"A'i roi a phriodar ei ffriw."

*Add. MS.*, 14,964.

"O ro ffrwd ar i ffriw."

*Jes. MS.*

Rhoddi gro a phridd ar ei wyneb; "ffriw" ydyw *gwynebpryd*.

Yn ddihir bod yn hirerw[1]
Ynghudd ei ddeurudd dan dderw[2]
Nid ydoedd ef gynnefin[3]
A rhyw wely gwedy gwin[4]
Gnodach[5] iddo wisgo'n waisc[6]
Yn ymwanfrwydr Ion mwynfraic[7]
Helm gribog rudd-faelog fyth[8]
A habrsiwn[9] walch glew hybrsyth[10]
[11]Pren a daearen dew arw
A wisgwyd am frywysgarw

[1] "Bod yn ddihir yn nhir-erw." *Add. MS.*, 14,964.

"Tir erw" = y fynwent, yr hon a elwir weithiau gan y Sais yn *God's acre.* Yn y cyfreithiau a briodolir i Hywel Dda, yr oedd claddfa i fod yn erw gyfreithiol o hyd, gyda'i phen at y fynwent, ac mai hyny oddi amgylch i'r fynwent, a ddylai fod ei chwmpas (*Myv. Arch.*, pp. 982, 1035). A thybiai Aneurin Owen fod erw yn 4,320 o latheni ysgwar.

[2] "Dan dderw" = mewn arch dderw.

[3] "Nid ydoedd ef dra xynefin." *Add. MS.*,14,964.

[4] "O riw welu gwedi gwin." *Jes. MS.*

"Ag oer wely gwedi gwin." *C. Ll. G.*

Nid gwely oer fel hwn, sef y bedd, oedd y gwely y gorphwysai Tudur ynddo ar ol mwynhau y gyfeddach.

Yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig* terfyna y cywydd yn y fan yma; a cheir y sylw canlynol ar waelod y ddalen :—"Y mae y rhan olaf o'r cywydd uchod yn annarllenadwy yn fy ysgriflyfr i."

[5] "Gnottax"—*Add. MS.*, 14,964; "Knodach."—*Jes. MS.*

"Gnodach" (o *gnodi*) = mwy arferol ydoedd.

[6] "Wisgo yn waisg"—*Jes. MS.*; "gwaisg" = bywiog.

[7] "Yn y manwyrdd Ion Mwynwaisg."—*Add. MS.*, 14,964.

"Yn ymwan frwydur ion ymwaisg."—*Jes. MS.*

Dangosir yma ei barodrwydd i wisgo arfau milwrol gogyfer â brwydr, yr hyn a brofa ei wroldeb.

[8] Y mae *Add. MS.*, 14,964, yn lled anghywir :—

"Helen gribawg rudd faawg fyth."

Llawer gwell ydyw darlleniad y *Jes. MS.* :—

"Helm gribog ryddfaog fyth."

[9] "Habrsiwn (= *habergeon*) = llurig.

[10] "Walx ewybrsyth." — *Add. MS.*, 14,964.

"Wr ewybrsyth."—*Jes. MS.*

"Ay hapsiwn wallt ay hopor syth."—*Tonn MS.*

[11] Yn blaenori llin. 71 ceir y ban a ganlyn yn *Jes. MS.* :—

"A llirig dromdew lew ladd
dromlaes i fedry ymladd."

Ond nid ydyw llin. 69-70 yn y llyfrau ereill, nac yn *Jes. MS.*

Ni chollai wan gwinllan gwyr
Dref ei dad dra fu Dudyr[1]
Ni holid car ammharawd[2]
Odid y doi lid i dlawd[3]
[4]Na ynganer yng Ngwynedd
Na ddalier ych dan wych wedd[6]
Na sonier am adderyw[7]
Na lafurier ofer yw,
Na chwardder, yn iach heirddion,[8]
Na hauer mwy yn Nhir Môn.[9]

Iolo Goch ai cant.

1 "Ni xollai'r gwan gwinllan gwyr
Dref ei dâd tra fu Dudur."
*Add. MS.*, 14,964.

"Ni chollai gwr winllan gur
dref i dad dra fy dydur"
*Jes. MS.*

Hyny yw, yr oedd Tudur yn amddiffyn y gwan rhag cael ei orthrymu a'i yspeilio o'i feddiannau. Dichon fod yma gyfeiriad at Ahab yn yspeilio Naboth o'i winllan (1 Bren. xxi.)

2 "Ni phlygid gar Anarawd."
*Add. MS.*, 14,964.

"Ni ffolid car amharawd."
*Jes. MS.*

"Ny ffaylyr caer amarawd."
*Tonn MS.*

3 "Odid yn wtleid tlawd."
*Add. MS.*, 14,964.

"Odid od wtleid tlawd."
*Jes. MS.*

"Odid ydwyd llaid ū tlawd."
*Tonn MS.*

Nid ymddengys llin. 73-74 yn foddhaol yn yr un o'r ysgriflyfrau hyn; ac yr ydym yn gwbl analluog i awgrymu pa beth a feddyliai y bardd. Ond gwyddom mai wrth "wtleid" y golygir "alltud" = *outlaw*.

4 Yn *Add. MS.*, 14,964, y mae y ban hwn yn cael ei gyfleu ar ol yr un dilynol iddo.

5 "Na ynganer ynGwynedd."
*Add. MS.*, 14,964.

"Nag ynganer ynGwynedd."
*Jes. MS.*

6 iau=*yoke*.

7 Y gair tebycaf i "adderyw" a welwn yn *Geir. Cymraeg* D. Silvan Evans yw "addar"=*arable*.

8 "Na xwardder am wyx heirddion."
*Add. MS.*, 14,964.

9 "Na hayer mwy ynhir Môn."
*Jes. MS.*

Ystyriai Iolo farwolaeth Tudur y fath drychineb cenedlaethol fel mai ofer bellach fyddai hyd yn oed llafurio y ddaear!

# XXV.

## CYWYDD PEDWAR MAB TUDUR LLWYD O BEN MYNYDD YM MON.

---

*(O'r Add. MS., 14,970, fol. 77b).*

Y mae y cywydd i'w weled hefyd yn *Add. MSS.*, 14,866; 14,882; 14,940, a 14,978; ac y mae ei ddechreu—26 o linellau—yn argraffedig yn *The Works of Iolo Goch* (gan R. Jones) p. 63.

Yr un oedd Tudur Llwyd—tad y meibion hyn—a Tudur Fychan ap Gronw, ar farwolaeth yr hwn y cyfansoddwyd y cywydd blaenorol. Yn ein sylwadau cyssylltedig â'r cywydd hwnw, sylwyd fod i Tudur bump o feibion, sef Gronw, Ednyfed, Gwilym, Meredydd, a Rhys. Ond ni enwir Meredydd o gwbl yn y cywydd canlynol. O linach Meredydd yr hanodd Owen Tudur, am yr hwn y sonir cymmaint fel ffynnonell y gwaed Cymreig yn llinach frenhinol y Tuduriaid. Buom ar y cyntaf yn ceisio egluro dystawrwydd Iolo am dano ar y dybiaeth fod Meredydd wedi marw cyn i'r cywydd hwn gael ei gyfansoddi, yr hyn, pe yn gywir, a fuasai yn ddigonol. Ond ar ol chwilio ym mhellach, daethom ar draws ffaith arall a gyfrifai, fel y tybiem, am y dystawrwydd, sef ddarfod i Meredydd gyflawni llofruddiaeth, ac mewn canlyniad iddo ffoi o'r wlad a byw mewn deoliad. Ond yn anffodus i'r ddwy dybiaeth, yn yr *Arch. Camb.*, vol. xv., pp. 380-1, dywedir y *tybir* fod Meredydd yn dal rhyw swydd dan Esgob Bangor, iddo ffoi o herwydd iddo ladd ynad Gogledd Cymru—William de Sutton; ond i un Kenrig ap Madoc, yr hwn oedd yn gyfranog yn y trosedd gael ei grogi am hyny yn 1425; ac fod Meredydd yn flaenorol i 1392 yn dal swydd bwysig dan

y Goron yn Sir Fôn. Ond pa beth bynag a allai fod yr achos, nid oes grybwylliad am Meredydd yn y cywydd hwn.

Y mae Iolo yn enwi y meibion bedair gwaith, gan roddi pob un o honynt yn gyntaf; gyda'r amcan, yn ddiammeu, o ochel rhoddi y flaenoriaeth i'r un o honynt Y mae trwy hyn yn gwneyd y gorchwyl o benderfynu eu safle o hynaf i ieuengaf yn anhawdd. Er mwyn hwylusdod, gosodwn hwynt yma yn y pedair ffordd, gan eu cymharu â rhestr Chevalier Lloyd yn *Hist. Powys Fadog*, vol. ii., pp. 134-5 :—

| Iolo Goch. | | | | Chevalier Lloyd. |
|---|---|---|---|---|
| 1 | 2 | 3 | 4 | |
| Gronwy | Rhys | Ednyfed | Gwilym | Goronwy |
| Rhys | Ednyfed | Gronwy | Gronwy | Ednyfed |
| Ednyfed | Gwilym | Rhys | Ednyfed | Gwilym |
| —— | —— | —— | —— | Maredydd |
| Gwilym | Gronwy | Gwilym | Rhys | Rhys |

Nid ydyw y daflen achyddol yn yr *Arch. Camb.*, vol. xv., yn cytuno â'r un o honynt, gan ei bod yn eu gosod yn y drefn a ganlyn:—Gronw Fychan, William, Rhys, a Meredydd ap Tudor. Mewn canlyniad y mae yn lled anhawdd penderfynu y naill ffordd neu'r llall.

Ond y maent oll yn cytuno i osod Gronw yn gyntaf. Ymddengys oddi wrth y cywydd mai ym meddiant Gronw yr oedd Penmynydd. Yn ol yr *Arch. Camb.*, vol. xv., pp. 290-1, yr oedd Gronw mewn cryn ffafr gydag Edward y Tywysog Du, yr hwn a'i penododd dros ei fywyd i'r swydd a elwid *Forester of Snowdon*, am y cyflog o 7c. yn y dydd, neu £10 13s 0d yn y flwyddyn. Cadarnhawyd y penodiad gan Richard II., yr hwn, yn 1381, a'i gwnaeth yn gwnstabl Castell Beaumaris am y cyflog o 40 o forciau yn flynyddol,— ond ei fod ef dan orfodaeth i dalu i'r caplan, yr is-gwnstabl, a gwyliwr. Ond ni fu byw i fwynhau y swydd. Bu farw, trwy foddi, ddydd Sul, Mawrth 23, 1382. Mewn cywydd a gyfansoddwyd gan Gruffudd ap Meredydd (*Myv. Arch.*,

p. 301) awgrymir iddo foddi mewn canlyniad iddo ef, neu rywun arall, yfed gormod:—

" O'i ddirfedd a ddarfu
Ai arfau ymrwydr a orfu
A wyr ddrwg llwyr am ddraig llu
Bu dygn bid ogylch dolur
Am fleinaid gwengad gwingar
Boddi draig bleiddiad ragor
Baedd yn aer byddin eryr
Llawer och ior llawhir oedd."

Yn ol Mr Edward Breese (*Kalendars of Gwynedd*, p. 122), penodwyd Gronw ap Tudur yn gwnstabl Castell Beaumaris, Mawrth 18, 1382, am y cyflog o £40 yn y flwyddyn. Yr oedd i fwynhau y swydd am ei oes. Ond dywedir i Baldwin Radyngton ei olynu fel cwnstabl ar y 25ain o'r un mis—sef ym mhen deuddydd ar ol i Gronw foddi. Yr oedd penodiadau swyddogol, fel y gallem dybied, yn cael eu gwneyd mewn mwy o frys y pryd hwnw nag yn awr. Diammeu fod helyntion terfysglyd yr amseroedd yn galw am hyny.

Y mae yn amlwg mai marwnad iddo ef a ganodd Llywelyn Goch ab Meurig Hen (*Myv. Arch.*, p. 344), yn yr hon y dywed —

Gwae fyth gwr geir-syth gwyr gorsedd ei wlad
Gronwy o'i ddygiad gwae rianedd
Gwae bybyr aerwyr oerwedd eu chwarae
Gwae a bod lle mae eu llyw ym medd

. . . . . . . .

. . . . . . . . .

Yth ddifrawd arnam ath ddyfredd ath ddwg
Ath ddihinaw drwg ath ddihinedd."

Ceir cyfeiriadau gan Gruffudd ap Meredydd yn gystal a chan Llywelyn Goch at wrhydri Gronw yn Ffrainc, o bosibl yn amser y Tywysog Du.

Yr oll a wyddom am Ednyfed ydyw mai efe oedd yn meddiannu Tref Castell yng Nghwmmwd Tindaethwy, a Thref Gwenhelyth, yng Nghwmmwd Llifon; ac iddo adael ar ei ol ddwy ferch, Angharad a Myfanwy. Priododd Angharad Ieuan ab Adda ab Iorwerth Ddu ab Ednyfed Gam, o lys Pengwern yn Nanheudwy, o'r hwn yr hanodd teulu Mostyn (*Hist. Powys Fadog*, vol. ii., p. 135). Y mae awdwr yr erthygl a nodwyd yn yr *Archæologia Cambrensis* yn dyfynu o waith Richard Llwyd, yr hwn a ddywed mai Ednyfed oedd perchenog Tref Castell, ac i'w ferch briodi fel y dywedir uchod; ond y mae awdwr yr erthygl ar yr un pryd yn ammeu hyny. Ond y mae y cywydd canlynol yn ddigon o brawf o fodolaeth Ednyfed, ac mai efe oedd perchenog Tref Castell.

Ni ddywedir wrthym ym mha le yr oedd Gwilym ap Tudur yn byw, ond yn ol Iolo yr oedd ganddo gartref cysurus ym Môn, yr hwn a ddysgrifia fel—

"Llys Wilym lle llysieulawn
Llewpart aur lle parod dawn."

Ond yr oedd Rhys, chwedl yntau, yn byw yn "aur-ddreiniog"=Arddreiniog; a hysbysir ni ym mhellach gan y Chevalier Lloyd ei fod yn berchenog Arddreiniog a Thref Gayan; iddo farw yn 1412, a'i gladdu ym meddrod y teulu yn Bangor. Gadawodd ar ei ol ferch, Gwerfyl, yr hon a briododd Madog ab Ieuan ab Einion ab Howel fab Gruffydd ab Howel o'r Aber Cyn, plwyf Llanystumdwy (*Hist. Powys Fadog*, vol. ii., p. 135). Tybia awdwr yr erthygl yn yr *Arch. Camb.* mai cefnder oedd Rhys o Arddreiniog i blant Tudur Fychan; "er," fel yr ychwanega, "fod gan Tudur fab o'r enw Rhys, ac un arall o'r enw William." Ond y mae yn amlwg na welodd yr ysgrifenydd erioed y cywydd canlynol o waith Iolo Goch.

Bu Gwilym (William) a Rhys ap Tudur yn gadbeniaid y saethyddion (*captains of the archers*) yng ngwasanaeth Richard II.; ac fel y cyfryw penododd y brenin, yn 1399,

flwydd-dâl o £10 yr un iddynt am eu hoes. Pan yr aeth y brenin i'r Iwerddon yn y flwyddyn hono, yr oedd Owain Glyndwr a'i gefnderoedd, Gwilym a Rhys, yn gadbeniaid yn ei fyddin; ac yr oeddynt ym mhlith y rhai a aethant gydag ef i Gonwy, ychydig o ddyddiau cyn ei ddiorseddiad. Wedi i Owain Glyndwr godi fel gwrthryfelwr, trodd ei ddau gefnder, fel y gallasem ddysgwyl, i'w bleidio. Cymmerasant feddiant o Gastell Conwy; ond gorfodwyd hwynt, yn 1401, i roddi y castell i fyny i Hotspur. Ond ymddengys iddynt barhau yn ffyddlon i Glyndwr wedi hyny, o blegid yn fuan drachefn dywedai Hotspur fod y Cymry yn heddychol heb law William ap Tudur a gwrthryfelwyr ereill ym mynyddoedd Gogledd Cymru. Ac yn 1406, yr oedd y ddau frawd yn dystion i ysgrif trwy yr hon y rhoddai Owain Glyndwr faddeuant i un Ioan ap Hywel ap Iefan Goch.

Y mae yn anhawdd penderfynu, o fewn rhyw ychydig o flynyddoedd, pa bryd y cyfansoddwyd y cywydd canlynol. Ond y mae yn amlwg iddo gael ei gyfansoddi ryw bryd rhwng marwolaeth Tudur ab Gronw, eu tad, yn 1367, a marwolaeth Gronw Fychan, yn 1382.

Mynd yr wyf i dir Mon draw
Mynych im ei ddymunaw[1]
I ymwybod[2] a meibion ymwybod !
Tudur fy Naf Mordaf Môn[3]

[1] Fel y gellir casglu oddi wrth rai cyfeiriadau yn y cywydd, nid oedd Sir Fon yn gwbl ddyeithr i Iolo; ond y mae y llinellau hyn yn awgrymu nad oedd wedi ymweled â'r ynys, neu o leiaf â phreswylfeydd y brodyr, er pan fu farw eu tad, er ei fod wedi dymuno hyny lawer gwaith.

[2] Yr oedd y copïwr yn synu at y gair "ymwybod," fel y gwelir ar ymyl y ddalen. Ond, fel y sylwa *R.J.*, y mae y gair ynddo ei hun, heb law ei fod yn gwasanaethu dybenion cynghanedd, yn un eithaf priodol. Gesyd allan y meddylddrych fod y bardd yn ymweled â'r meibion er ffurfio cydnabyddiaeth â hwynt.

[3] Yn y llinell hon y mae Iolo yn cyfeirio at eu tad fel ei "Naf" (=arglwydd); ac yn ei osod allan fel un haelionus, trwy ei gyffelybu i Mordaf Hael, yr hwn a flodeuai yn y bummed ganrif, yr hwn a restrir gyda Rhydderch a Nudd fel "Tri thywysog hael ynys Prydain.'

Gronwy Rhys ynys Hynaif[1]
Ednyfed Gwilym lym laif,
Rhys, Ednyfed roddged rwy[2]
Gwaywlym graen[3] Gwilym Gronwy,
Ednyfed Gronwy rhwy Rhun[4]
Rhys Gwilym ail rhwysg Alun,
Gwilym Gronwy yw'n Gwaladr
Ednyfed rhoes ged Rhys gadr,
Pedwar eglur pedroglion
*Angelystor*† gar mor Môn[5]
Pedwar Nudd[6] Pedr i'w noddi[7]
Poed ar awr dda mawr i mi,
Pedwarmaib pwy ai dirmyg ?
Plaid ni ad arnaf un plyg
Iaith *ofigion* iaith *fuged*[8]
Gwynedd, pedwar cydwedd ced

† Angelystor *Evangelist.* I.M.

[1] "Hynaif" = hynafiaid ; ond o bosibl na ddefnyddir y gair yma yn yr ystyr o *reolwyr* neu *lywodraethwyr*.

[2] "Roddged rwy" – yn hael o'i roddion—yn eithafol felly.

[3] "Graen" = eondra.

[4] Yr oedd amryw yn dwyn yr enw hwn. Hwyrach mai at Rhun fab Maelgwn Gwynedd y cyfeirir ; yr hwn a restrir yn y Trioedd fel un o dri "Gwyndeyrn" ac fel un o dri "Aurhualogion" Ynys Prydain.

[5] Yr oedd y pedwar mab, fel y gallem dybied, yn byw fel ag yr oedd eu preswylfeydd yn ffurfio math o bedrogyl (*quadrant*) ; a chyffelybir hwynt i'r pedwar efengylwr. Ond o bosibl mai y tebygolrwydd mwyaf rhyngddynt â'r rhai hyny oedd eu rhif. "*Angelystor*, 'Evangelista.' A corruption of *evangelistor.*" (*Elucidarium*, p. 265).

[6] Rhag nad oedd wedi rhoddi ar ddeall fod y brodyr o duedd haelionus, y mae yn cyffelybu y pedwar i Nudd Hael.

[7] Yr oedd, ac y mae, y Pabyddion yn ystyried nawdd Pedr yn hynod o bwysig, ac yn un o'r bendithion mwyaf.

[8] "Plaid ni âd im ddim plyg
Iaith o figion, iaith fyged."
*R.J.*

Sylwa *R.J.* fod yn amlwg fod y llinellau hyn wedi eu llygru, ac fod yn ammhosibl eu deall fel y maent wedi eu hysgrifenu. Yr ydym yn cwbl gytuno ag ef ; ond dymunem awgrymu fod "ofigion" yn deilliaw o *gofydd* = rheolaidd ; a "fuged" o *gofyged* = urddasol.

Plant Tudur fy eryr fu[1]
Paunod haelion penteulu,
Aerfa llu ar for lliant[2]
Aur dorllwyth yw'r blaenffrwyth blant
Teirw ergryd *harllyd* eurllin[3] qu. haerllyd? I.M.
Terydr aer taer ar y drin,
Gwalchyddion Brodorion brwydr
Gwelydr[4] wiw ergrydr eurgrwydr
Barwniaid heb arynaig[5]
Beilchion blanigion blaen aig[6] aig !
Cangau'r corf *cynhyllorfion*[7]
Calonnau emylau Môn
Mon yr af,[8] dymunaf reg[9]
Mynydddir manwëeiddddeg[10]

[1] Dangosir yma fod y cyfeillgarwch rhwng Iolo a'u tad yn fawr, a'i fod yn ei barchu yn anghyffredin.

[2] Yn llythyrenol—"Brwydr y llu ar fôr llifeiriol." Ond y mae yn anhawdd gweled pa gyssylltiad sydd rhwng y llinell â'r hyn sydd o'i blaen neu ar ei hol. Y mae y diffyg hwn, sef diffyg trefn ac eglurder, yn nodweddiadol o'r beirdd yn gyffredin. Ac yr oedd Iolo Goch yn llawn mor barod ag un o honynt i wthio brawddegau anghyssylltiol i mewn i'w gywyddau. Y mae y cyssylltiad, feddyliem, rhwng y llinell hon â llinell 25.

[3] "Teirw ergryd haerllyd eurllin."—*R.J.*

"Ergryd" o ergrydr: teirw haerllyd (=ystyfnig) yn achosi i'r [gelynion] grynu trwy eu hegniad diflino yn y "drin" (=brwydr).

[4] "Gwelydr" — y lluosog o *gwaladr*=rheolwr, neu arweinydd.

[5] "Heb arynaig"=heb ofn.

[6] "Aig"—y lluosog o eigion=moroedd.

[7] "Kangau llorf kyngyllorion." *Add. MS.*, 14,882.

Ond tybiwn mai y testyn ydyw y cywiraf; gan ein bod o'r farn mai wrth "corf" y golygir y colofnau hyny oeddynt yn gwahanu rhwng y rhan uchaf a'r isaf yn neuaddau tywysogion Gwynedd; a'r "cynhyllorfion" oedd y cyssylltiadau, mae'n debyg, oedd yn eu dal wrth eu gilydd.

[8] Pe buasai rhywun llai na bardd yn ysgrifenu y frawddeg hon, heb yr arddodiad *I*—I Mon yr af—buasid yn ei gondemnio yn llym. Ond er mwyn i'r llinell fod yn ei hyd, yr oedd yn rhaid gadael yr arddodiad allan ac aberthu y synwyr.

[9] "Reg"=anrheg. Yr oedd Iolo ai olwg a'r ryw anrheg neu gilydd i ba le bynag yr elai.

[10] "Manweidd deg."—*Add. MS.*, 14,882.

"Manwedd deg"—*of a subtle and fine quality.*

Buarth clyd i borthi cler,
Heb wrthod neb a borther,
*Clyswriaeth*[1] deg glwys oror
Clost aur mae'n clust daro'r mor[2]
Mam Wynedd[3] mae im yno
Geraint[4] da eu braint i'w bro
Cyntaf lle'r af llew a rydd
Caer pen Mon carw Penmynydd[5]
Ty gweles gynt teg wiwle
Tudyr Llwyd da ydyw'r lle,[6]
Yno mae heb gae[7] ar ged
Ail drigaint Aelwyd Reged,[8]
Gâr[9] da iawn gwr di anhoff
Gronwy loyw Saffwy[10] lys hoff,
Arwain a wnaf i'm eurwalch
Wayw a phenwn[11] Barwn balch,

[1] Ai nid "clwyswriaeth" (=*enclosure*) a ddylai y gair hwn fod? Gan mai ynys yw Môn, wedi ei chau i mewn gan y môr, nid ydyw yn ammhriodol.

[2] Ofnwn fod y llinell hon yn wallus; fodd bynag, y mae yn annealladwy i ni.

[3] Nis gwyddom pa mor hynafol yw yr enw "Môn, mam Cymru"; ond geilw Iolo hi yma, er, o bosibl, yn ddamweiniol—yn *Fam Gwynedd.*

[4] Nid ydyw y gair "ceraint," o angenrheidrwydd, yn golygu *perthynasau;* o blegid defnyddir y gair fel yn gyfystyr â *chyfeillion.* Yn yr ystyr yma y defnyddir y gair yn Nhestament Salesbury (Matt. xi., 19):—"Wele ddyn glwth, ac yfwr gwin, car ir Publicanot a' phechaturieit."

[5] Saif Plas Penmynydd presennol, yr hwn sydd adeilad o'r arddull Elizabethaidd, yn yr un fan ag y safai yr hen -ym mhlwyf Penmynydd, ym Môn. Ei berchenog yn awr yw Ardalydd Môn, yr hwn a'i prynodd yn ddiweddar gan Syr Richard Bulkeley, o'r Baron Hill.

[6] Yn ol y llinellau hyn, er yr ystyrir mai yn Nhref Castell y cartrefai Tudur, awgrymir ei fod ar brydiau, neu ar ryw adeg o'i oes, wedi bod yn preswylio yn Penmynydd.

[7] "Heb gae"=heb gauad, neu derfyn, ar ei roddion.

[8] Cyfeiriad sydd yma, er nas gallwn weled y priodoldeb, at Urien Rheged, rhyfelwr enwog a flodeuai yn y rhan olaf o'r bummed ganrif.

[9] Câr=cyfaill.

[10] Saffwy=picell (=*lance*).

[11] Penwn=baner.

Ai darged bennadurgorph
Gydag ef i gadw ei gorph,
Y fo nid rhaid ofni tryn[1] Tryn ! plur. a trenn. I. Morg.
Ag Iolo yn ei galyn,
Af lle'dd wttresaf[2] at Rys
Aurddreiniog[3] urddair Ynys.
Ai drysorau dros ariant
Ei Faer coeth wyf fe wyr cant[4]
Car o'r gwaed yn caru'r gwr
I Rys wyf yn Rysefwr[5] rysyfwr *in al.*
Arddelw[6] arnaf aur ddolef,
Olud oll ei weled ef,
Nid pell Tre'r Castell[7] cell ced
Tud nefol Tai Ednyfed,
Ei fenestr wyf fi yno,
Ei faer fyth fy aur yw fo.[8]

[1] "Tryn" = *ardency, fierceness.* Dichon mai y meddwl yw, nad oedd raid i Ronw ofni unrhyw elyn. Ond y mae y llinell ddilynol iddi yn aneglur i ni—"Ag Iolo yn ei galyn." Gallasem dybied fod y bardd yn ystyried ei hun yn gryn ryfelwr, ac y buasai yn profi yn amddiffynydd glew i'w gyfaill.

[2] "Wttresaf" = gloddestaf : hyny yw, oddi wrth Gronw yr oedd y bardd yn bwriadau myned i loddesta at ei frawd Rhys.

[3] "Aurddreiniog"=Arddreiniog, yn yr hwn le, fel y sylwyd, y dywedir fod Rhys yn preswylio. Ond nid oes y fath breswylfod ag Arddreiniog yn cael ei adnabod ym Môn yn awr ; a methasom a chael allan y lle y safai. Ond y mae tref ddegwm Arddreiniog ym mhlwyf Trefgayan. A saif Plas Tref Gayan, lle arall perthynol i Rhys, ym mhlwyf Tregayan ; ac y mae y plwyf mewn rhan yng nghwmmwd Tindaethwy ac mewn rhan yng nghwmmwd Menai, ond yn Neoniaeth Malltraeth. Perchenog presennol Tref Gayan yw yr Uch-gadben Lloyd.

[4] Ym mha ystyr, wys, yr oedd Iolo yn ystyried ei hun yn "faer," neu oruchwyliwr, i Rhys ?

[5] Nid ydym yn cael na "rysefwr" na "rysyfwr" yn ein geirlyfrau ; ac nis gallwn ddyfalu beth a allasai fod meddwl y bardd, os nad rhywbeth tebyg i ei fod "yn caru Rys yn angherddol."

[6] "Arddelw" = hawlio.

[7] Saif Tref Castell ym mhlwyf Penmon, yng nghwr gogledd-dwyreiniol yr Ynys. Yn amser Iolo Goch yr oedd yn breswylfod Ednyfed ab Tudur ; ond ei berchenog yn awr ydyw Mr Herbert Williams.

[8] Ai geiriau cwbl ddiystyr ydyw y rhai hyn, sef fod Iolo yn "ffenestr" ac yn "faer" i Ed-

Caf yno heb *gweisio* gwell[1] nid gweisio *in al.*
Cystal ag yn Nhre'r Castell
Ol a gwrthol i'm gorthir
A wn at Rys,[2] gwys y gwir,
Ar draws Môn o dy Rys mwy
Di'rynaig[3] i dy Ronwy
O Dy Ronwy da'r Ynys
Da ryw ymchwelai i dy Rys[4]
O dy Rys dur ei aesawr[5]
I dy Wilym[6] mynd elw mawr,
Llys Wilym lle llysieulawn
Llewpart aur lle parod dawn
Anwyd rhag yno trigaf[7]
Yn y nef pand iawn a wnaf,[8]

nyfed? Ynte, a oedd y bardd yn ystyried ei hun o ryw wasanaeth iddo, fel cyfrwng gwybodaeth, difyrwch, neu mewn rhyw ddull arall?

[1] Tebyg mai "geisio gwell" sydd gywir.

[2] Gallwn dybied fod yma ryw wall. Ond y mae yn eglur fod y bardd yn bwriadu myned yn ol drachefn o Dref Castell at Rhys i Arddreiniog; ac yn ol y llinellau dilynol, ar ol blino yr ail waith ar Rhys, arfaethai fyned unwaith yn rhagor at Gronw i Benmynydd. Fe gofir mai traethu cynllun o'i ymweliad bwriadedig, cyn cychwyn oddi cartref, y mae y bardd. Yn ol y cynllun hwn, yr oedd yn bwriadu aros yn hir ym Môn, os nad am dreulio ei oes yno; ac yr oedd am ranu ei amser rhwng preswylfeydd y pedwar brawd. Nid oes genym hanes iddo roddi y bwriad hwn mewn gweithrediad; ond y mae yn ddigon amlwg mai nid yno y treuliodd y gweddill o'i oes.

[3] "Di'rynaig" (di arynaig)=yn ddiofn.

[4] Dyma y trydydd ymweliad â thŷ Rhys.

[5] "Aesawr"=tarian.

[6] Y mae Iolo, *mewn bwriad*, wedi ymweled ddwywaith â Gronw, teirgwaith â Rhys, unwaith ag Ednyfed; a dyma efe yn awr, am y tro cyntaf, yn myned i ymweled â Gwilym, ac yn bwriadu aros yno yn lled hir. Yn anffodus, nid ydyw yn rhoddi enw y tŷ lle yr oedd Gwilym yn byw.

[7] Mwy dealladwy o lawer a fuasai "Rhag anwyd yno trigaf."

[8] Credwn mai gwell ydyw y darlleniad a geir yn *Add. MS.*, 14,940 :—

"Yn y nef ac iawn a wnaf."

Ymddengys ei fod yn ystyried "Llys Wilym" yn lle hyfryd.

Trefn Glorach[1] trafn goleuryw,
*Tref* yw o Fon tra fwy fyw.[2]
Iolo Goch ai cant.

[1] Nid oes air o'r fath yn ein geirlyfrau. Ai nid "clerach" a ddylasai fod. Y mae y gair "trafn" (=cylch ?) yn awgrymu hyny. Ac os cywir y dyfaliad hwn, bwriadu myned i Fôn ar *gylch clera* yr oedd Iolo.

[2] Er fod rhyw beth yn ddigon trwstan yn y darlleniad a geir yn *Add. MS.*, 14,940, eto credwn ei fod yn llawn cystal a'r testyn :—

"Tariaf i Fon tra fwy fyw."

Ond gwell fyddai—"Tariaf ym Môn tra fwy fyw."

## XXVI.

## KOWYDD BARNAD MEIBION DUDUR AP GRONW O BENYMYNYDD.

---

(*O'r Add. MS., 14,889, fol. 28*).

Y mae y penawd yn yr ysgriflyfr hwn mor ddrylliedig fel nas gellir darllen dim ond " . . . . arwn . . . . ap gro . . . . ;" ond ceir ef yn *Add. MS.*, 14,978, fol. 11, dan y penawd "Kowydd barnad meibion Dudur ap Gronw o Benymynydd." Drwg genym fod y ddau ysgriflyfr mor ddrylliedig fel ag y mae amryw o'r llinellau yn annarllenadwy. Achosa hyn gryn lawer o anhawsder i ddeall y cywydd; yr hwn, fel y gellir tybied, nid oedd ar y goreu yn un o'r rhai hawddaf. Yn y rhestr o weithiau Iolo Goch a geir yn y *Cambrian Journal*, 1854, p. 274, cyfeirir ato dan y penawd—"Marwnad Tudur ab Gronw, 1315." Ond credwn y ceir ynddo ddigon o brawf na fwriadwyd mo hono fel marwnad i Tudur ab Gronw, ond yn hytrach ar ol ei feibion. Gallem dybied i farwolaeth Ednyfed gymmeryd lle yn fuan ar ol boddiad Gronw, yn 1382. Nid ydyw Gronw yn cael ei enwi yr un waith yn y cywydd, o leiaf yn yr ysgriflyfrau o'n blaen, ond enwir Ednyfed ddwy waith:—

"Boed yn nêf i bo Ednyfed"—llin. 29.
"Aed i nef ag Ednyfed
i frawd vu giwdawd vu ged"—llin. 95-6.

Ond wedi'r cyfan, credwn fod yma gyfeiriadau hefyd at farwolaeth Gronw.

Yn y drydedd linell, gwelwn i'r amgylchiad a achlysurodd y cywydd hwn gymmeryd lle oddeutu'r Pasc; a chan mai ar y 23ain o Fawrth y bu farw Gronw, tybiwn y gallasai hyny fod yn agos i'r Pasc. Rhoddir ar ddeall i ni hefyd i'w

farwolaeth gymmeryd lle yn "Swydd Gent," a hyny trwy foddi, a cheir rhyw grybwylliad aneglur at "Gent" ym Marwnad Llywelyn Goch ab Meurig Hên i Gronw (*Myv. Arch.* p. 345). Yn yr ail linell o'r cywydd, enwir Penmynydd, preswylfod Gronw, tra mai yn Nhref Castell—yr hwn le ni enwir o gwbl—yr oedd Ednyfed yn byw.

Ar ol darllen y cywydd yn fanwl lawer gwaith, yr ydym yn dyfod i'r penderfyniad naill ai i'r ddau frawd foddi yr un amser, ac hwyrach gyda'u gilydd, neu ynte i Ednyfed farw, trwy amgylchiadau lled debyg, ym mhen blwyddyn neu ddwy ar ol ei frawd, ac i hyny ddygwydd tua'r un amser ar y flwyddyn. Y mae llin. 5 o'r braidd yn ffafrio y golygiad olaf:—"Tebig iawn or tro bv gynt." Ond, beth bynag am gywirdeb y tybiaethau hyn, yr ydym yn dra sicr nas gall y cywydd fod yn farwnad i Tudur ab Gronw, nid o ran nas gallasai y bardd fod wedi cyfansoddi mwy nag un iddo—yr hyn oedd yn dygwydd yn aml—ond am y rheswm i Gronw ac Ednyfed oroesi eu tad, ac am danynt hwy y sonir yma. Nis gellir amseru y cywydd yn gynnarach na 1382.

Llyma le diffaith weithion
llys rhydd[1] ym hen mynydd mon
2 llyma basg lle mae llwm bardd
llef digys wedi llif digardd[2]
3 tebig iawn or tro[3] bv gynt
Tudur ai blant da ydynt
4 ydi'w'r llŷs wedi 'r llysv
ir vanachlog ddonniog ddv[4]

[1] "Llys rydd ym hen mynydd mon."—*Add. MS.*, 14,978.

[2] "Llyma basc llei mae yn llwm bardd
lle digys wedi lli digardd."
*Add. MS.*, 14,978.

"Digys" (=digus)=annymunol: ond pa un ai y "llef" ynte y "lle" oedd yn annymunol? Golyga "digardd," yn ol Pughe, rywbeth sefydlog="*not straying, not transgressing.*" Ond pa fodd y mae yn briodol cymhwyso hyny at y "llif" sydd ormod o orchwyl i ni i'w egluro.

[3] "Ty."—*Add. MS.*, 14,978.

[4] Y darlleniad yn ol *Add. MS.*, 14,978, ydyw:—
"Ydyw llys wedir lle ffu
ir fynach log ddaniel ddu."

5 wynebae trist vn abyd
vn sud a brawd ansawd bryd[1]
6 ag vn wedd gynav i wŷr
ydiw pawb oi dai pybyr[2]
7 Vn lifrai vn alofrudd[3]
a brodyr pregethwyr prudd[4]
8 Knottach[5] oi law iddaw oedd
ar wyl fry roi lifreioedd
9 o'r brethynnav brith hownaid[6]
ag or gwyrdd gore a gaid
20 i gerddorion breisgion brisg
i glerwyr na'y alarwisg
21 hwyl ddvfvhavl Iddewon
vdo mawr[7] sydd ar hyd mon
. . . . . . . . . . , .
. . . . . . . . . . . .
[8]. . . Rys a gwilim
. . . . wybod dim[9]

A cheir y nodyn camarweiniol a ganlyn ar ymyl y ddalen:—
"Mynachlog Bangor a adeiladodd Tudur ap Grono 1301, lle y claddwyd ef 1311."

[1] Anhawdd yw gwneyd allan y meddwl, ac nid ydyw y darlleniad yn *Add. MS.*, 14,978 ddim cystal:—
"Wynebau trist un a bud
vu sud abyrawd anssawd brud."

[2] "Ydyw pawb oi dai pubyr."
*Add. MS.*, 14,978.

[3] "Un a lofrydd."
*Add. MS.*, 14,978.

[4] Tybiwn mai yr hyn a geisir ei ddangos yn y llinellau amleiriog uchod ydyw fod y bobl yn drist eu gwynebau, ac fod arwydd galar i'w weled ar eu gwisgoedd—gwisgoedd duon fel pregethwyr, neu y brodyr duon.

[5] "Knòttach" = (o gnotaû) — arferol.

[6] "Hownaid" = wedi eu gwnïo yn fras? Y mae "hownïo" yn air cyffredin yn Sir Drefaldwyn.

[7] "Hwyl ddvfvhavl i ddewon
hud mawr sydd ar hyd mon."
*Add. MS.*, 14,978.

[8] Yn blaenori y llinell hon yn *Add. MS.*, 14,978, ceir:—
"Kell llwyd wedi colli i lliw
odidog o fyd ydyw."
Ond y mae yn amlwg fod yma linellau yng ngholl; ac nid oes modd deall y cyssylltiad.

[9] "Gweled am rys a gwilim
abid fu heb wybod tim."
*Add. MS.*, 14,978.

24 ar ol y krefydd irioed
kwfaint[1] o feibion kyfoed
25 boed yn nêf i bo Ednyfed[2]
mon aeth y sowaeth[3] yn sied[4]
26 Hwn a fv farw garw gyffro
gida i frawd a gadv i fro[5]
27 gwae fon am i meibion maeth
gwasgarog fydd gwaisg hiraeth
28 gosgeiddfawr[6] weilch gwaith addfwyn
gwasgodion gwyr dvon dwyn[7]
29 hardd oeddynt y'm morwynt mur[8]
gwragedd mon ai gorevgwyr
20 ner aethant oerfant arfoll
mal ellyllon eillion oll[9]
22 nid marw vn gwrda y môn
diav[10] heb wisgoedd dvon
yr ynys . . well[11] kell kerdd
22 i gelwid môn wegilwerdd[12]

[1] "Kofaint" (= "cwfent" yn y lluosog = *convents*), mae'n debyg, sydd gywir; a "kofaint" a geir yn *Add. MS.*, 14,978. Dysgrifir meibion Tudur yma fel rhai nodedig o grefyddol.

[2] "Boed y nef y bo ednyfed." *Add. MS.*, 14,978.

[3] Ysywaeth = mwyaf gresyn.

[4] "Ssied."—*Add. MS.*, 14,978. "Shed" llygriad o *escheat* = fforffed.

[5] "Hwn wnaeth farw garw gyffro
gida i frawd i gadw i fro."
*Add. MS.*, 14,978.

Er yr ymddengys y ddau ddarlleniad yn wallus, gellir casglu mai bwriad y bardd oedd cyfleu y ffaith fod y ddau frawd wedi marw.

[6] "gosgeiddfawr" = lluniaidd:— "Gwasgeddfawr" yn *Add. MS.*, 14,978.

[7] "gwasgeddfawr weilch gwaisc addwyn
gwasgodion gwyr duon dwyn."
*Add. MS.*, 14,978.

[8] "Myr."—*Add. MS.*, 14,978. Diammeu mai "myr" = *moroedd* a feddylir.

[9] "Am ner aethant oerfant arfoll
mal y llyllon eillion oll."
*Add. MS.*, 14,978.

Y mae yma, gallem feddwl, grybwylliad am ryw wledd (= "arfoll") yr hon fu yn achlysur o'r trychineb.

[10] Ceir yn y llinell hon gyfeiriad at wisgo galar-wisgoedd.

[11] "Dowell."—*Add. MS.*, 14,978.

[12] Y mae Rowlands (*Mona Antiq. Restaur.*, p. 24), yn dadleu mai yr ynys hon a elwid gan y Rhufeiniaid

Llwyr i kafas llawr kyfvn
i chyfenw[1] ai henw i hvn[2]
y dydd tegkat[3] haf hinon
nos fyth yn ynys fon[4]
. . . . . . . . .
a fydd nos hir o fowddwy[5]
mae ky mmwl val mwg gwymon
26 mal klipse i mi y mon[6]
hwyntav oll yn towyllv
27 ni wyl dŷn ond y niwl dv[7]
eithr eulun mai uthyr olwg
28 megis edrych mewn drych drŵg[8]
y ddayaren oedd aravl
29 drwg hvn wedi dvo 'r havl[9]
30 Y dydd mawr des ydoedd mwy
i ddoethant i Dindaethwy/[10]

yn *Ultima Thule*, yr hyn, medd efe, sydd gyfystyr â "Y Fôn Dywell"—sef y Fôn (bellaf) = *Ultima*, a Thywyll = *Thule*. A dywed ei bod yn dywell o herwydd amlder ei choedwigoedd, y pryd hwnw, yn nirgelfanau y rhai yr adeiladai y Derwyddon eu hallorau. Pa fodd bynag, y mae damcaniaeth Rowlands wedi bod amryw o weithiau dan feirniadaeth lem.

1 "I lyshenw."
*Add. MS.*, 14,978.

2 Y mae y bardd yn dangos fod yr enw "Ynys dywell" a gafodd gynt yn lled briodol iddi yng ngwyneb yr amgylchiad oedd newydd gymmeryd lle.

3 "Tekaf."—*Add. MS.*, 14,978.

4 "Fydd nos fyth yn ynys fon."
*Add. MS.*. 14,978.

5 "Y dydd tekaf haf hwy
a fydd nos hir o fowdwy."
*Add. MS.*, 14,978.

Nid ydym yn gwybod pa gyssylltiad oedd rhwng meibion Tudur â Mawddwy, heb law mai gŵr cyntaf eu mam oedd William ap Griffith de la Pole, Arglwydd Mawddwy.

6 "Mae kwmwl fal mwg kwymon
mal tylipssi i mi y mon."

Nis gwyddom pa beth sydd i'w feddwl wrth "tylipssi," neu "klipse"—os nad *eclipse*, yn yr ystyr o ddiffyg ar yr haul, neu ar y lleuad. Os felly, awgryma y bardd fod Môn wedi tywyllu ar ol marw y rhai hyn.

7 "Hwyntav oll yn tywellu
ni wyl dim mwg no niwl du."
*Add. MS.*, 14,978.

8 "Eithur eulun mae uthur olwg
megis edrych mewn drych
drwg."—*Add. MS.*, 14,978.

9 "Y ddayaren oedd a rayl
drwy i hvn wedi duor haul."
*Add. MS.*, 14,978.

10 "O doethant i din daethwy."
*Add. MS.*, 14,978.

32 gorddv gennym ag arddwl
gweled pawb val gwibiaid pŵl
32 Di wyl iawn di oleini
Doeth blwyddyn yn ing i ni
33 kolli genym kell gwynedd
kell gwleddav biav y bedd[1]
34 kellav oer kell anweirys[2]
kell y glew kelliwig lys[3]
35 kâr par paladr d . . . delld
gafael fawr gwayw o foelfelld[4]
36 o ragor ni orevgvg
oer ged iw dynged ai dv̂g[5]
32 Di fwyn y tair morwyn .
a fv lysfam aflesvawr[6]
. . . . . . . . . .
. letys lateisys liwtes[7]
oerffordd i kowson orffen
o hvd waith i hede wen[8]
40 ni ryfeddwn gwn ganwaith
pe boddai ar fenai faith[9]

[1] "Kolli gwin kolli Gwynedd
koll gwleddau biav y bedd."
*Add. MS.*, 14,978.

[2] Diau fod hwn yn wallus; ac nid ydyw "anwerys" yn *Add. MS.*, 14,978, yn ddim gwell.

[3] Celliwig, yn ol y Trioedd diweddaraf (*Myv. Arch.*, p. 410), oedd llys y Brenin Arthur yng Nghernyw:—

"Tair Priflys Arthur: Caerllion ar Wysg yng Nghymru; Celliwig yng Nghernîw; a Phenrynn Rhionydd yn y Gogledd; ac yn y tair hynny cynnal y tair Prifwyl Arbennig, nid amgen, y Nadolic, y Pasg, a'r Sulgwyn."

Celliwig hefyd sydd enw ar breswylfod yn Sir Gaernarfon.

[4] "Kar rag paladr dar dellt
gafael fawr gwayw pelfellt."
*Add. MS.*, 14,978.

[5] "O ragor ni orugug
oer ged ir dynged ais dug."
*Add. MS.*, 14,979.

[6] "Diswyn i tair morwyn mawr
a fu lysfam afleslawr."
*Add. MS.*, 14,978.

[7] "Klopes dewis dlos duwies
kletys leteissys liw tes."
*Add. MS.*, 14,978.

[8] "Orffwr i kowsson orffen
o hud waith i hedau wen."
*Add. MS.*, 14,978.

[9] "Ni ryfeddwn gwn ganwaith
pei boddai ar fenai faith
no ar for udd arfer oedd
penadur byd pan ydoedd."
*Add. MS.*, 14,978

42 ne ar for rudd arfer oedd
pennadur hyd pan ydoedd
42 braw eisoes oedd i bresent[1]
svddo i gorph yn swydd gent[2]
42 mewn pwll trydwll troyedig
i bv ar sadwrn dwrn dig
44 ai arwain ar elorwydd
llwgr fawr yn lloegr a fydd
45 o gaer Lûdd i drefydd draw
46 i gwrr môn goror manaw
i doeth at frawd llednoeth llwyd
47 oi Briddo[3] wb or breuddwyd
48 i lawr llan faes[4] elorwydd
gyfriw gorff bv gyfa r gwŷdd

Hyny yw, yr oedd y mab hwn i Tudur—pa un bynag ai Gronw ai Ednyfed a feddylir—mor anturiaethus fel na fuasai y bardd yn rhyfeddu dim pe buasai wedi boddi er ys llawer dydd ar y Fenai neu ar Fôr Udd (*English Channel*).

[1] "Braw eissoes oedd i bressent."
*Add. MS.*, 14,978.

[2] Gellir tybied oddi wrth y llinell hon i'r amgylchiad gymmeryd lle yn Sir Gaint; a hyny, fel y gwelir oddi wrth y llinell ddilynol, ar ddydd Sadwrn. Ond ar ddydd Sul y boddodd Gronw ab Tudur (Gwel uchod, tudal. 291).

[3] "I briddaw."
*Add. MS.*, 14,978.

[4] Llanfaes sydd blwyf yng nghwmmwd Tindaethwy, ym Môn. Adeiladodd Llywelyn ap Iorwerth Briordy yn y plwyf hwn at wasanaeth y Brodyr Llwydion—urdd Fynachaidd St. Francis. Ar derfyn y plwyf hwn y saif Tref Castell, yn yr hwn le y cartrefai Ednyfed ab Tudur. Yr ydym eisoes wedi sylwi mai ym Mynachlog Bangor, yr hon a berthynai i'r Mynachod Duon, yr oedd claddfa y Tuduriaid. Ond y mae y cyfeiriad a geir yn llin. 91, at frawd llednoeth (troednoeth?) llwyd, yn gystal ag fod Llanfaes yn cael ei nodi, yn profi i un o honynt o leiaf gael ei gladdu yno. Oddi wrth gywydd a gyfansoddwyd gan Gruffudd ab Meredydd (*Myv. Arch.*, p. 301), gellir tybied mai yn Llanfaes y claddwyd Gronw ab Tudur, o blegid cyfeiria yntau at y "brodyr troednoeth": –

"Menai mewn rhwym bedd mynor
Gwas glwysdewr mewn gwisg lafdur
Gwaith uwch gorwydd braisg breichir
Gwiw ei lafn gwayw Olifer
Gwawd hydr o lin gwaed Tewdwr
Dygn oedd roi post cost canrodd

Aed i nef ag Ednyfed
96 i frawd vu giwdawd vu gêd
Derbynnied ar bwynt dwys
y Brodyr i baradwys[1]

Iolo Goch ai kant.

Diriai Ffraingc mewn derw a phridd
Car glyw llyw llŷs Benmynydd
Cor brodyr troednoeth a'i cudd."

Ond y mae Iolo yn llin. 95 yn dwyn Ednyfed i mewn, ac o'i chyssylltu â'r ddwy linell olaf gellir tybied fod y ddau frawd — Gronw ac Ednyfed, mewn golwg gan Iolo. Pa ham yr oedd yn rhaid dwyn Ednyfed i mewn mwy na Rhys a Gwilym, os nad oedd rhywbeth wedi dygwydd iddo?

[1] "Derbyned tuw ar bwynt dwys
y brodur i byradwys."
*Add. MS.*, 14,978.

Yn ol syniadau y Protestaniaid, yr oedd y cyfryw ddymuniad yn afreidiol — o blegid yr oedd y brodyr eisoes ym Mharadwys, os i fyned yno o gwbl. Ond yn ol athrawiaeth y Pabyddion. yr oedd yn ofynol eu symmud o'r Purdan.

# XXVII.

## CYWYDD MARWNAD DAFYDD AP GWILYM.

---

(*O Lyvr Huw Lleyn—Add. MS., 14,967, fol. 23*).

Penawd y cywydd yn ein testyn yw " C. Marwnad D.G." Ceir ef hefyd yn *Add. MSS.*, 14,870 a 14,932; *Jesus MS.*, E. 139, p. 186; ac y mae yn argraffedig ym *Marddoniaeth Dafydd ab Gwilym* (arg., 1789) tudal. xxxix.; ac yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 15.

Dywed y Dr. W. Owen Pughe, yn ei nodiadau rhagarweiniol i *Farddoniaeth Dafydd ab Gwilym*, fod yn debyg iddo gael ei eni oddeutu 1340, ac iddo farw oddeutu 1400; ac y mae ei ddull o brofi hyny yn dangos diffyg beirniadol amlwg. Fe welir fod y Dr Pughe yn anghofio tystiolaeth Rhys Meigen (*Iolo MSS.*, p. 92) parthed i amser genedigaeth y bardd, yr hwn a'i gosoda yn 1300:—

" Mil trichant meddant i mi y ganed
Yn geneu dan lwyni
Gwr oth hân garw yw'th enwi,
Mab Gwilym Gam cytgam ci."

Y mae tystiolaethau llawn mor ddiamwys yng nghylch amser ei farwolaeth. Yn " Llyfr Efan William, o'r Fferm, yn Llanfleiddan y Bont Faen" (*Iolo MSS.*, p. 94) dywedir iddo fyned i " Fonachlog Tal y Llychau lle gnawd yn fawr ei barch a'i roesaw, ag yno y bu ef farw ag ai claddwyd wyliau'r Nadolig ym mlwyddyn deugain o goraniad y Brenin Edwart y drydydd, yn hen ŵr o brydydd clodfawr." Coronwyd Edward III., Ionawr 29, 1327, felly, yn ol ysgrif Evan William, yng ngwyliau'r Nadolig, 1367, y bu farw Dafydd ab Gwilym. Ond mewn cyfres o bump o englynion a gyfansoddwyd gan Hopcin ap Thomas ap Einion o Ynys Dawy, yn y flwyddyn 1380, fel Marwnad i Dafydd ab Gwilym,

dywedir mai yn y flwyddyn 1368 y bu farw. Y mae y ddau olaf o'r Englynion (*Iolo MSS.*, p. 95) fel y canlyn :—

" Mil meddant trichant trwy ochain irad
wyth eraill a thrugain,
Marw y bu Prydydd mirain,
Mab Gwilym gerdd-edlym gain.

Ym medd y gorwedd a'r garreg arnaw,
Mawr ernych gloyw ofeg,
Accw yn ynys cain waneg
Lle uwch Dwr, Tal Llychau deg."

Ond pan ystyriwn, yr oedd Nadolig 1367, er mai ym mis Mawrth y dechreuai y flwyddyn y pryd hwnw, mor agos i'r flwyddyn 1368, fel nad oedd agos i flwyddyn rhwng amseriad Efan William a Hopcin ap Thomas. Pa fodd bynag, gallasai y cywydd canlynol gael ei gyfansoddi mor gynnar a 1368, ac nid oddeutu 1400 fel y dywed y Dr. Owen Pughe. Credwn nad ydyw Cywydd Marwnad Iolo Goch i Dafydd yn rhagori dim, os ydyw yn gyfartal i'r rhai a gyfansoddwyd ar yr un achlysur gan Gruffydd Gryg a Madog Benfras (Gwel *Barddoniaeth Dafydd ab Gwilym*, tudal. 33-39).

Hudol dof[1] vu hoedyl[2] Davydd
hoyw o ddyn pe hwy vai ddydd[3]
Di vngor owdl da angerdd[4]

[1] " Dwf "—*Add. MS.*, 14,870, *Jes. MS.*, a *Bardd. D. ab Gwilym*; "doe"—*C. Ll. G.* Tebyg mai "dwf" sydd gywir, gan gyfeirio at dyfiant graddol ei alluoedd; ond nid ydyw y darlleniadau ereill yn ammhriodol—"hudol doe" mewn cyferbyniad i *heddyw*; neu "hudol dof" = bywyd tawel.

[2] " Hoedl "—yn y llyfrau ereill.

[3] " Hoyw o ddun py bae hwy ddudd."—*Jes. MS.*
" Hoywaf, pe hwy fai ei ddydd !"—*Bardd. D. ab G.*
" Hoyw ddyn pe bai hwy ddydd."—*C. Ll. G.*
Gofidia y bardd na fuasai oes Dafydd yn hwy. Ac fel yr ydym wedi sylwi, bu farw pan oddeutu 68 mlwydd oed.

[4] " Di vngorn odl dan gerdd." *Jes. MS.*
" Di-ungor awdl, da angerdd." *Bardd. D. ab G.*
Ystyr "ungor" ydyw *un tro* = (*one twist*), fel mewn edau wlân. A oes yma gyfeiriad at ymadroddion dychymmygol y beirdd, gweu cywydd, nyddu cywydd, &c. ?

Ap gwilim gam[1] gwlm y gerdd[2]
lluniodd wawd[3] wrth y llinyn
llyna arver dda ar ddyn[4]
Mae ddarpar mi a ddirpwr[5]
Varnad[6] o gariad y gwr
Gem oedd i siroedd y swch[7]
A thegan gwlad a thegwch
Molu[8] y digrivwch ai modd
Ymwared ym am wiw rodd
heboc[9] merched Dehevbarth
heb hwn o dygwn aed yn garth[10]
Kywydd[11] pob kethlydd koethlawn
Kanis aeth kwynovus iawn[12]

[1] Tad Dafydd ab Gwilym (yn ol *Iolo MSS.*, p. 92) oedd Gwilym Gam o Lanharan Fawr, yng Ngheredigion, ab Dafydd, ap Ieuan, ap Hywel, ap Cynwrig, ab Goronwy, ab Meredydd, ab Madog, ap Iorwerth, ap Llywarch, ab Bran, o Lys Cwmmwd Menai, ym Môn, cyff cenedl un o Bymtheg Llwyth Gwynedd. A'i fam oedd Ardudful, merch Gwilym Fychan, o'r Cryngae, yn Emlyn. Y mae yr hyn a ddywedir mewn perthynas i'w briodas anffodus, yr hon a gymmerodd le ar ol genedigaeth y plentyn, a marwolaeth Ardudful ar ddydd ei phriodas, yn ddigon hysbys.

[2] "Gwlwmgerdd" — *Jes. MS.*; "gwlwm y gerdd"—*C. Ll. G.*

[3] "Lluniodd fawl"—*Jes. MS.*; "lluniai fawl"—*Bardd. D. ab G.*, a *C. Ll. G.*

Y mae "gwawd" yn golygu "*a song of praise*" yn gystal a'r gwrthgyferbyniol.

[4] "Llyna arfer dda ar ddyn"—*Add. MS.*, 14,870, a *Bardd. D. ab G.*

"Well yna, arfer dda ar ddun." *Jes. MS.*

"Llyna ragor dda ar ddyn." *C. Ll. G.*

[5] "Mau ddarpar mi ai ddirpur." *Add. MS.*, 14,870.

Yn *Bardd. D. ab G.*, y mae y ban hwn yn dilyn llin. 12, nid ydyw o gwbl yn *C. Ll. G.*

[6] "Marnad"—*Add. MS.*, 14,870; "Mae'r nad"—*Jes. MS.*; "Marwnad"—*Bardd. D. ab G.*

[7] "Ar swch"—*Jes. MS.*; "a'u swch"—*Bardd. D. ab G.*, a *C. Ll. G.*

[8] "Mold"—yn y llyfrau ereill.

[9] "Hebog"—yn y llyfrau ereill.

Yn *Jes. MS.*, y mae llin. 13-14 yn dilyn llin. 16.

[10] "Heb hwn od gwnn aed yn garth." *Add. MS.*, 14,870.

"Heb hwn od gwn aed yn garth"—yn y llyfrau ereill.

[11] "Kowüdd;" "Cynnydd"—*Add. MS.*, 14,870, a *Bardd. D. ab G.*

Tebyg mai "Kywydd" sydd gywir.

[12] "Canys aeth cwynofus iawn." *Add. MS.*, 14,870, a *Bardd. D. ab G.*

"Kyn i saith kynwys iawn." *Jes. MS.*

Ty di gi taw di gowydd[1]
Nid tar byd nid hir y bydd[2]
Tra vu Ddavydd gelvydd gan
y ddoeddud[3] barchus ddiddan
Ac[4] ni bydd o herwydd hyn[5]
Gwedi ef gwiw dy ovyn[6]
Bwrrier a waer o wawd[7]
A deuvlaen ar y davlawd[8]
Eithiw pensel yr ieithioedd[9]
Eithr pe byw athro pawb oedd[10]
Vthr[11] vynghwyn o vrwyn vraw
Athronddysc[12] oedd vthr ynddaw

1 "Tydi gi tau dy gowydd." *Add. MS.*, 14,870.
"Tydi gi taw di gowüdd." *Jes. MS.*
"Taw di i gyd, tydi gywydd!" *Bardd. D. ab G.*
"Tau di gyd, tydi gywydd." *C. Ll. G.*

Os ydyw y testyn yn gywir, y mae y bardd yn rhoddi enw drwg arno ei hun, ac yn gorchymmyn iddo adael ei gywydd yn llonydd. Ond wrth gymharu y llinell hon â'r llinellau dilynol, gwelwn fod Iolo hefyd yn gwarafun i neb ganu ar fesur cywydd. Haerir mai Dafydd ab Gwilym oedd tad y mesur hwn, a dywed Iolo i'r mesur brofi yn ystod ei fywyd ef yn "barchus ddiddan;" ond tybiai nad oedd wiw i neb ganu arno mwyach.

2 "Nid dar byd nid hir y bydd." *Add. MS.*, 14,870, a *C. Ll. G.*
"Nid da'r byd, hir y bydd." *Bardd. D. ab G.*

3 "Ydd oeddud"—*Add. MS.*, 14,870; "i ddoeddüd"—*Jes. MS.*; "ydd oeddid"—*Bardd. D. ab G.*, a *C. Ll. G.*

4 "Ag."—*C. Ll. G.*

5 "Hynn."—*Add. MS.*, 14,870.

6 "Ofynn"—*Add. MS.*, 14,870; "ofyn"—*Bardd. D. ap G.*, a *C. Ll. G.*

7 "Bwrier a wauer o wawd." *Add. MS.*, 14,870.
"Bwrier a weuer o wawd." *Jes. MS.*
"Bwrir a weuir o wawd." *Bardd. D. ap G.*
"Bwriedir y wëir o wawd." *C. Ll. G.*

Gwelir fod "wäer" y testyn yn ymgais at roddi mynegiad i'r gair gwēu = cyfansoddi cân glodforaidd.

8 "Ai deuflaen ar i daflawd." *Jes. MS.*

9 "Eithyw pensel yr ieithoedd." *Add. MS.*, 14,870.
"Euthyw pensaer yr ieithoedd."—*Bardd. D. ab G.*
"Eithr Pen Saer claer yr ieithoedd.—*C. Ll. G.*

10 "Eithr pe'i byw athro pawb oedd."—*Add. MS.*, 14,870.

11 "Eithr."—*C. Ll. G.*

12 "Athro unddusg uthur yn ddaw."—*Jes. MS.*
"Athro yn ddysg oedd uthr ynddaw."—*C. Ll. G.*

A thailiwr serch i verch vu
A thelyn llys a thevlu[1]
A thrysorrer kler ai klod
A thryver brwydr ai thravod[2]
A thrvan heb athrowyn[3]
A thra ha oedd[4] diva dyn
A thrawst beirdd a thrist[5] yw byd
A thrachefn na thrachyvyd
Athro[6] grym glewlym gloywlef
A theyrn oedd aeth ir nef[7]
Iollo Goch ai kant[8]

[1] "A Thailiwr serch i ferch fu
a Thelyn Llys a'i Theulu."
*Add. MS.*, 14,870.

[2] "A Thrysorer cler au clod
A Thryfer Brwydr ai Thrafod."—*Add. MS.*, 14,870.

"A thryfer beirdd a thrafod
a thrysorer kler ai klod.'
*Jes. MS.*

"A thrysor er cler, a'u clod,
A thryfer brwydr, a'i thrafod."—*Bardd. D. ab G.*

"A thrysor cler, a thrais clod,
A thryfer brawdr a thafod."
*C. Ll. G.*

[3] "I threwyn"—*Jes. MS.*; "athrywyn"—*C. Ll. G.*
Heb neb i gymodi! Ond nid ydym yn deall y frawddeg.

[4] "Yw"—*Jes. MS.*; "fu difa'r"—*Bardd. D. ab G.*

[5] "Athrist."—*Bardd. D. ab G.*

[6] "Athro"—*Bardd. D. ab G.*; "A thra"—*C. Ll. G.*

[7] "A theyrn oedd, a aeth i'r nef."—*C. Ll. G.*

[8] Yn *Add. MS.*, 14,870, ceir y cywydd wedi ei arwyddo fel y canlyn:—
"Iolo Goch a'i cant
Baitsler or ddwy gyfraith."

## XXVIII.

### CYWYDD I'R GYLLELL WTENIFF.

---

(*O'r Add. MS., 14,970, fol. 29*).

Y mae y cywydd hwn i'w weled hefyd yn y *Tonn MS.*, yn Llyfrgell Rydd Caerdydd.

Wrth "Wteniff" (llygriad o *wooden-knife*) y golygir cyllell hely, neu gyllell fawr a ddefnyddid gan helwyr i dori ceirw, &c., pan allan yn hela yn y coedwigoedd. Gwisgid hi, fel y gwelir yn y cywydd, ar y glun fel bidog. Nis gwyddom pa faint allai ei phris fod yn amser Iolo Goch; ac y mae yn ddiammeu fod y pris yn amrywio yn ol y gwneuthuriad—ond ceiniog (pa faint bynag oedd hyny) oedd pris cyllell glun yn amser Hywel Dda:—"Kellell clun un keynnyauc" (*Anc. Laws and Inst. of Wales*, vol. i., p. 306). Ond gan nad beth oedd ei phris yn y bedwaredd ganrif ar ddeg, cyfansoddodd Iolo y cywydd hirfaith a ganlyn i rywun o'r enw Llywelyn, i ddiolch iddo am ei anrhegu âg un. Er chwilio cryn lawer, methasom a chael allan pwy oedd y Llywelyn hwn; ond y mae yn amlwg oddi wrth y cywydd ei fod yn ŵr cyfoethog. Y mae y cyfeiriad at Elian Ceimiad (llin. 49) yn awgrymu ei fod yn byw yn Llanelian, ond pa un ai lle o'r enw ym Môn, neu Sir Ddinbych, sydd fwy nas gwyddom. Ar ol canmol cryn lawer ar y gyllell, y mae y bardd yn myned i ganmol y rhoddwr; ac yna y mae ganddo amryw linellau lled dywyll i ni. Y mae peth tebygolrwydd rhwng y cywydd hwn ac un a wnaeth Dafydd ab Gwilym (*Barddoniaeth*, tudal. 269) i'r "Cleddyf, gan ddangos ei Gampau."

Hefyd yn *Add. MS.*, 14,866, p. 389, ceir Cywydd gyda'r penawd, "I ofyn wteniff ne gyllell kynydd," yr hwn a ddechreua fel hyn:—

"Lle cyfing dirfing derfysg
y bydd Duw a ddyrydd dysg."

Y mae wedi ei arwyddo "Rhys goch or Ryri ai cant;" ac y mae ynddo rai cymhariaethau cyffelyb i'r rhai a geir yn y cywydd hwn. Er enghraifft, cymharer llin. 27-34, a 44 gyda'r llinellau a ganlyn:—

"Baslard hardd gan Bowys—lu
beisledr dili gynhelli gu
i modrub ddifreg eglur
e roed clod fu Rawd y clur
chwech oi gelynion ni chwardd
chwaer ddewr andaer ddurendardd."

Llywelyn eryr gwyr gwych
Llidfrwydr mab y gwr llwydfrych
Gwroliaeth a mab maeth mawl
Gwalch diwladeithfalch[1] deddfawl
Ai gwell arf gwiw yw'r llawrodd
Nog a roist im enwawg rodd
Cyllell hir cuell[2] a llem
Callestrfin holldrin hylldrem
Boccs[3] ei charn pren cadarn prudd
Bygylwraig[4] Ffrangc bogeilrudd
Mefl fflwch im trowswch[5] trasyth
O chelaf fi ei chael fyth,
Ai merch faeth arfaeth yrfa
Ar hyd ei chefn, dodrefn da,
Beth a fynnai erfai wr[6]
Eithr arianswch[7] a thraensiwr[8]

[1] "Diwladeiddfalch?"

[2] "Cuell" = peryglus.

[3] "Boccs" = pren bocys (*box-tree*), yr hwn a ddefnyddir yn fynych i wneyd carn (*handle*) i arfau.

[4] "Bygylwraig." — Y mae yn cyffelybu y gyllell i wraig a golwg fygythiol arni. Gallem dybied oddi wrth y gair "Ffrangc" nad oedd y wlad yma mewn heddwch â Ffrainc ar y pryd; ond felly yr oedd fynychaf yn yr oes hono.

[5] "Trowswch" = *moustache*: Yr oedd y gyllell mor finiog fel y gallai eillio gyda hi.

[6] "Erfai wr" = gwr bywiog a heini.

[7] Nis gallwn ddyfalu beth a olygir wrth "arianswch" os nad ydyw yn golygu yr un peth a bod gŵr, fel y dywed y ddiarheb, wedi ei eni â llwy arian yn ei enau.

[8] Traensiwr (= *trencher*) – plât (neu ddysgl) pren, a arferid gan y Cymry mor ddiweddar a chanol y ganrif bresennol.

Bellach wyf haeach o hynn
Llew brwydr od a llu i Brydyn[1]
Eillio a hi a allwn
Pen ysgot coch pan nas gwn
Cneifio ei farf arf erfai
Curo ffraingc dryllio cyrph rhai
Lladd adwaed[2] lle ydd adwaen
Torri yn chwyrn terwyn chwaen[3]
Giau a gwythau ar gwthr
Briwo esgyrn brau ysgwthr
Chwaer undad giliad galon[4]
A DURENDARDD[5] hardd yw honn
Merch o ordderch ddiweirddoeth
I *Galedfwlch*[6] gyfwlch goeth
Nith ddiragrith oreugrair
I *Angeu Coch*[7] yn ing y cair,
Cyfnitherw dichwerw dachwedd,
I *Hawd y Clyr*[8] hoywdeg gledd

{Cledd Caradoc ab Bran
{Cledd Arthur
{Cledd Gwalchmai ab Gŵyair
{Cledd Olifer Gosgorddfawr
IOLO MORGANWG

[1] Prydyn = Ysgotland. Teimlai y bardd, wedi cael y gyllell hon, y gallasai bellach ryfela â'r Ysgotiaid pe cawsai gyfleusdra; ac y mae (llin. 22) yn addaw ei defnyddio i ymladd â'r Ffrancod hefyd.

[2] "Adwaed" = *inferior blood*: hyny yw, pobl o haniad isel, heb y "gwaed coch cyfa'" yn rhedeg trwy eu gwythienau.

[3] "Terwyn chwaen" = cychwyniad ffyrnig.

[4] Y mae y bardd yn awr yn dechreu cymharu ei gyllell i gleddyfau arwyr y Rhamantau, yn chwaer i un, yn ferch i'r llall, yn nith i'r drydedd, &c.

[5] "Durendardd," yn ol Iolo Morganwg, fel y gwelir ar ymyl y ddalen, oedd Cledd Caradoc ab Bran. Ond yn ol "Ystori Siarlymaen"—*Durendardd* oedd enw cleddyf Roland, neu Orlando.

[6] Mewn perthynas i gleddyf Arthur, sylwa Carnhuanawc (*Hanes Cymru*, tud. 264) fel y canlyn:—"A'r cleddyf, yr hwn a gafodd yn y garreg, a enwid *Caledfwlch*, yn y Lladin, *Caliburn*, ac yn y Ffrangaeg, *Excalibar*; ac â hwn y gwnaeth orchestion tra chlodforeddus."

[7] Yn ol *Brut G. ab Arthur* (*Myv. Arch.*, p. 499), *Angeu Coch* oedd enw cleddyf Iwl Cesar, gyda'r hwn y lladdodd Nyniaw, brawd Caswallawn:—"Ac esef oed enw y cledyf h6n6 Agheu Coch. Kanys pwy bynnac a archollyt ac ef ny bydey byw;" ond, yn ol darlleniad arall o'r un Brut (*Myv. Arch.*, p. 566), "ageu glas" (h.y., *Angeu Glas*) oedd enw y cleddyf hwnw.

[8] "Hawd y Clyr," ffurf Gymreigaidd ar *Haut cler*, neu *Haute-claire*, sef cleddyf Oliver, un o wroniaid Siarlymaen.

O bydd neb a wrthnebo
I ti er nag *I* nag *O*
Gwr gorsedd a gwyr gwrsus[1]
Y tynn waed tan ei weus.[2]
O daw dan llaw llu Ffichdiaid,
O'r mor hwnt yn nid mawr rhaid
I beri gowri a garm[3]
Geisiem[4] na chledd nag isarm.[5]
Nac arf im llaw engiriawl
Eithr Baslart[6] ac ysbart[7] bôl
O gweli fi naf gwiwlym
*Blun*[8] aur arch o'r blaen ym bluyn ond odid. I.M.
Ar fy helw i arf hoywlwys
Yn dlws da yn dy lys dwys
Cymmer er Elian Ceimiad[9]
Dos ag ef dewis y gad,

[1] "Gwrsus" (o *courses*)=rhedegfeydd?

[2] "Wëus"=gwefus.

[3] Yr un meddwl sydd i "gowri" (gawr) ag sydd i "garm," sef *bloeddio*, *gwaeddi*, &c.

[4] Picell hir a throm; o'r Lladin *gaesum*; Groeg *γαῖσον*.

[5] "Isarm"=*poleaxe*. Defnyddir y lluosog "isarnau" gan Lewis Glyn Cothi (*Gwaith*, tudal. 384).

[6] "Baslart," math o gleddyf o wneuthuriad tramoraidd—yn Basel, Switzerland. Defnyddir y gair mewn englyn a briodolir i Dafydd Nanmor (*Iolo MSS.*, p. 313):—

"Na bleiddiau dëau neu ysdiwart
Gwyddil
Nag Iddew neu Lwmbart
Na byw oeler na Baslart
Na maen o dwr na min dart."

[7] "Ysbart"=yspardyn.

[8] "Blun" = Blifyn, pelen, neu garreg a hyrddid o dafl-beiriant.

[9] Elian Ceimiad oedd fab, meddir, i Gallgu Rieddawg ab Carcludwys ab Cyngu ab Ysbwys, ab Cadrod Calchfynydd; a'i fam oedd Canna, ferch Tewdwr Mawr, ab Emyr Llydaw. Yn ol un o'r chwedlau, dyfod drosodd o Rufain i Ynys Môn a wnaeth, yn amser Caswallon Lawhir, ac ymlidiodd y Gwyddelod allan o'r ynys. Efe a sefydlodd eglwysi Llanelian, ym Môn, a Llanelian yn Ninbych, ac yr oedd, fel pob sant arall, yn gallu gwneyd hyny a fynai o wyrthiau. Wrth gwrs, efe a roddodd y fath effaith yn nwfr "Ffynnon Elian," yn Sir Ddinbych, fel, os na wnaeth unrhyw ddaioni arall, rhoddodd gryn lawer o arian yn llogell "Jack" Edwards. Dedfrydwyd Edwards i 12 mis o garchar am dwyllo un Edward Pierce, Ebrill, 1820 (*Y Gwyliedydd*, 1826, tudal. 54.

Ûn afael ym un ofeg
Mi biaur tau[1] mab ior teg,
A thithau biau lle y bych
O'r mau[2] finnau a fynnych,
Cerddaist fy nghlun fy muner[3]
Hoedl ith benn hudoliaeth bêr
Dewr ar adwy dioer ydwyd
A doeth iawn mewn dwyiaith wyd.
Masw[4] dy arfer wrth glêr glau
Difasw ym mrwydr dy foesau,
Dyledog[5] dy serchog son
Dilidiog wrth dylodion,
Cadarn[6] wrth gadarn i'th gaid
Gŵyl[7] ag anwyl i'r gweiniaid,
Gwâr[8] wrth dy gar cerddgar call
Gwr wrth wr garw wrth arall,
Dichwerwiaith da o chwarae
Prudd yn yr yng cyfyng cae,[9]
Calennig wr calonog
A roist ym myn grym y grôg[10]
Gwae fi am eurych[11] gwych gwydn
A roe ddadl o rudd elydn[12]
A phenrwym or hoff unryw
Yn rhith aur fy anraith yw

[1] "Tau" = yr eiddot ti.

[2] "Mau" = yr eiddof fi.

[3] "Muner" = llywydd.

[4] "Masw" = tyner.

[5] "Dyledog" = cyfoethog, perchenog etifeddiaeth. Gwel hefyd linellau cyffelyb yn Cywydd Rhif VIII., llin. 57-58, a Rhif XXXIV., llin. 89-92.

[6] "Cadarn" = gwrol.

[7] "Gŵyl" yn y fan hon a olyga *moesgar*.

[8] "Gwâr" = mwynaidd.

[9] Dangosir yma ei fod yn cydymdeimlo â'r adfydus.

[10] Buasai y fath lŵ a hwn yn ein dyddiau ni yn cael ei ystyried yn arwydd o ddiffyg chwaeth, os nad yn gabledd; ond gwelir fod Iolo a'i gydoeswyr yn defnyddio ymadrodd ion cyffelyb iddo yn fynych.

[11] "Eurych" = gof aur.

[12] Elydyn = mettel cyfansawdd megys *pres*.

Troes y waun rhaid trwsio'n wiw
Arianllythr[1] ar ia unlliw
Fal y bo haws gwiwnaws gwann
Ei harwedd ar glun hirwan,
Gwychach gan serchog achul
No chan yr ab ei mab mul[2]
Hynn sy'n cynnal fy nghalon
Rhag rhydu a henu[3] honn.
Dengwaith anwyd[4] ieuangwas
Y tynnai'r llafn gloywlafn glas
Iw droi o'm cylch yn dröell
Fal mellten burwen o bell
Digrif gan wr heinyf hynn
Heulo ysgwyd Gyhelyn[5]
Ceffi di rhi[6] rhywiogwaed
Cennyf beunydd y dydd daed
Cynnifer gwaith cynnefawd
Y dêl o'i gwain da le gwawd,[7]
Iechyd o'th benn cymmen cu
Achos fy llawenychu.

Iolo Goch ai cant.

[1] Ai dymuno am eurych i gerfio llythyrenau ar y wain y mae y bardd—llythyrenau ei enw? Nis gwyddom beth arall a ddichon "Arianllythr" olygu. Fe welir fod Iolo, ar ol cryn lawer o ganmoliaeth i'r rhoddwr, yn troi yn ol (yn llin. 69) i son am y gyllell.

[2] Nis gallwn ddyfalu amcan y ban hwn. Wrth "achul" y golygir *teneu*, *gwael*, &c.

[3] "Henu" = heneiddio.

[4] Ai nid *â nwyd* a ddylai hwn fod?

[5] "Ysgwyd Gyhelyn" = tarian Cuhelyn. Ai Cuhelyn mab Gwrgant Farfdrwch, yr hwn a roddir yn ei flodeu bedwar can' mlynedd cyn Crist, a feddylir? Defnyddir "ysgwyd Cyhelyn" gan Dafydd ab Gwilym (*Barddoniaeth*, tudal. 270).

[6] "Rhi" = arglwydd.

[7] Sylwa y bardd y byddai iddo ganu clod y rhoddwr bob tro y tynai y gyllell o'r wain.

## XXIX.

### *COWYDD I OFYN MARCH.

---

*(O'r Add. MS., 14,964, fol. 54).*

Rhaid gosod hwn ym mhlith y cywyddau ammheus. Priodolir ei awduriaeth i Iolo Goch yn *Add. MSS.*, 14,882; 14,940; 14,966; 14,969; a 14,976; ac i Iolo Goch y priodolir ef yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 13, dan y penawd —"Cywydd i Ofyn March i Owain ab Gruffydd ab Owain, o Lan Tawy." Ond y penawd iddo yn *Add. MS.*, 14,940, ydyw—"Cywydd i ofyn March i Owain ap Gruffydd ab Owain Gethin o Lyn Täwy, ac iw ddyfalu." Ar ddiwedd y cywydd yn yr un ysgriflyfr ceir :—"Iolo Goch ai cant 1400"; ac o dan hyny y nodyn a ganlyn :—

"Gruffudd ap Dafydd Fychan, ai cant, medd Moses Williams, yr hyn a all fod yn wir, gan mai gwr o Wynedd oedd Iolo. Mae Glyn Tawy rhwng blaenau Caron yn swydd Aberteifi, a Llanymddyfri yn swydd Gaerfyrddin."

Ond yn *Add. MS.*, 14,970, ceir yr un cywydd dan y penawd—"Cywydd i ofyn March i Owain ap Gruffudd ab Owain o Lann Tawy ym Morganwg," ac ar ei ddiwedd dywedir "Llawdden ai cant"; yna o dan hyny ceir y nodyn a ganlyn gan Iolo Morganwg :—

"Iolo Goch ai cant medd Dr. Davies, gwel Cynnwr yn ei eirlyfr ef, ond camsyniad mawr yw hynn, nid oedd y rhyw gynghaneddion ag a welir ar y cywydd hwnn wedi ym-ddangos yn y byd yn amser Iolo Goch, hefyd y mae gormod o wawr y Wenhwyseg ar y cywydd yma i fod yn waith Iolo Goch, heb law hynn y mae pob llyfr agos yn rhoddi'r cywydd hwn i Lawdden, un neu ddau yn wir ai rhydd i Wilym ab Ieuan Hên. Yr oedd Llawdden yn byw ar *Lann Tawy*, neu yn agos iawn yno. Iolo Morganwg."

Fe welir fod y nodiadau uchod yn anghytuno parthed i safle preswylfod Owain ab Gruffydd; a buom ninnau yn hollol aflwyddiannus i gael dim o'i hanes. Pe cawsem allan i sicrwydd pwy ydoedd, a pha bryd yr oedd yn ei flodeu, buasai yn hawddach i ni benderfynu pwy oedd awdwr y cywydd. Ond gan ei fod yn cael ei briodoli i gynnifer a phedwar o wahanol awduron, ac fod Iolo Goch yn un o honynt, y mae genym ryw gymmaint o esgusawd dros ei osod ym mhlith ei gynnyrchion. Yr ydym yn addef fod y croes-ddywediadau uchod yn taflu cryn ammheuaeth. Nid ydym heb gofio ychwaith mai yn y Deheudir yn rhywle yr oedd Owain yn byw, tra yr oedd Iolo yn cartrefu yn Sir Ddinbych. Ond ni fuasai hyny yn gwneyd y peth yn fwy ammhosibl na'r ffaith iddo ganu cywyddau i'r Tuduriaid o Fôn. Dengys *Gwaith Lewis Glyn Cothi* fod Iolo yn ymwelydd â Llanegwad, yn Sir Gaerfyrddin; a gallasai yn rhai o'i grwydriadau ddyfod i gyfarfyddiad ag Owain; os caniateir mai rhwng blaenau Caron a Llanymddyfri y preswyliai. Nid ydym yn gweled gwrthddadl Iolo Morganwg yn gryf iawn, sef fod gwawr y Wenhwyseg ar y cywydd. O blegid fe gydnabyddir yn gyffredin fod cryn lawer o briod-ddull ac ieithwedd y Deheudir i'w ganfod ar lenyddiaeth Gymreig y Canol-oesoedd.

Arwydd[1] pellenigrwydd[2] parx
Owain waew[3] blaenfain blinfarx

[1] "Arglwydd" — *Add. MS.*, 14,970, a *C. Ll. G.* Ond "Arwydd" a geir yn y rhan fwyaf o ysgriflyfrau.

[2] Yr ydym mewn petrusder beth sydd i'w feddwl wrth "pellenigrwydd." A chaniatau mai Iolo Goch oedd yr awdwr, gallai ei fod yn golygu *parch o bell.* O'r ochr arall, dichon y gellid dadleu mai parch *mawr* — eithafion parchusrwydd, a feddylir.

[3] "Wayw"—*Add. MS.*, 14,970, a *C. Ll. G.* Oddi wrth y llinell hon, yn gystal ag amryw ymadroddion ereill yn y cywydd, gallwn gasglu fod yr Owain hwn yn rhyfelwr.

Mab Gruffudd ni bydd ball[1]
Baun aur[2] fab Owain arall
Gerdd hydr gwyraidd hoewdrafn[3]
Gethin gyfelin lafn[4]
Mur un blaid mawr ewynblas
Makwy[5] o lan Tawy[6] las
Tirion walx cadarnwalx cain
Twr . . . teyrn Owain[7]
Tewfaedd gwyllt etifedd gwrdd[8]
Twrn gwnfyd, teyrn gwinfwrdd
Mae ym bryd o loewbryd[9] lwybr
Yniwedd[10] am ion ewybr
Gwnn y caf blaenrwyddaf blank[11]
Gann Owain eurgnyw ieuank[12]
Marx ar ol ei bedoli
Mawr a naid y marn i[13]

[1] Gwelir fod y llinell hon yn rhy fer. Gwell yw y darlleniad a geir yn *Add. MS.*, 14,970, a *C. Ll. G.*:—

"Balchfab Gruffydd ni bydd ball."—*Add. MS.*, 14,970.

"Balch mab Gruffydd, ni bydd ball."—*C. Ll. G.*

[2] "Baun am."—*C. Ll. G.*

[3] "Gerdd o hydr gẅraidd hoywdrafn."—*Add. MS.*, 14,970.

"Gadd o hydr gwyraidd hoywdrafn."—*C. Ll. G.*

Tybiwn mai y darlleniad olaf ydyw y cywiraf.

[4] "Gethin loyw gynnefin lafn." *Add. MS.*, 14,970.

"Gethin loyw gyfelin lafn." *C. Ll. G.*

[5] "Maccwy."—*Add. MS.*, 14,970, a *C. Ll. G.*; macwy=llanc.

[6] Gwelir, oddi wrth y sylwadau rhagarweiniol i'r cywydd, fod anghydwelediad gyda golwg ar y lle a nodir. A gallwn ychwanegu fod capeloriaeth o'r enw *Glyn Tawe* ym mhlwyf Defynog, Sir Frycheiniog, ryw 7½ milltir i'r gorllewin o dref Aberhonddu.

[7] "Twr nawsogl Tēyrn Owain." *Add. MS.*, 14,970.

"Twr naw-osgl teyrn Owain." *C. Ll. G.*

"Osgl," mae'n debyg, sydd gywir: naw-osgl=naw cangen.

[8] "Gwrdd"=nerthol.

[9] "Loywbryd." — *Add. MS.*, 14,970.

[10] "Yn niwedd" — *Add. MS.*, 14,970, a *C. Ll. G.*

[11] "Blanc."—*Add. MS.*, 14,970. "Blanc"– gair a ddefnyddid am farch.

[12] "Ieuanc."—*Add. MS.*, 14,970. Gwelwn nad oedd Owain ond gwr ieuanc pan gyfansoddwyd y cywydd hwn.

[13] Gwell, yn ddiau, ydyw y darlleniadau a ganlyn:—

"Mawr ei naid yn fy marn i." *Add. MS.*, 14,970.

"Mawr ei naid yn y marn i." *C. Ll. G.*

Bryssiwr tir[1] gwelir mai gwrdd
Braisg i egwyd brwysc agwrdd[2]
Ffraeth gynnwr gyrxwr gorxest
A ffroen roth[3] mewn ffrwyn a rest[4]
Llydan dal[5] drud arial[6] draidd
Llygadrwth a lliw gwydraidd[7]
Llid o llithr llewdu[8] llathraid
Llowfron arth nid llwfr i naid
Mawr i neidiau uwx clwydau cledr[9]
Marx dihafarx du hyfedr
A ffrom oedd ossod[10] iw ffriw[11]
Ffrwyn wan lledr ffroen ewynlliw
Crair llathr gwyllt sathr rhyd gwelltsaig
A xryfarddorr allt a xraig[12]
A xawr gwrdd a xar gerdded[13]
A xynt na'r rhwyddwynt y rhed

[1] "Brysia'r tir." — *C. Ll. G.* March yn myned yn gyflym dros dir? "Brysiwr tir" yn *Add. MS.*, 14,970.

[2] "Braisg ei egwyd brwysg agwrdd."
*Add. MS.*, 14,970.
"Braisg ei egwyd"=*stout* (neu *strong*) *fetlock*.

[3] "Roth"=lydan.

[4] "Rest"—gwel Cywydd Rhif IX., llin. 37.

[5] "Llydandal." — *Add. MS.*, 14,970; h.y., talcen llydan.

[6] "Arial" ydyw *bywiog*; a diammeu fod *C. Ll. G.* yn anghywir wrth roddi "arian."

[7] Llinell ragorol yw hon. Ac y mae yn y cywydd rai llinellau ereill ag sydd yn peri i ni feddwl am y cywydd a ganodd Tudur Aled "I ofyn March i Abad Aberconwy" (*Gorch. Beirdd Cymru*, tudal. 235).

[8] "Llew du."—*Add. MS.*, 14,970.

[9] "Clwydau cledr"=*rail of a gate*. Yn y Deheubarth, defnyddir y gair *clwyd* am yr hyn a elwir yn *llidiart* yng Ngwynedd. Diammeu fod hwn yn un o'r geiriau a roddai y "wawr Wenhwysaidd" ar y cywydd, yn ol tyb Iolo Morganwg. Ond y mae math o lidiart anghelfydd, a elwir yn *wattled gate* gan y Seison, yn myned dan yr enw "clwyd" mewn rhai parthau o Wynedd.

[10] "Osod"—*Add. MS.*, 14,970; "isod," *C. Ll. G.*

[11] "Ffriw"=gwynebpryd.

[12] "A chryf ar dorr allt a chraig."
*Add. MS.*, 14,970.

[13] Câr gerdded=march a digon o *fyn'd* ynddo.

Iwr marx pwynt arial[1]
Pant da y dalo pum punt[2] a dal
Mygr[3] Owain ruddlain rwyddlyw
Mawr y dda clod murdd ai clyw[4]
Mawl arab rhwyddfab rhuddfellt
Mur tarian ddur, tyr yn ddellt[5]
Rhoddaf gerdd i wr hoewddoeth[6]
Rhwyddlas cad ion rhuddlwy coeth[7]
Rhuddaur fo wyr i rhoddi[8]
Rhodd mawr ef ai rhydd i mi
Rhwydd olwc[9] rhiaidd alarx
Rhoed yntau i minau y marx

[1] Llinell led wallus: cymharer hi â'r darlleniadau canlynol:—

"Pentyrriwr march pwynt arial." *Add. MS.*, 14,970.

"Punturiwr march pwynt arial." *C. Ll. G.*

"Pentyrriwr . . . pant da" =cyfeiriad at waith y march yn pawenu y llawr.

[2] Tybiwn fod pum punt yn bris anarferol o uchel am farch yn amser Iolo Goch. Yn ol cofnodion llys a gynhaliwyd yng Ngwrecsam rhwng Gwyl Fihangel, 1339, a Gwyl Fihangel, 1340, gwerthai ceffylau am o bump swllt i un swllt ar ddeg, teirw am o bump i chwe' swllt, buchod am oddeutu chwe' swllt ac wyth geiniog, a gwerthid ŵyn am ddwy geiniog yr un (*Bye-Gones*, Feb. 29, 1888). Mewn ysgriflyfr ym meddiant Mr R. Williams, Celynog, Drefnewydd, yn cynnwys rhestr o eiddo Roger de Mortimer, yn Nolforwyn Castle, yr hon a wnaed Ionawr 25, 15 Edward III. (1341-42), yr ydym yn cael fod ych at aredig yn cael ei brisio i bum' swllt; ac fod un ceiliog a dwy iar yn werth dwy geiniog a dimai. Pa fodd bynag, yn ol cyfrifon o dreuliau Harri IV., am y flwyddyn yn terfynu Medi 30, 1404, y rhai a ddyfynir gan Mr Wylie (*Hist. Engl. under Henry IV.*, vol. i., p. 410), ceir i wyth o geffylau gael eu prynu at wasanaeth y brenin, prisiau y rhai a amrywient o ddeg swllt ar hugain i bedair punt yr un. Gwelwn fod y bardd felly yn gofyn am farch o'r rhywogaeth oreu: teilwng o frenin.

[3] "Mygr"=ardderchog.

[4] "Mawr ydd â chlod myrdd ai clyw."—*Add. MS.*, 14,970.

"Mawr ydd â clod myrdd a'i clyw."—*C. Ll. G.*

[5] "Mur Tarian ddur tyrr yn ddellt."—*Add. MS.*, 14,970.

[6] "Hoywddoeth."—*Add. MS.*, 14,970.

[7] "Rhwyddles cad Iôn rhuddlwyf coeth."

*Add. MS.*, 14,970

[8] "Rhuddaur fe ŵyr ei roddi

*Add. MS.*, 14,970.

[9] "Olwg."—*Add. MS.*, 14,970.

Yn y llinellau diweddaf, yn gystal ag yn amryw leoedd ereill yn y cywydd, y mae y darlleniadau a geir yn *Add. MS.*, 14,970 yn rhagori yn fawr ar y testyn.

# XXX.

## KO: I ITHEL AP ROBT. AP IER. AP RYRID O GOED Y MYNYDD I OFYN MARCH.

---

*(O Glanyrafon MS. B., p. 53).*

Y mae y cywydd hwn i'w weled hefyd yn *Add. MSS.*, 14,964, 14,969, 14,970, a 14,976.

Nid oes ond ychydig gofnodion ar gael am Ithel ap Robert. Dywed Pennant (*Hist. of Whiteford and Holywell*, pp. 119, 308), fod Ithel ap Rotpert, archddiacon Tegeingl, yr hwn oedd yn byw yn 1375 a 1393, yn disgyn o Ednowain Bendew; ac yn *Dwnn's Heraldic Visitations*, vol. ii., p. 305, yr ydym yn cael achau un "John ap William ap John ap David ap Ithel Vychan ap Kynfrig ap Rotpert ap Ierwerth ap Ririd ap Ierwerth ap Madog ap Ednowain Bendew." Yn ol y penawd uchod i'r cywydd, yr oedd Ithel yn gystal a Kynfrig yn feibion i'r Rotpert ap Ierwerth y sonia Lewys Dwnn am dano. Trown eto i *Heraldic Visitations*, vol. ii., p. 304, a chawn :—

**"Ednowain bendew = Gweyrvyl v̄ Llyddocka ap Tydyr Trefor.**

**Madog = Iarddyrn v̄ Byradwen.**

**Ierwerth = Nest v̄ Rys ap Meirchion.**

**Ryryd = Nest v̄. Gronwy ap Einion ap Seysy t.**

**Ierwerth ap Ryryd = Arddyn v̄ Llewelyn ap Owain ap Edwin.**

**Rotpert = Als v̄ Ithel vychan.**

**Kynvrig."**

Drachefn, yn *Heraldic Visitations*, vol. ii., p. 298, dywedir mai gwraig Rotpert ap Ierwerth oedd Adles, merch ac etifeddes Ithel Vychan, ap Ithel Llwyd, ap Ithel Gam. Byddwn bellach mewn sefyllfa i ddeall y crybwylliadau achyddol a geir yn y cywydd. Yn y *Myv. Arch.*, p. 347, ceir awdl o waith Goronwy Gyriawg (1310-1360) i "Fadawg ap Ierwerth ap Rithid ap Ierwerth ap Madawg Esgob Bangor brawd i Rotbert ap Ierwerth ap Rithid o Goed y Mynydd;" ac yr oedd yr Esgob hwn felly yn ewythr o frawd i'w dad i Ithel ap Robert. Gwelwn hefyd, wrth gymharu y gwahanol achau, fod Dafydd ap Bleddyn, Esgob Llanelwy (Gwel "Araith," Rhif XXIII.), yn gefnder i fam Ithel ap Robert. Felly, yr oedd Ithel, o ran ei waedoliaeth a'i gyssylltiadau teuluaidd, yn wr lled urddasol; a deallwn oddi wrth y cywydd canlynol ei fod yn dra chyfoethog.

Olynodd un William de Spridlington fel Archddiacon Llanelwy, yn 1375; ac yn 1382, olynwyd yntau gan un Thomas Rushooke (*Thomas's Hist. Dioc. St. Asaph*, p. 236). Beth a ddaeth o hono wedi hyny, nis gwyddom; ond os ydyw Pennant yn gywir, fel y sylwasom uchod, ni bu farw hyd 1393, pa faint bynag yn ddiweddarach. Pa fodd bynag, y mae yn amlwg ei fod yn dal y swydd o archddiacon pan gyfansoddwyd y cywydd hwn. Saif Coed y Mynydd, yr hwn sydd yn awr yn ffermdy, ym mhlwyf Ysceifiog, heb fod ym mhell o Gaerwys, ar yr ochr ddwyreiniol i Fynydd Bodfari, neu "Moel Park." Yn agos i'r fferm hon, os nad yn rhan o honi, y mae "Mynydd Llys," yr hwn a gafodd yr enw, mae'n debyg, oddi wrth Lys Coed y Mynydd—cartrefle Ithel ap Robert. Fe welir fod Ithel ac Iolo yn byw yn agos i'w gilydd; ac hefyd y mae yn amlwg oddi wrth y cywydd eu bod yn gryn gyfeillion. Yr oedd Ithel yn hael o'i roddion i Iolo, a'r bardd yn ad-dalu trwy gyfansoddi cywyddau canmoliaethol. Er fod Tudur Aled yn oesi oddeutu can' mlynedd yn ddiweddarach, yr oedd cyfeillgarwch Ithel ac Iolo yn hysbys iddo. Mewn cywydd i Syr Thomas Salsbury (*Ceinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 338) dywed:—

" Dafydd faer rhydd Ifor Hael,
Iolo doeth i wlad Ithael."

Ac mewn cywydd arall i " ofyn gown gan Syr Sion Tudur, curad Elsmer, i Guttyn Wilcog " (*Cein. Llen. Gymreig*, cyf. i., tudal. 344) ceir llinellau ag sydd yn profi, feddyliem, fod Iolo yn arfer blino Ithel am anrhegion :—

" Iolo Goch pob elw a gai,
I Lys Ithel y saethai !
Saethaf i le sy wythwell,
Son am hael sy iawn ymhell :
Son melus sy'n ymeiliaw,
Son am wr dros Hanmer draw."

Ar ol ymofyn cryn lawer methasom dd'od o hyd i fwy na'r ddau " Gywydd March " canlynol o waith Iolo, yn y rhai y gofyna am unrhyw gymmwynas neu anrheg i Ithel ap Robert; ond gallwn gasglu,oddi wrth y llinellau uchod, na foddlonodd Iolo ar hyny. Rhaid fod ei enw fel ymbiliwr am gymmwynasau wedi myned yn ddiarheb trwy'r Sir, cyn y buasai y fath beth yn cael ei adgoffa gymmaint o amser wedi iddo farw. Ac y mae yn amlwg, yn ol ein tyb ni, na fuasai gofyn un neu ddwy o gymmwynasau yn cael ei gofio am y fath amser hirfaith. Rhaid, mewn canlyniad, fod yr ymbiliadau a'r anrhegion yn bethau ag oeddynt yn cymmeryd lle yn fynych.

Rhyfedd yn ein dyddiau ni fuasai gweled bardd yn cyfansoddi cywydd i ofyn am farch i un o foneddwyr ein gwlad ; ond yr oedd y fath gywyddau yn lled gyffredin yn amser Iolo Goch. A'r pryd hwnw, pan yr oedd y beirdd yn myned ar eu cylch clera, a'r cyfleusderau i deithio mor ychydig, yr oedd march yn gaffaeliad gwerthfawr. Eto, prin y buasem yn dysgwyl y buasai " *Arglwydd* Llechryd " yn gofyn am y fath beth. Pa fodd bynag, yr ydym yn ofni na buasai o nemawr fudd i feirdd ein dyddiau ni geisio adfer yr arferiad. Ond er fod llin. 89-90 yn gofyn am y march fel *anrheg* o dan ammod, eto awgrymir yn llin.25 ac 83 nad oedd, wedi'r cyfan, ond yn gofyn am fenthyg march am ryw dymhor penodol.

Pwy in mysk ynn pen masnach[1]
a fyn a rhoi Duw ym farch
O ganmol werth ugein mork
am un march mwy no mork[2]
Elw mawr kael eilian[3] mawl
or gorwedd[4] y rhagorawl
Nid ha arianog[5] ond rhai
Dyn mwyn ni mynn dwyn mwnai[6]
Dyn arall mynn dwyn arian
Dwyn i glod a fyn dyn glan
Ynni Dalm a wnai Delyn[7]
o flaen dawns ni flina dyn
fellu i gwna ki da Diorn
llafar i kais gan llef y korn[8]
Hwy i peru[9] na hayarn[10]
gwawd na march gwydyn yw marn[11]

[1] Y mae geiriad y llinellau blaenaf yn lled anhawdd. Buasai yn hawddach i ni ddeall y llinell gyntaf yn y wedd a ganlyn :—

"Pwy yn mysg ein pen masnach."

[2] "O ganmol gwerth ugeinmorc
Am un march a mwy no
morc."—*Add. MS.*, 14,970.

"O ganmol wrth ugeinmork
Am un marx a mwyno mork."
*Add. MS.*, 14,964.

[3] "Eiliaw"—*Add. MSS.*, 14,970, a 14,964. Eiliaw (=cyfansoddi) sydd gywir.

[4] Y mae y testyn yn wallus ; ond y mae *Add. MSS.*, 14,970, a 14,964 yn gywir trwy roddi "er gorwydd." "Gorwydd" ydyw march wedi ei ddysgyblu yn briodol.

[5] "Tra arianawg."—*Add. MSS.*, 14,970, a 14,964.

[6] Nid ydyw "mwnai" ond enw arall am *arian*. Dywedir wrthym yn Nhestament Salesbury (1 Tim. vi., 10) mai "chwant-mwnws yw gwreiddin pob drwg;" ac er mwyn gwneyd yr ymadrodd yn fwy eglur, debygid, rhoddir ar ymyl y ddalen —"bath, mwnei."

[7] "Yni dalm a wna Delyn."—*Add. MS.*, 14,970.

[8] "Felly gwna ci da dïorn
Llafar y cais llef a'r corn."
*Add. MS.*, 14,970.

"Felly y gwna ci da diorn
llafar y cais gan llesg y corn."
*Add. MS.*, 14,964.

Ymresymiad Iolo yn y llinellau hyn ydyw fod dyn da mor barod i wrando ar glod ag ydyw y dawnsiwr i ddawnsio o flaen y delyn, neu'r ci da, hydrin, i fyned allan i hela yn swn y corn.

[9] "Pery."—*Add. MSS.*, 14,970, a 14,964.

[10] "Haearn."—*Add. MS.*, 14,970.

[11] "Gwawd na march a gwydn
yw' marn."
*Add. MS.*, 14,970

"Gwawd no marx a gwydn yw
marn."—*Add. MS.*, 14,964.

Ni ddiffig[1] gwawd tafawd ta[2]
ni lwgwr[3] ar ddwr ni lwyga[4]
Na llym-goes ni all am gerdd[5]
ruthur[6] or gysp[7] ddieithro/r/ gerdd
Na ffarsiwn yw ni ffawr soeg[8]
fal keffyl trymgu[9] tremgoeg
Ni wask hefyd yskyfaint
ag ni fag ynddi haint
Pregeth am hun beth[10] yw honn
marw or gysb mawr argosbion[11]
Talai ym ddoe talm o dda
heno ynn farw fal hen fria[12]
Gwiliwch[13] lle mae y gelain
Ar lethr y brynn i lithiaw brain[14]

Barn "wydn" Iolo ydoedd y byddai ei gywydd canmoliaethol ef i ofyn am farch yn fwy parhaol na'r march ei hun; ïe, na haiarn hefyd. A dywedodd y gwir.

[1] "Ddiffyg."—*Add. MS.*, 14,970.

[2] "Da."—*Add. MS.*, 14,970.

Ceir "ta" yn lle "da" yn fynych mewn rhai ysgriflyfrau.

[3] "lwgr"—*Add. MSS.*, 14,970, a 14,964.

[4] "Lewyga."—*Add. MS.*, 14,964. "Lwyga" = *to turn restive.*

[5] "Angerdd."—*Add. MSS.*, 14,964, a 14,970.

Angerdd = terwynder (*vehemency*).

[6] "Ruthr"—*Add. MSS.*, 14,970, a 14,964.

[7] "Gysp" = *staggers*: afiechyd neillduol ar geffylau.

Y mae y bardd yma, os ydym yn ei ddeall, yn cymmysgu bob yn ail deithi a pherthynolion march a cherdd, mewn dull lled gywrain, ond cwbl ddiwerth.

[8] "Ni affwsloner ni ffawr soeg." *Add. MS.*, 14,970.

[9] "Trwmgul"—*Add. MS.*, 14,970; "trwyngul"—*Add. MS.*, 14,964.

[10] "Hirbeth"—*Add. MSS.*, 14,970, a 14,964. Golyga "hurbeth" geffyl, neu rywbeth cyffelyb, yn fenthyg = *hired horse*; a tebyg mai "hurbeth" a ddywedodd Iolo.

[11] "Marw o'r gysp mawr argospion." *Add. MS.*, 14,970.

"Marw or gysp mawr ar gosbion."—*Add. MS.*, 14,964.

"Argospion" = cospedigaethau: ystyriai y bardd fod y golled a gafodd trwy i'w geffyl drigo fel math o gosp arno.

[12] "Heno'n farw fal hen furia"—*Add. MSS.*, 14,970, a 14,964.

"Furia" (= *carrion*) sydd gywir.

[13] "Gwiliwch" = sylwch.

[14] "Ar lethr y bryn y llithia'r brain."—*Add. MS.*, 14,970.

"Ar lethr y bryn y lithiaw'r brain."—*Add. MS.*, 14,964.

Dir ym kyn dwyn da ar oed[1]
roi ergid[2] cais ir argoed[3]
Rhyngof uniown gof angerdd
a choed y mynydd a cherdd[4]
Gyrthied[5] kof eurged fowrgoeth
ym-henn[6] y dewinbren doeth
Ithel wyr Ithel wr uthur[7]
Orwyr Ithel llwyd[8] aruthur[9]
A tholedig[10] iaith loywrdeg
Ithel delw fihangel deg[11]
Pendefig dri dyblig dabl
personaidd[12] pur rosonabl[13]
Prelad[14] iawn pur aelwyd yw
ir Eglwys aur rowioglyw[15]
Kyd wersog kof diweir salm[16]

[1] "Dir ym cyn dwyn da ar oed." *Add. MS.*, 14,970.
"Dir ym cyn dwyn da o'r coed."—*Add. MS.*, 14,964.

[2] "Ergyd"—*Add. MSS.*, 14,970, a 14,964.

[3] A oes yma gyfeiriad at ymgais aflwyddiannus o eiddo y bardd am gael march mewn lle o'r enw Argoed?

[4] I'n tyb ni y mae darlleniad *Add. MSS.*, 14,970, a 14,964, yn anghywir yma:—"A choed a mynydd a cherdd." Dyweyd y mae y bardd iddo fyned rhagddo gyda phrysurdeb tua Choed y Mynydd, preswylfod Ithel, gyda cherdd.

[5] "Gyrthied"= dyfod i gyffyrddiad â.

[6] "Ymgen."—*Add. MS.*, 14,964.

[7] "Uthr"—*Add. MSS.*, 14,970, a 14,964.

[8] "Lwyr"—*Add. MS.*, 14,970; "lwyd"—*Add. MS.*, 14,964.

Achau Ithel ap Robert o ochr ei fam a geir yma, yr hon, fel y sylwyd, oedd ferch Ithel Vychan ap Ithel Llwyd.

[9] "Arythr."—*Add. MS.*, 14,964.

[10] "Etholedig." *Add. MS.*, 14,970.

Nid ydyw llin. 39 a 40 yn *Add. MS.*, 14,964; ond y mae yn rhoddi "Etholedig" yn lle "Pendefig" yn nechreu llin. 41.

[11] St. Michael yr Archangel, gwyl yr hwn a gynhelir Medi 29. Y mae Iolo yn cyffelybu Ithel iddo!

[12] Gwell genym "personaidd" na "personiaid" fel yn *Add. MSS.*, 14,970, a 14,964.

[13] "Resonabl" — *Add. MSS.*, 14,970, a 14,964.

Rheesymol (o *reasonable*).

[14] "Prelad" (=*Prelate*)=Esgob. Nid oedd Ithel yn esgob; a diammeu mai yn y ffurf o foesair (*compliment*) y defnyddir y gair yma.

[15] "Rywiawglyw"—*Add. MSS.*, 14,970, a 14,964.

[16] "Cydwersawg cof diweirsalm." *Add. MS.*, 14,970.
"Cyd wersog cof diwair salm." *Add. MS.*, 14,964.

fum ag ef ynn dolef dalm
Gidar vn Athro klo klod[1]
an henfeistr gwys yn hanfod[2]
Or un llwyth o Ronnwy llwyd[3]
Post Drefrydd pais Dryfrnod[4]
Peth mwy o Ronnwy wir iawn[5]
winfaeth bennaeth fab Eniawn[6]
Uriel[7] fu /r/ angel bro engyl[8]
Digon oeddyd i degingyl[9]
Nid oes fab sant or kantref[10]
oen Duw na phenraith[11] ond ef
Gre[12] sydd eiddo gras eiddun[13]
A meirch a pham na rydd ym un[14]

[1] "Gyda'r un athro clo clod." *Add. MSS.*, 14,970, a 14,964.

[2] Awgrymir yma fod Ithel ac Iolo yn adnabyddus i'w gilydd er yn blant, a'u bod wedi bod dan addysg yr un athraw. Yr oedd eu bod yn gyd-ysgolheigion yn ddadl gref dros i'r blaenaf wrando ar gais yr olaf.

[3] "Or un llwyth oronwy llwyd." *Add. MS.*, 14,964.

"Post Drefryd pais edrifrwyd."—*Add. MS.*,14,970.
"Post drefydd pons drifrwyd." *Add. MS.*, 14,964.

[5] "Ronwy uniawn."—*Add. MS.*, 14,964.

Gronwy ap Einion ap Seysyllt. Gwel yr achau ar ddechreu y Cywydd.

[6] "Winfaeth bennaeth fab Einiawn."—*Add. MS.*,14,970.
"Winvaeth benaeth vab Einiawn."—*Add. MS.*,14,964.

[7] Enw a roddir ar un o'r angylion.

[8] "Irugl."—*Add. MS.*, 14,964.

[9] "I Degeingl"—*Add. MS.*, 14,970; "a deg einigl"—*Add. MS.*, 14,964.

Tegeingl (Seis. *Englefield*)—enw a roddid gynt ar gantref yn Sir Fflint, yr hwn a elwir yn awr gan y Seison yn "Hundred of Coleshill."

[10] "Nid oes Fabsant o'r Cantref." *Add. MS.*, 14,970.
"Nid oes mab sant o'r cantref." *Add. MS.*, 14,964.
Cantref Tegeingl.

[11] "Phen rhaith"—*Add. MS.*, 14,970; "phenwaith"—*Add. MS.*, 14,964.

[12] "Gre sy iddaw, gras eiddun." *Add. MS.*, 14,970.
"Gressydd iddo gras euddyn." *Add. MS.*, 14,964.

[13] "Gre" (=*stud*). Hyny yw, yr oedd gan Ithel luaws o feirch.

[14] "A meirch, pam na rydd im un?"—*Add. MS.*, 14,970.

Na roed farch kul diarchen[1]
bwygus[2] i wr heinus hen[3]
rhag gorwedd osgedd ysgwnn[4]
ynn dwyn y baych dann i bwnn[5]
Pei kaffwn arian swm rymsi[6]
heb fwng ef ai hebo fi[7]
Mi a wnn ar hwn /r/ haf[8]
mae ebol goffol[9] a gaffaf

[1] "Diarchen" = un heb ei bedoli.

[2] "Brwygys."—*Add. MS.*, 14,964. Yr ydym yn methu a chael "bwygus" na "brwygys" yn ein geirlyfrau. Awgryma Iolo Morganwg "llwygus" ar ymyl y ddalen yn *Add. MS.*, 14,970; a thebyg mai "llwygus" = *anhywaeth* sydd gywir.

[3] Gwelir fod y bardd wedi myned i oed y pryd hyn.

[4] "Osgedd ysgwn"—*Add. MS.*, 14,970; "asgedd ysgwn"—*Add. MS.*, 14,964.

"Osgedd" = ystum?

[5] "Yn dwyn y baich dan ei bwnn."—*Add. MS.*, 14,970.
"Yn dwyn y baix dan i bwn." *Add. MS.*, 14,964.

[6] "Pe caffwn ranswn rwnsi." *Add. MS.*, 14,970.
"Pe caffwn arian swm rownsi." *Add. MS.*, 14,964.

"Rhwnsi," yn ol y Dr. Pughe, ydyw ceffyl gyda blewyn garw. Yng Nghyfreithiau Hywel Dda (*Myv. Arch.*, p. 998) dywedir—"Rônsi, neu sômermarc, côeugaint a tal," yr hyn a gyfieithir gan Aneurin Owen (*Myv. Arch.*, p. 1052) fel hyn—"A runcy, or a sumpter-horse, is six score pence in value."

[7] "Heb fwng ef a hebo fi." *Add. MS.*, 14,970
"Heb fwng ef ae hebo fi." *Add. MS.*, 14,964.

O bosibl nad oes yma gyfeiriad at arferiad o dori ymaith fwng ceffylau; a gofyna y bardd am un heb dori ei fwng, onide ni allai sefyll ar ei gefn pe cawsai "arian swm rymsi."

[8] "Mi a awn ar hwn yr hâf." *Add. MS.*, 14,970.
"Mi awn ar hwn yr haf." *Add. MS.*, 14,964.

Y mae yn eglur mai y testyn sydd gywir; o blegid cyssylltir y rhan gyntaf o llin. 65 gyda'r llinell ddilynol:—

"Mi a wn . . . . mai ebol goffol a gaffaf."

[9] "Goffol" = lled wirion. Tebyg mai mewn ysmaldod y dywedai y bardd hyn. "Er i mi," fel pe dywedasai, "ofyn am farch cymhwys i hen ŵr fel y fi, eto y mae yn ddigon tebyg mai un hollol groes i hyny a gaf; ac os felly," fel yr awgryma yn y llinellau dilynol, "nis gwn pwy a all ei ddal i'w bedoli, na pha fodd y marchogaf innau ef."

pwy ai deyl tre pydolwyf[1]
pwy a lun arno pwl wyf[2]
O rhed march[3] ar hyd y maes
gorwyllt lwdwn[4] fal gafr walltlaes
Ni thrigwnn eithr ar ogwydd
im kyfrwy mwy nag wy gwydd
O thiria[5] hwch a throi hwnn[6]
kamp yw arno kwmpiwnn[7]
O siga kloria[8] kleiriach[9]
o syrth ni ddwg un nos iach
O bratha flaen fy nhafawd[10]
yna gwaethyga gwawd[11]
Nid ta ir kylla keullawn[12]
march a thyth rhag morchwyth iawn[13]

1 "Pwy ai deil tra pedolwyf." *Add. MSS.*, 14,970, a 14,964.

2 "Pwy a lŷn arno pwl wyf." *Add. MS.*, 14,970.
"Pwy a lyn arnaw pwl wyf." *Add. MS.*, 14,964.

3 "Nag."—*Add. MS.*, 14,970. Cymreigiad o air Seisoneg a geir yn yr ysgriflyfr hwn; ond "march" ydyw y goreu. *Nag* = corfarch. Sonia Lewis Glyn Cothi (*Gwaith*, tudal. 310) am "*Nag* tew yn gwta iawn."

4 "Lwdn"—*Add. MSS.*, 14,970, a 14,964.

5 "O thiria," gwell nag "O thuria" yn *Add. MSS.*, 14,970, a 14,964.

6 "Hwn"—*Add. MSS.*, 14,970, a 14,964.

7 "Camp yw arnaf y cwympwn." *Add. MS.*, 14,970.
"Camp yw arna y cwympiwn." *Add. MS.*, 14,964.

8 "Kloria" = cloriau, yma yn golygu y corff fel gwisg yr enaid.

9 "Kleiriach" = hen ŵr methiedig.

Nid ydyw llin. 74-75 yn *Add. MSS.*, 14,970 a 14,964.

10 "O brathaf flaen fy nhafawd." *Add. MS.*, 14,970.
"O bratha flaen fynhauawd." *Add. MS.*, 14,964.
Brathu blaen ei dafod, mae'n debyg, wrth syrthio oddi ar y march.

11 "Wel yna waeth y ca wawd." *Add. MS.*, 14,970.
"Wel yna waeth y cu wawd." *Add. MS.*, 14,964.
Ar ol brathu ei dafod, buasai yn fwy anhawdd iddo ganu moliant.

12 "Nid da ir cylla ceullawn." *Add. MSS.*, 14,970, a 14,964.

13 "March a thuth amorchudd iawn."—*Add. MS.*, 14,970.
"Marx a thyth rhag morxudd iawn."—*Add. MS.*, 14,964.

llyna[1] megis y llinniwn[2]
pes keid yng-wilie'r pask hwnn[3]
Hacknai[4] a siwrniai sarn
Didramgwydd da di-drym-garn
gwynn i fyd hefyd yr haf
ai gwelai y modd i gwelaf
Gwas go gwtta da di-hort[5]
ag eiddystr mewn kebystr kort[6]
Yn dyfod dann[7] ammod ym
ynn anrheg gan Ioniewn-rhym[8]
Mi a wnawn lawn lawenydd
yw genad e gyn y dydd[9]
Drwy groeso Duw droi gras da[10]
Wrtho ef am diwartha.

Iolo Goch ai kant.

[1] "Llamma."—*Add. MS.*, 14,964. Diammeu mai "llyma," yn ol *Add. MS.*, 14,970, sydd gywir.

[2] "Llinniwn" = *lluniwn*, mae'n debyg; ond "llymwn" a geir yn *Add. MSS.*, 14,970, a 14,964.

[3] "Pesceid yngwilian pasg hwn." *Add. MSS.*, 14,970, a 14,964.

[4] "Hacnai"—*Add. MS.*, 14,970; "Hacenai'n"—*Add. MS.*, 14,964.

Nid ydym mewn un modd i dybied mai y cerbyd hwnw a elwir yn *Hackney-coach* a feddylir yma; o blegid nid oedd cerbydau o'r fath mewn bod yn amser Iolo; y meddwl yma yn ddiau ydyw *ceffyl benthyg*. Defnyddir y gair *Hacnai* am *farch* gan Lewis Glyn Cothi (*Gwaith*, tudal. 299):—

"Dwyrod o bob priodas,
Ar eu *Hacnai* 'gai bob gwas."

[5] Y mae *Add. MS.*, 14,964, yn wallus wrth roddi "digort."

Wrth "dihort" yn llythyrenol y meddylir *digerydd*, ond y meddwl yma ydyw *difai*. Cyfieithir llin. 87-88 gan y Dr. Pughe (*Geiriadur*, s.v. "cort") fel hyn:—"A good squabby boy, not to be chided, with a steed in a halter of cord."

[6] "Ag eddystr mewn cebystr cort."
*Add. MSS.*, 14,970, a 14,964.
Eddystr = march.

[7] "Dan"—*Add. MSS.*, 14,970, a 14,964.

[8] "Iôn hawnrym."—*Add. MS.*, 14,970.

"Ion." Y mae yn galw Ithel yn *arglwydd*.

[9] "Iw gennad ef gyn y dydd."
*Add. MS.*, 14,970.
"Yw genad gyn y dydd."
*Add. MS.*, 14,964.
Addewid sydd yma o'r croesaw a wnelai i was Ithel pan ddeuai â'r march.

[10] "Drwy groeso Duw troi gras da."—*Add. MS.*, 14,970.

# XXXI.

## C. I ERCHI MARCH ITHAEL AP RHOTPERT.

---

*(O Lyvr Huw Lleyn—Add. MS., 14,967, fol. 84b).*

Y mae y cywydd hwn i'w weled hefyd yn *Add. MSS.*, 14,964, 14,969, a 14,970; ac hefyd yn *Jesus MS.*, C. 101, p. 360.

Pa un ai o flaen ynte ar ol y cywydd blaenorol y cyfansoddwyd hwn, sydd fwy nas gallwn benderfynu; ond ceir digon o brawf ynddo y dylid ei amseru yn y cyfnod yr oedd Ithel yn dal y swydd o archddiacon (1375—1382). Nid oes un awgrymiad yn y cywydd hwn mai gofyn am fenthyg march yr oedd y bardd; ond yn hytrach, y mae yn erfyn mewn modd amlwg, a chyda chryn hyder y gwrandewid ar ei gais, am gael un yn anrheg. Yn y dechreu, cwyna wrth yr hen geffyl oedd ganddo ei fod wedi myned mor hen nes yr oedd yn ymollwng o dano, a dywed fod yn rhaid iddo gael un arall yn ei le. Ond yr hyn oedd yn ei ddyrysu yn lân oedd na wyddai ym mha le y caffai un; a phan yn cwyno fel hyn, y mae ei hen geffyl methiantus yn ei gynghori i fyned at yr Archddiacon Ithel ap Robert, ac yn ei sicrhau y byddai iddo gael un ond ei geisio. Ac y mae y llinellau o 15 hyd 26, fel y dangosir yn *Add. MS.*, 14,970, yn cael eu priodoli i'r hen geffyl. Bydd yn fanteisiol cadw hyn mewn cof wrth ddarllen y llinellau hyny. Yna y mae Iolo yn ein hysbysu i'w gais droi allan yn llwyddiannus, ac yn dysgrifio pa fath farch a gafodd. Ceir amryw awgrymiadau yn y cywydd fod y bardd yn hen ac yn dlawd; ac y mae y rhan olaf o hono mewn modd arbenig yn canmol Ithel am ei haelioni a'i garedigrwydd gwastadol tuag ato. O ran ei deilyngdod fel cyfansoddiad barddonol, o leiaf y

rhanau a ddeallwn o hono, gellir ei roddi yn y dosbarth canolig o'i gymharu â chyfansoddiadau ereill yr awdwr Eto, tybiwn y buasai yn anhawdd iddo ganu yn well ar y fath destyn sychlyd—er yn bwysig iddo ef.

Ro[1] Duw mawr y march blawrblwng[2]
Mall yr wyd yn ymollwng
Tec gwrser tew a garsyth[3]
Oeddyd drwc na bythvt byth[4]
Gyrveydd[5] gorav vuost
Ithol[6] dihir ym a thost
Gweled yn wac lle ith vagwyd[7]
A bod dy breseb heb bwyd[8]
Beth awnna dana im dwyn
am or wyddvarch mawr addvwyn[9]

[1] "Rho"—*Add. MS.*, 14,970; ond wedi ei adael allan yn *Add. MS.*, 14,964.

[2] "Blawr" = llwyd-wyn. "Blwng" = anfoddog.

[3] "Teg o *Gwrser* tew a gwarsyth.—*Add. MS.*, 14,970. "Cwrser" (o *courser*) = rhedegfarch. Defnyddir y gair gan Lewis Glyn Cothi (*Gwaith*, tudal. 27):—

" Ser ar bob *cwrser* o'r cwrt,
A llyn a bwyd er llanw bort."

[4] "Oeddyt tost na byddyt byth." *Add. MS.*, 14,970.

[5] "Gyrfaydd"—*Add. MS.*, 14,970; "Gyrfaudd"—*Add. MS.*, 14,964, a *Jes. MS.* Cyfieithir y llinell gan y Dr. W. O. Pughe fel y canlyn:—
"The best *racer* hast thou been."

[6] "Ith ol"—*Add. MS.*, 14,970, a *Jes. MS.*

[7] "Gweled yn wag, lle'th fagwyd."—*Add. MS.*, 14,970.

[8] Gwell na darlleniad *Add. MS.*, 14,970, o ran y dechreu, ond gwaelach na'r diwedd:—"O fod dy breseb heb fwyd." "Preseb" ydyw yr enw a roddir yn gyffredin ar y lle yr ymbortha gwartheg mewn beudy; ond "rhesel" (*rack*) ydyw yr enw a roddir ar ymborthfan y march mewn ystabl; a "resel" ydyw y darlleniad yn ol *Add. MS.*, 14,964. Pa fodd bynag, y mae ein geiriadurwyr yn defnyddio preseb am y naill a'r llall, er enghraifft, dywed Thomas Richards—"Preseb, *a cratch, a rack or crib, a manger.*"

[9] "Beth a wnaf danaf im dwyn
am orwyddfarch mawr addfwyn."—*Add. MS.*, 14,970.

Nid oes dim gwahaniaeth rhwng y darlleniad hwn a'r testyn, ond yn unig fod rhanau o'r geiriau yn cael eu dadgysylltu. "Gorwydd" ydyw *rhedegfarch* wedi ei ddysgyblu; ond yma y mae y bardd yn ychwanegu *march* fel attodiad iddo, gyda'r unig amcan o gael y llinell yn ei hyd.

Gorddyn[1] gan gleiriach gerdded[2]
heb gael gorffowys[3] heb ged
heb varch ym onis archwnn[4]
I bwy is konuw nis gwnn[5]
Rof gyngor yt rac angen[6]
Myned at Ithael hael henn
Ap Ropert vab pert ywr por[7]
Ion Archdiagon devgor[8]
Dogn anaeth da gan ithael
Kadw kylch ac ef kyd kael[9]
Nid rraid i ti ni ddieylch[10]
Nac oidi kar nev gadw kylch
Nac ervyniaid kyvriaid ku[11]
Nac[12] *erchi* ond ei gyrchu    eirchiaid

[1] "Gorddig."—*Add. MS.*, 14,970. Ai nid "gorddwy" (=*oppression, violence, pressing*, &c.) a ddylai fod yma? Ai nid dyweyd y mae, mai caled oedd i hen ŵr orfod cèrdded?

[2] Yn ol y llinell hon yr oedd y bardd mewn oedran pan gyfansoddwyd y cywydd.

[3] "Gorphwys."—*Add. MS.*, 14,970.

[4] "Oni archwn."—*Add. MS.*, 14,970.

[5] "I bwy'n is Gonwy nis gwn." *Add. MS.*, 14,970. Is Gonwy ydyw y rhanbarth ddwyreiniol i afon Gonwy.

[6] "Rho gyngor yt rhag angen." *Add. MS.*, 14,970.

[7] "Ab Rhobert ab/fab pert ab/fab pôr." *Add. MS.*, 14,970.

[8] "Archddiagon ddeugor." *Add. MS.*, 14,970. Y mae yma awgrymiad fod Ithel yn dal dwy swydd berthynol i'r Eglwys Gadeiriol.

[9] "Dogn a wnaeth da gan Ithael cadw cylch ag ef cyd cael/rael." *Add. MS.*, 14,970.

"Dogn waith da gan Ithel gadw cylx ag ef gwedi cael." *Add. MS.*, 14,964.

Os ydym yn deall y bardd yn iawn, ei feddwl ydyw y buasai Ithel yn ei ystyried yn ddigon o dâl am y march i Iolo fyned ar gylch i'w lys i farddoni tipyn iddo. Ond yn y llinellau dilynol y mae yn ychwanegu nad oedd hyny mewn un modd yn angenrheidiol *cyn* iddo gael y march—nad oedd eisiau dim heb law anfon am dano. Felly, yr oedd gan yr hen fardd syniad uchel am haelioni ei noddwr, o'r hwn yr oedd wedi derbyn, yn ddiammeu, lawer tro cyn hyn.

[10] "Ddiylch"—*Add. MS.*, 14,970; "ddieilx"—*Add. MS.*, 14,964.

[11] Ni bydd angen am yr erfyniadau arferol. Y mae darlleniad y testyn, yn ein tyb ni, yn ddigon dealladwy, ac yn llawer gwell na'r rhai a ganlyn:—

"Nag ymddiried cysred cu." *Add. MS.*, 14,970.

"Nac yn ddyried cyffred cu." *Add. MS.*, 14,964.

[12] "Nag."—*Add. MS.*, 14,970.

Ti a gai[1] eddestr tec iawn
Ganthaw oi wenllaw winllawnn[2]
Bu gwir oes i debic e
Benaic eglwys ben gigle[3]
Marrw vymarch mawr vu i mi
Egyllaeth wedi i golli[4]
Anvon anwylion yn ol
Syberw[5] vu ddewis ebol[6]
A hebrwng eddystr[7] blwng blawr
Kain addvwyn tec kynyddvawr[8]
Karn gevgraff mewn rraff yn rrwym[9]
Byanrudd mawr i benrwym[10]
Bronddor pes brynai Ior Iork[11]
Dirmic oedd arnaw deirmork

[1] "A gei"—*Add. MS.*, 14 970, a *Jes. MS.*

[2] Gwell ydyw darlleniad *Add. MS.*, 14,970:—

"Ganthaw ai wenllaw winllawn."

[3] Y mae darlleniad *Add. MS.*, 14,970, yn well yma eto:—

"Bu gwir na bu debig ef
Bennaig Eglwys ban giglef."

[4] "Marw fy march mawr fu i mi
O gyllaeth wedi golli."
*Add. MS.*, 14,970.

"O gyllaeth" = O ofid: Y mae y geiriau hyn, gydag amryw ereill, yn y cywydd hwn yn gystal a'r un blaenorol, yn mwy nag awgrymu os oedd Iolo yn Arglwydd Llechryd, fel y dywedir, ei fod yn rhy dlawd i brynu march iddo ei hun. Os na allwn gasglu y ffaith hon oddi wrth ei eiriau, rhaid dyfod i'r penderfyniad nad oes iddynt ystyr o gwbl, ac nad ydyw ei gywyddau yn werth dim.

[5] "Syberw"=haelionus.

[6] Nid ydyw llin. 31-32 yn yr ysgriflyfrau ereill.

[7] "Eddestr."—*Add. MS.*, 14,970. Eddestr=march, neu ryfel-farch. Ysgrifenir ef yn *eddestr* ac *eddystr*.

[8] "Cain addfwyn teg cynnyddfawr."—*Add. MS.*, 14,970.

"Carn" a geir yn lle "cain" yn *Add. MS.*, 14,964.

[9] "Carn gangraff mewn rhaff yn rhwym."
*Add. MS.*, 14,970.

[10] "Blaunrhudd ffurf ei benrhwym."
*Add. MS.*, 14,970.

"Buanrhodd ffurf benrhwym."
*Add. MS.*, 14,964.

"Byanrhûdd ffûrf i benrhwym."—*Jes. MS.*

Rhwng y llinell hon a'r un ddilynol, ceir y sylw canlynol ar ymyl y ddalen yn *Add. MS.*, 14,970, gan Iolo Morganwg:—"Diffyg yma I.M.," gan gyfeirio o bosibl at y diffyg odl rhwng "Iorc" a "morch."

[11] "Brondor pe'r prynai Ior Iorc
dirmyg oedd arno deirmorch."
*Add. MS.*, 14,970.

"Brondor"=tarian.

Nid hwnn ywr march blaenbarch blawr
ffroenvoll olwyngarn ffrwynvawr[1]
Kyntaf bardd vyddaf iddaw
Nac ola ym gael oi law[2]
Llyma r maes a llyma r march
Gwedi[3] cael gavael gyvarch
Pa dda yr hyn derwyn dyrwyf[4]
Provi ei ddovi y ddwyf[5]
Pa vunud evd eofn[6]
Ar i gefn yra rac ofn[7]
Raid ysgynvaen chwaen chwimwth[8]
Trwm vydd[9] dyn krwm val dwyn krwth
[10]Raid ym ochel bugelydd[11]
Ai gorchymyn yn syn fydd[12]

[1] "A hwn yw'r march blaenbarch blawr
ffroenfoll olwyngarn ffrwynfawr."—*Add. MS.*, 14,970.

[2] "Cyntaf bardd fyddaf iddaw
a golau im gael o'i law."
*Add. MS.*, 14,970.

Tybiwn fod meddwl y testyn yn ddigon eglur; ond nid felly y darlleniad hwn.

[3] "Wedi gael gafael gyfarch."
*Add. MS.*, 14,970.

[4] "Pa dda ym dirym dyrrwyf."
*Add. MS.*, 14,970.
"Pa dda im dir ym dyrwyf."
*Add. MS.*, 14,964.

[5] "brofi ei ddofi ydd wyf"
*Add. MS.*, 14,970.
"Profi ei ddofi ydd wyf."
*Add. MS.*, 14,964.
"brofi i ddofi i ddwyf."
*Jes. MS.*

[6] "Pa funud ehud eofn."
*Add. MS.*, 14,970.
"Pa fynyd ehyd ehofn."
*Jes. MS.*

[7] "Ar ei gefn yr af rhag ofn."
*Add. MS.*, 14,970.
"Ar i gefn i raf rhag ofn."
*Jes. MS.*

[8] "Rhag disgynfaen"—*Add. MS.*, 14,970, a *Jes. MS.*; "Rhai disgynfaen"—*Add. MS.*, 14,964. Tebyg mai "Rhaid" a fyddai gywir. Disgynfaen = *horse-block*.

[9] "Fyd" yn *Add. MS.*, 14,970; ond yn wallus yn ddiau. "Fydd" a geir yn *Jes. MS.*

[10] Yn blaenori llin. 51 yn *Add. MS.*, 14,970, ceir y ban a ganlyn, yr hwn a welir hefyd yn Cywydd Rhif XXX., llin. 71-2.
"Ni thrig eithr ar ogwydd
iw gyfrwy mwy nag wy gwydd."
Y mae y ban hwn hefyd yn *Jes. MS.*

[11] "Bugelydd" = bugeiliaid.

[12] "A'r gorchymmyn rhai synn sydd."—*Add. MS.*, 14,970.
"A gorxymun hyn sy'n rhydd."—*Add. MS.*, 14,964.

Ar y ffordd yro vi i ffo[1]
Rybuddied rrai ai beiddio
O bell rrac dywedud bw[2]
Gair honnaid garw yw hwnnw[3]
Raid yw ym ochel melin
Henllan[4] gwrach gronglwydwan[5] grin
hi ai chlep val hwch lipa[6]
Is y ffordd yn yssu[7] ffa
Ai chafn gan yr ayafnos[8]
Ai ffordd garegawc[9] ai ffos
Raid ymoglud ryd maglau
Glyn meirchion ar goed vron gau[10]

[1] "Ar y ffordd orhoff y ffo."
*Add. MS.*, 14,970.
"Ar y ffordd oroff i ffo."
*Jes. MS.*

[2] "O bell rhag dywedyd bw."
*Add. MS.*, 14,970.
Yr oedd yr hen fardd yn ofnus; yn gymmaint felly fel yr oedd arno ofn i unrhyw beth ddychryn ei farch.

[3] "Gair hynod garw iw hwnnw."
*Add. MS.*, 14,964.

[4] Saif pentref Henllan mewn plwyf o'r un enw, ryw ddwy filltir i'r gogledd-orllewin o dref Dinbych, ar y ffordd sydd yn arwain i'r Coed a Llechryd—a saif Llechryd ryw filltir helaeth tu hwnt i Henllan. Mewn glyn dwfn, trwy yr hwn y rhed yr afonig Meirchion, y mae melin at falu gwenith; a gwelwn ei bod yno yn amser Iolo Goch.

[5] "Gronglwydwann."—*Add. MS.*, 14,970.

[6] "A chlap megis hwch lippa."
*Add. MS.*, 14,970.
Diau mai y testyn sydd gywir, er ein bod yn methu a deall pa debygolrwydd a allasai fod rhwng "clep" melin Henllan i "hwch lipa," os nad oedd y naill fel y llall yn wrthddrychau i beri i farch ddychrynu.

[7] "Ysu"—*Add. MSS.*, 14,970, a 14,96

[8] "Ai chafn gan yr auafnos."
*Add. MS.*, 14,970.
"Ai chafn yn y gaiafnos."
*Add. MS.*, 14,964.

[9] "Garregog."—*Add. MS.*, 14,970.

[10] "Rhaid yw moglyd rhyd maglau
Glynn Meirchion a'r goed-fronn gau."
*Add. MS.*, 14,970.

Yn fuan ar ol myned trwy Henllan—i gyfeiriad Llechryd—daw y teithydd i orwaered sydyn, gyferbyn a'r hwn y mae codiad yr un mor sydyn. Trwy y glyn hwn y rhed nant o'r enw Meirchion, cyn ymuno â'r Asa. Gyferbyn â Melin Henllan, ar yr ochr arall i'r nant, gwelir palasdy o'r enw Llys Meirchion. Nid ydyw y glyn dwfn hwn yn cael ei alw yn awr yn *Glyn Meirchion*, er ei fod felly mewn

[1]Raid ofn y gevffordd ddofn ddwys
Ai chreiglethr vwch yr Eglwys
Bo pa fo ym aflym wy
Ai syrthio ai nas syrthwy[2]
llwyr vendith dduw llorf iowndec[3]
Ir gwr ai rroes gorau rrec[4]
Vchelwyl hwyl hil vchdrud[5]
Vchel grair yw byw mewn byd[6]
[7]llugorn y bwyll ai llogell
llygad y berveddwlad[8] bell
Digwyl mapsant holl Degaingl
digel glod angel gwlad eingl[9]

gwirionedd. Ond wrth edrych arno, nid ydym yn rhyfeddu fod ar Iolo ofn myned trwyddo ar farch gwyllt. Y mae pont goryg dda yn croesi nant Meirchion yn awr, yn ymyl y felin; a diammeu fod y lle yn llawer mwy peryglus y pryd hwnw nag ydyw yn awr.

[1] Yn blaenori llin. 67, yn *Add. MS.*, 14,970, ceir y ban a ganlyn :—

"Ffordd enbyd ar Ffair Ddinbych,
amldraenllwyn a gwyrysglwyn gwrych."

Yr un modd hefyd yn *Jes. MS.*, ond fod "grwysglwyn" yn cael ei roddi yn lle "gwyrysglwyn." Nid ydyw llin. 65-66, yn *Add. MS.*, 14,970.

[2] "Bo a fo ym aflym wyf,
ai syrthio ai na syrthiwyf."
*Add. MS.*, 14,970.

[3] "Llwyr fendith Duw llorf iawndeg."
*Add. MS.*, 14,970.

"Llwyr fendith ddûw llorf iawndeg."
*Jes. MS.*

[4] "ir gŵr ai rhoes goreu rhêg."
*Add. MS.*, 14,970.

"Rheg" = anrheg.

[5] "Uchelwyl hwyl hael Ychryd."
*Add. MS.*, 14,970.

"Uxelwyl hwyl hil Exryd."
*Add. MS.*, 14,964.

Cyfeirir yma at Uchdryd ab Edwin ab Goronwy, yr hwn o ochr ei fam oedd un o hynafiaid Ithel ap Robert. Als (Alice ?) ferch Ithel Fychan ap Ithel Llwyd ap Ithel Gam ap Maredydd ap Uchdryd ab Edwin ap Goronwy. (Gwel uchod, tudal. 267 a 325.)

[6] "Uxel grair yw'n byw'n y byd."—*Add. MS.*, 14,964.

[7] Nid ydyw llin. 73-74 yn *Add. MS.*, 14,970.

[8] Nid ydyw yn eglur i ni pa briodoldeb oedd mewn dyweyd "y berveddwlad bell." Cynnwysai y Berfeddwlad y pedwar Cantref a elwid Rhôs, Rhufoniog, Dyffryn Clwyd, a Thegeingl. Felly yr oedd cartrefleoedd Ithel ac Iolo o fewn i'r Berfeddwlad—*ac nid yn bell.*

[9] "Dygwyl mabsant holl Degaingl
digel glod angel gwlad Aingl."
*Add. MS.*, 14,970.

Rac or wr mawr rrac eraill
y sydd arnaw garllawr llaill[1]
llawenach lliw i wynneb[2]
yw *ef* a haelach no neb[3] *fo*
Parabl rrysonabl ruw sant[4]
kywirdeb mal kyweirdant[5]
ffrwyth edyn ewynllwyth winlliw[6]
A ffryd[7] archangel ai ffriw
Yn hadmaeth e helaeth hael[8]
Weithian ymy yw ithael[9]
Am keifn ydiw am kyvaillt
Amau[10] o beth a[11] mab aillt
Ardreth dichwith[12] gan Ithael
Y sydd ym gyflym yw gael

1 Nid ydyw llin. 77-78 yn *Add. MS.*, 14,970. Ond eu hysgrifenu yn y drefn a ganlyn bydd eu meddwl yn amlwg:—

"Rhagor, wr mawr, rhag eraill
Y sydd arnaw, garllaw'r llaill."

2 "Ei wyneb."—*Add. MS.*, 14,970.

3 "Yn wir a haelach na neb." *Add. MS.*, 14,970.
"Yn wir helaethax na neb." *Add. MS.*, 14,964.

4 "Parabl rhysisiabl rhyw Sant." *Add. MS.*, 14,970.
"Parabl rysinabl ryw sant." *Add. MS.*, 14,964.
"Parabl rhysinabl rhyw sant." *Jes. MS.*
"rrysonabl" (o *reasonable*) = rhesymol.

5 "Cywirdeg fal cywairdant." *Add. MS.*, 14,970.

6 "Ffrwyth hyd yr unllwyth winlliw." *Add. MS.*, 14,970.
"Ffrwyth yd yr unllwyth wenlliw."—*Add. MS.*, 14,964.

7 "Phrid"—*Add. MS.*, 14,970; "phrud"—*Add. MS.*, 14,964; "ffryd"—*Jes. MS.*
Pryd a *gwedd* (= ffriw) archangel gan Ithel!

8 "Fy nhadmaeth ehelaeth hael." *Add. MS.*, 14,970.
"Fy nhadmaeth ŵr helaeth hael."—*Add. MS.*, 14,964.
Tebyg mai o ran ei garedigrwydd ato, yn gystal ag o ran ei swydd Eglwysig, y geilw y bardd ef yn dadmaeth, ac nid o ran y gwahaniaeth yn eu hoedran; o blegid yn y cywydd blaenorol y mae yn ei osod allan fel ei gyd-ysgolor.

9 "Imi weithion yw Ithael." *Add. MS.*, 14,970.

10 "A mau."—*Add. MS.*, 14,964.

11 "Am."—*Add. MS.*, 14,970.

12 "Ardreth ddichwith."—*Add. MS.*, 14,970.
Rhaid fod y gair "ardreth" yma yn golygu rhywbeth gwahanol i'w ystyr gyffredin—rhodd neu anrheg, o bosibl.

Pensiwn[1] balch gwalch *gwelhyth*[2] *gwehelyth*
92 Diwallu kleirch[3] ar veirch vyth[4]
A chael ar bob vchelwyl
Anrec a gwahawdd hawdd hwyl[5]
[6]Teilyngorff tawel angerdd
96 Talm ai gwyr da tal am gerdd
Talu arian a rruddaur
Marchoc wyf[7] a meirch ac aur
Ai vwyd ai lyn ar ei vord
100 Wyr rrikart wi o rrekort[8]
Duw iw adel dywedwnn[9]
Poed gwir[10] bywyd hir i hwn

Iollo Goch ai kant.

[1] "Pensiwn" (o *Pension*) = blwydd-dâl. Ond "Penswn" ydyw y darlleniad yn *Jes. MS.*

[2] "Gwehelyth." *Add. MS.*, 14,970.

[3] "Clairch"—*Add. MS.*, 14,970; "cleirx"—*Add. MS.*, 14,964.

Y lluosog o *cleiriach* = yr hen methiantus.

[4] "Fairch fyth"—*Add. MS.*, 14,970; "feirx fyth"—*Add. MS.*, 14,964.

[5] "Anrheg a gwawd hawd hwyl." *Add. MS.*, 14,970.

"Anrheg gwahawdd hawdd i hwyl".—*Add. MS.*, 14,964.

[6] Nid ydyw llin. 95-98 yn yr ysgriflyfrau ereill.

[7] Ymddengys i ni mai "wyt" ac nid "wyf" a ddylasai fod yma; o blegid, ammhriodol a fuasai i farchog yn meddu ar feirch ac aur ofyn am farch.

[8] "Ai fwyd ai lynn ar ei fort
Wyr Rissiart wy o Rariort."
*Add. MS.*, 14,970.

"A i fwyd ai lyn ar y ford
Wyr Rixard iw o Roxord."
*Add. MS.*, 14,964.

Yn y *Jesus MS.*, rhoddir "Rackort" yn lle "rrekort."

[9] "Adael dywedwn"—*Add. MSS.*, 14,970, a 14,964.

[10] "dir" *Add MS.*, 14,970; "hir"—*Add. MS.*, 14,964

# XXXII.

## MARWNAD ITHAEL AP RHOTPERT O GOED Y MYNYDD ARCHDIACON YN YSGEIFIOG.

---

*(O Lyvr Huw Lleyn—Add. MS., 14,967, fol. 85b).*

Y mae y cywydd hwn i'w gael hefyd yn *Add. MS.*, 14,970.

Os oedd Ithel ap Robert yn fyw yn 1393, fel y dywed Pennant (*Hist. of Whiteford and Holywell*, p. 119), rhaid amseru y cywydd hwn mor ddiweddar a hyny, pa faint bynag yn ddiweddarach. Y mae yn debyg i Ithel farw oddeutu'r flwyddyn hono; pa fodd bynag, y mae bron yn sicr i'r cywydd hwn gael ei gyfansoddi cyn ymgodiad Owain Glyndwr yn 1400, onide o bosibl na fuasai ynddo ryw gyfeiriad damweiniol at y terfysg hwnw.

Yn y cywydd maith hwn, y mae y bardd ar ol cofnodi marwolaeth Ithel, a gofidio o'r herwydd, yn sylwi na chymmerodd y fath beth le o'r blaen er marwolaeth Crist! Ac ar ol ymdroi rhyw gymmaint gydag angeu y Gwaredwr, y mae yn dyfod yn ol at ddydd claddedigaeth Ithel. Ceir ganddo lawer o linellau yn ymdrin ar y galar cyffredinol a deimlid ar yr achlysur; ond buasai efrydydd hanes yn hoffi dysgrifiadau manylach parthed i'r trefniadau cyssylltiedig. Yn hyn yr ydym yn cael ein siomi. Son am angylion y mae Iolo, ac nid am ddynion. Y mae yn y cywydd hwn, fel yn y rhan fwyaf o gyfansoddiadau y bardd, gryn lawer o ganmoliaeth, wedi ei gosod wrth ei gilydd mewn gormoddiaeth amlwg. Ond yr elfen a ddaw i'r golwg egluraf yn hanes Ithel ydyw ei haelioni; am y rheswm, mae'n debyg, mai y nodwedd hono oedd wedi profi o fwyaf o wasanaeth i'r bardd ei hun. Yn rhai o'r cywyddau a ganodd i ereill, yr ydym yn cael cyfeiriadau mynych at y cwpan meddwol—fel y byddai y bardd yn mwynhau y gyfeddach gyda'i

noddwyr, ac yn eu canmol am roddi iddo gyfleusdra i dori ei syched. Ond nid ydym yn cael cyfeiriadau o'r fath yn yr un o'r cywyddau a ganodd i Ithel ap Robert. Hwyrach nad oedd yr Archddiacon mor dueddol i'r cwpan a'r mwyafrif o'i gydoeswyr. Ond y mae yn amlwg ei fod yn haelionus wrth Iolo, yr hwn, fel y gwelir yn llinell 99, oedd yn ŵr â theulu ganddo; a'r rhai, yn ol pob tebyg, a deimlent golled ar ei ol. Ceir yn y cywydd hwn ynddo ei hun ddigon o awgrymiadau nad oedd Iolo yn ŵr cyfoethog.

Erres i tores tera[1]
Yr awr honn blenhigion pla[2]
Ac eres i mac[3] orofn
4 Arni bellen ddefni ddofn[4]
Mae achreth oer grethergryd[5]
Ar akses mal kryn wres kryd[6]
Tymestl a ddoeth nid duwmowrth[7]
8 Dydd mawr rrwng diwedd y mawrth[8]
Ar Ebrill di ynill ynn[9]
Diviau[10] bu dechrau dychryn

[1] "Eres y torres terra."—*Add. MS.*, 14,970.

"Eres" = rhyfedd; "tera" (o *terra*, Lladin) = daear?

[2] "Blanhigion bla."—*Add. MS.*, 14,970.

Ai planhigion *angeu* a feddylir?

[3] "Y mag."—*Add. MS.*, 14,970.

[4] Nis gallwn ddyfalu meddwl y llinell hon.

[5] "Achreth o oergreth ergryd." *Add. MS.*, 14,970.

[6] "Rhag sïes o grynwres y gryd." *Add. MS.*, 14,970.

Y mae yn amlwg fod yma wallau pwysig yn yr ysgriflyfrau; ac anhawdd ydyw penderfynu pa un ai cyfeirio y mae y bardd at y cryndod oedd wedi ymdaenu dros y wlad o herwydd yr amgylchiad y cyfeiria ato, ynte ceisio dyweyd y mae i Ithel farw o ryw glefyd tebyg i'r *cryd*.

[7] "Tymbestl a wnaeth nid Duw Mawrth." — *Add. MS.*, 14,970.

Wel, os "*nid* Duw Mawrth," pa angen son am ddydd Mawrth o gwbl—ai er odli gyda'r llinell ddilynol?

[8] "A dydd mawr rhwng diwedd Mawrth." — *Add. MS.*, 14,970.

[9] "Ar Ebrill di grill dygn ynn." *Add. MS.*, 14,970.

[10] "Difiau."—*Add. MS.*, 14,970. Rhoddir ar ddeall i ni i Ithel farw ar foreu dydd Iau, sef pan oedd y

Rwng[1] y dydd newydd ar nos
Bychan a wyr ba achos
Mawr o wth marw ithael[2]
Mab rropert mab pert mab hael[3]
A rroddes i ni rruddaur[4]
Llydan ac[5] arian ac[5] aur
Maen rrinweddawl graeniawl agraid[6]
Meririd[7] glan mawr evraid
Glain gwyrthvawr einglawr eingl[8]
Glan da tec gloyn Duw tegeingl[9]
Kar ei wlad gwledychiad gwledd
Kroes naid[10] ac ennaid *gennai* Gwynedd

dydd olaf o Fawrth newydd ddarfod, a'r cyntaf o Ebrill newydd ddyfod i mewn.

[1] "Rhwng."—*Add. MS.*, 14,970.

[2] "Mawr o wth yw marw Ithael." *Add. MS.*, 14,970.

Wrth "wth" y meddylir yr hyn sydd yn *ymledu*. Ymadrodd cyffredin hefyd ydyw "Mewn gŵth o oedran."

[3] "Ap Rotpert ap pert ap hael." *Add. MS.*, 14,970.

[4] "A roddes ym o ruddaur." *Add. MS.*, 14,970.

[5] "Ag."—*Add. MS.*, 14,970.

[6] "Maen rhinweddawl gaen a gaid."—*Add. MS.*, 14,970.

Gwell genym ddarlleniad y testyn. Tebyg mai *gloes chwerw* a olygir wrth "graeniawl agraid." Os felly, dylid cyssylltu "maen rrinweddawl" gyda dechreu y llinell ddilynol.

[7] "Mererid" yn *Add. MS.*, 14,970; ond nid ydym yn cael yr un o'r ddwy ffurf yn ein geirlyfrau. Y peth agosaf a welwn yw "meirydd" = goruchwyliwr; ac ni fuasai yn ammhriodol yn ein bardd ei ystyried fel goruchwyliwr Duw, neu oruchwyliwr yr Eglwys.

[8] "Glain gwerthfawr engylfawr eingl."—*Add. MS.*, 14,970.

"Glain" yma a ddynoda yr hyn sydd *bur*, neu *sanctaidd*: "gleinion seintiau" = *holy saints*.

[9] "Glan da teg gloyn Duw Tegeingyl."—*Add. MS.*, 14,970.

"Gloyn Duw" = *butterfly*; ond a elwir yn awr yn fwyaf cyffredin yn "gloyn byw." Ymddengys i ni, fodd bynag, mai "gloyn Duw" oedd y ffurf gyffredin yn y canoloesoedd. Dywed Dafydd ab Gwilym (*Barddoniaeth*, tudal. 109):—

"Glan wëad gloywon wiail,
Glöynau Duw gleiniau dail!"

[10] "Croes naid ag enaid Gwynedd." *Add. MS.*, 14,970.

"Kroes naid" = *Crosseneych*, neu *Crosseneyht*, sef y rhan hono o'r Groes Fendigaid a gymmerwyd oddi ar y Tywysog Dafydd, brawd Llywelyn y Llyw Olaf, ac a ddygwyd o flaen y Brenin Edward I. i Ruddlan. Meddyliai Tywysogion Cymru yn uchel o'r crair hwn. (*Warrington's Hist. of Wales*, edit. 1798, ii., p. 285).

Brawd i *angel* bryd ievangaidd[1] *engyl*
pob drwc a da pawb a draidd
Neb arno ef ni barnai
Am na bu vyw ef vur bai[2]
Ni bu etto or brytwnn[3]
Ynn mor hael gan marw hwn[4]
Gwae hwnt gler mewn gwynt a glaw
Ar ddayar wedi r dduaw[5]
Ni bu ar honno kyd bo byr
Dymestl nac vn ardymyr[6]
Hyd heddiw anwiw ennwir
Gyfriw a hyn gwae vi or hir[7]
Mae Duw gwyn amodic oedd
Er moliant ir mil miloedd[8]
Mal i gwnnaeth amlwc oedd ef[9]
Da oedd wedi[10] dioddef

[1] "Brawd angel bryd ieuang-aidd."—*Add. MS.*, 14,970.

[2] "Am na bai fyw y bu'r bai." *Add. MS.*, 14,970.

[3] Yn *Add. MS.*, 14,970, y darllen-iad ydyw :—
"Ni bu etto i'r Bryttwn,"
gyda'r nodyn hwn gan Iolo Morganwg :—"Byd hwn ! ait R.V." Ond tybiwn fod Robert Vaughan yn methu, ac fod "Bryttwn," neu "brytwnn" yn ddigon cywir. Ni fu eto yr un mor hael a hwn ym mhlith y Brytaniaid.

[4] "Nemawr o hael gann marw hwn."—*Add. MS.*, 14,970.

[5] "Gwae hwynt gler mewn gwynt a glaw,
A'r ddaiar wedi'r dduaw."
*Add. MS.*, 14 970.
Cyfeiriad a geir yma, mae'n debyg, at y croesaw a gaffai y beirdd gan yr ymadawedig.

[6] "Ni bu i honno cyll bo byrr
Dymestl nag un ardymmyr."
*Add. MS.*, 14,970.
Yn y llinellau hyn, a'r rhai dilynol, dywed y bardd wrthym na fu y fath dymhestl a hin enbyd ar y ddaear o'r blaen er amser marwolaeth Crist. Y fath ffolineb !

[7] "Gyfryw hynn gwae fi Iôr hir." *Add. MS.*, 14,970.

[8] "Mae Duw gwyn ammodig oedd
O foliant i fil filoedd."
*Add. MS.*, 14,970.
Y mae y bardd yma, mewn gwanobaith, yn gofyn, — "Mae Duw gwyn ?" ond ar yr un funyd y mae ei ffydd yn cryfhau ac yn ateb mai "ammodig oedd," &c.

[9] "Mal y gwnai'n amlwg o nef' *Add. MS.*, 14,970.

[10] "Gwedi."—*Add. MS.*, 14,970.

Pan ddarvu dirvawr evwac
Ysbeilio vffern wern wac[1]
Achrynu och or annwyd
Or ddayar lydan glan glwyd[2]
Ynna yr anvones Iessu
Yn ol i vab anwyl vu[3]
A llu o engylion vellyn
Ion eurbarch yni erbyn[4]
Yn lleisiaw salm llais hoywlwys
a lletenia yn dda ddwys[5]
Yr owran nid llai rowri
A ddoeth i gyd kynn pryd pri[6]
I hebrwng korff teilwng tec
Yr *abostol* heb osdec[7] *ebysty*
Ni ddoeth i gyd o ddoethionn[8]
Y sawl yn yr ynnys[9] honn

[1] "Pan ddarfu ddirfawr orwag
Ysbeilio uffern wern wag."
*Add. MS.*, 14,970.

Crybwylliad am waghad uffern trwy farwolaeth Crist a geir yma.

[2] "Achrynu och o'r anwyd
o'r ddaiar lydan lân lwyd."
*Add. MS.*, 14,970.

Cyfeiriad at y ddaear yn crynu pan fu Crist farw.

[3] "Yna y danfones Iesu
Yn ol ei fab anwyl fu."
*Add. MS.*, 14,970.

Ar sail ei farwolaeth ei hun, yr anfonodd yr Iesu lu o angylion i gyrchu ei fab (sef Ithel) adref i'r nefoedd.

[4] "A llu engylion fa llynn
Ion eurbarch yn ei erbyn."
*Add. MS.*, 14,970.

Yn yr ystyr o *dderbyn*, neu *groesawu*, y defnyddir "erbyn" yma.

[5] "Ymleisiaw Salm lais loyw-lwys
A *Letania* yn dda ddwys."
*Add. MS.*, 14,970.

"Letania" = Litani. Tybiai Iolo fod yr angylion yn canu Salm a'r Litani pan yn hebrwng enaid Ithel ap Robert i'r nefoedd.

[6] "Yr awrhon nid llai'r owri
A ddoeth i gyd cyn [illegible]yd bri."
*Add. MS.*, 14,970.

Nid ydyw "owri" yn air a geir yn ein geirlyfrau. Ai tybed ei fod yn llygriad o *roaring* = bonllefain? Y mae "gawr" yn air o gyffelyb ystyr. Ond y mae "kynn pryd pri," neu "cyn bryd bri" yn ymadrodd nas gallwn gynnyg unrhyw ddyfaliad arno.

[7] "I hebrwng corph teilwng teg
Yr abostol heb osteg."
*Add. MS.*, 14,970.

[8] "Ddoethion."—*Add. MS.*, 14,970. Tebyg mai y darlleniad ydyw "Fe ddoeth i gyd o ddoethion."

[9] "Ynys."—*Add. MS.*, 14,970.

Hyn a wnaeth yr hin ynnoer[1]
kael adlaw or kaledloer[2]
Y ddayar ddu ddyrru dwst
Yn krydu vaint vur krydwst[3]
mam pob knwd brwd byrgawc ffrwyth
Mantell oer rrac maint ei llwyth[4]
Pan gychwynwyd brevddwyd brav[5]
Ir Eglwys lan aroglav
O goed y mynydd a gef[6]
ai dylwyth oll yn dolef
llawer ysgwier isgil[7]
yn gweiddi vyth[8] gwae eiddil
llawer deigr ar rudd gwreignith[9]
llawer nai oer a llawer nith[10]
llawer affaith over vaith vyw
Och fi na bai iach vyw[11]

1 "Yn oer."—*Add. MS.*, 14,970.

2 "Cael adlaw o'r caledloer."
*Add. MS.*, 14,970.

"Adlaw" ydyw yr hyn sydd *israddol*: Ond beth a feddylir wrtho yma?

3 "Y ddaiar ddu ddyre ddwst
Yn crynnu, faint fu'r crynwst!"—*Add. MS.*, 14,970.

Yn sir Drefaldwyn, dywedir "dwst lli'" am "lwch llif," neu "flawd llif." "Crydu" = crynu; a "Crydwst" = crynu o ofn, neu gan boen, megys o'r cryd. Dysgrifia y bardd y ddaear ei hunan yn crynu ac yn malurio gan alar.

4 "Maint pob cnwd bwrw briw o ffrwyth
Mantell oer rhag maint ei llwyth."
*Add. MS.*, 14,970.

5 Geiriau llanw ydyw "breuddwyd brau." Y darlleniad synwyrol fyddai "Pan gychwynwyd . . . . i'r Eglwys . . . . o Goed y Mynydd."

6 "Ag ef."—*Add. MS.*, 14,970.

7 "Ysgweier is gil."—*Add. MS.*, 14,970.

8 "Wyth."—*Add. MS.*, 14,970.

9 "Gwreignith" = benyw fechan. Ymddengys fod hwn yn ymadrodd perthynol i'r Deheubarth, o blegid ar ymyl y ddalen yn *Add. MS.*, 14,970, ceir "Gwreignith, a Deudneudism" gan Iolo Morganwg.

10 "Llawer nai oer llawer nith."
*Add. MS.*, 14,970.

Ymddengys fod i Ithel lawer o berthynasau agos.

11 "Llawer effaith a dderyw
Och fi na bai iach fyw."
*Add. MS.*, 14,970.

Aml gwaedd groch gan gloch gler
A diasbad hyd osber[1]
Ynghylch y korff mewn porffor
Yn kannv kyvanheddu kor[2]
a rodioion on saint a redec
A wnaint kwvaint temaint tec[3]
Gwae ddwyvil gwedi ddyvod
O vewn yr eglwys glwys glod[4]
Achlowed tristed vur trwst
*Kylch* a chrwydr kler achrydwst[5] *clych*
A golevo[6] gwae lawer
tri mwy no serlwy[7] o ser

[1] "Aml gwaedd groch can cloch cler
A diaspad hyd osber."
*Add. MS.*, 14,970.

Ymddengys fod y beirdd yn cael eu cynnrychioli yn lled gyffredinol yn y claddedigaeth.

[2] "Ynghylch y corph mewn porphor
Canu cyfanneddu côr."
*Add. MS.*, 14,970.

Tebyg mai y corff oedd wedi ei wisgo mewn porffor, ac nid y clerfeirdd.

[3] "Arodion saint ar redeg
A wnai'r cwfaint termaint teg."—*Add. MS.*, 14,970.

Arodion = siaradwyr ; cwfaint = crefydd-dai (*convents*) ; hyny yw, yr oedd y mynachod yn myned yn lluoedd o holl grefydd-dai y wlad i gymmeryd rhan yn y gwasanaeth angladdol. Sylwa Richards o Langrallo ar y gair "Terment" fel y canlyn :—"A burying or interring; an interment. It is used of the burials of persons of high rank." Yna ol rhagddo i ddyfynu dwy linell o Farwnad Gwladus ferch Davydd Gam, gan Lewis Glyn Cothi (*Gwaith*, tudal. 2) :—

"Nid llai'n mynu du'n ngwlad Went
No theirmil yn ei *therment*."

[4] "Gwae ddwyfil gwae ei ddyfod
O fewn yr Eglwys glwys glod."—*Add. MS.*, 14,970.

Yn *Add. MS.*, 15,062, fol. 129, ceir rhestr o gywyddau Iolo Goch—neu o ryw gyfran o honynt—ac yn eu plith y cywydd sydd yn awr dan sylw, gyda'r nodyn a ganlyn :—"Md. Ithel ap Rotbert o Goed ymynydd yr hwn a gladdwyd yn Mynaxlog Dinas Bassi ac val dy wedir yr oed Blaeniaid or Cyn hebrwn yn y bol tregl ar olieid ynghoed y Mynydd."

[5] "A chlywed tristed fu'r trwst
Clych a chledr cler a chrydwst."—*Add. MS.*, 14,970.

Tebyg fod hwn yn well darlleniad na'r testyn—"clych a chledr" = *bells and screen.*

[6] "A goleuaw."—*Add. MS.*, 14,970.

[7] "Na serlwy."—*Add. MS.*, 14,970

Torsie[1] hoyw ffloyw fflamgwyr
Val llugyrn tan llychwyrn llwyr[2]
Mwy no dim oedd mewn ydemyl
Or gwyrda beilch gwiw ar drimyl[3]
Rhai yn gwasgu bysedd gwedd gwael
Mawr ovid val marw avael[4]
Riannedd kymyredd ku
Rhain llwygo rrain llywygu[5]
Rhain tynnv top o boparth
A gwallt penn vegis gwellt parth[6]
Ar heudusion dynion dic
Yn udo ynenwedic[7]

[1] "Tortsiau."—*Add. MS.*, 14,970. "Torsie" = *torches.*

[2] "Fal llugyrn tan llewyrn llwyr." *Add. MS.*, 14,970.

Ymddengys y byddid yn arferol o oleuo nifer luosog o ganwyllau a ffaglau ar gladdedigaethau yng Nghymru yn y cyfnod hwn—yn enwedig ar gladdedigaethau y cyfoethogion. Dywed Lewis Glyn Cothi yn y farwnad y cyfeirir ati uchod (*Gwaith*, tudal. 4), fel y canlyn :—

"Mil o *dyrs* amliw o dan,
Mil eraill aml o arian ;
Mwy no mil o veudwyaid
Dan gŵyr, bob deunaw, a gaid;
Yn nesav mae deunawsaint
Yn bwrw naw *sens* ger bron saint."

[3] "Mwy no dim oedd mewn y Deml
O'r gwrda balch gwiw ar-doml."—*Add. MS.*, 14,970.

Hyny yw, yr oedd y goleuadau ar gladdedigaeth y gŵr hwn yn fwy ardderchog ac yn fwy lluosog na goleuadau y deml yn Jerusalem!

[4] "Rhai'n gwasgu byssedd gwedd gwael
Mawr ofid, rhai'n marw afael."
*Add. MS.*, 14,970.

Ond os oedd yr arddangosiad allanol yn ardderchog; yr oedd galar y gwyddfodolion yn ddygn i'r eithaf.

[5] "Rhianedd cymmeredd cu
Rhai'n llwygo, rhai'n llewygu."
*Add. MS.*, 14,970.

Gyferbyn â'r llinell olaf yn *Add. MS.*, 14,970, y mae Iolo Morganwg yn sylwi : —"llwygo in Glam.—*to loiter or lay behind, I.M.*" Hyny yw, yr oedd rhai o'r merched yn methu myned ym mlaen gan alar, ac ereill yn syrthio i lewyg.

[6] "Rhai'n tynnu eu top o bob-parth
Gwallt eu penn megis gwellt parth."
*Add. MS.*, 14,970.

"Parth" = llawr (= *floor, ground*).

[7] "Ar rheidussion dynion dig
Yn udo yn enwedig."
*Add. MS.*, 14,970.

"Rheidussion"—y rhai anghenus. Fe welir fod y copïwr yn ein testyn wedi cyssylltu yr *r* gyda'r *A* yn lle gyda'r gair dilynol.

Siglo awnnair groes eglwys
Gan y godwrdd ar dwrdd dwys[1]
Val llong eang wrth angor
Krin vydd yn krynu ar vor[2]
Gwae di Iolo gwae i devlu
Or pyllaid aur ir pwll du[3]
Bwrw man rayan neu ro
Ar i wartha vur ortho[4]
Ac o lawer awr vawr vwriad
Pawb oi gylch val pe bai gad[5]
Ysbys ymhob llys a llann
Dorri y ddayar yn deiran[6]
Drwc i gwedda dra gweiddi
Am wr val ev o nev i ni[7]
Gwedi kael hael henn vriad
Oes dec gan Dduw ac ystad[8]
Gwell tewi no gweiddi garrw
Ym rrygollt tost am rrygarw[9]

1 "Siglo a wnai'r groes eglwys
Gan y dadwrdd a'r dwrdd dwys."—*Add. MS.*, 14,970.

2 "Fal llong eang wrth angor
Crin fydd yn crynu ar fôr."
*Add. MS.*, 14,970.

3 "Gwae di Jol-lo gwae eu deulu
O'r pyllaid aeth i'r pwll di."
*Add. MS.*, 14,970.

Gwell yw darlleniad y testyn; ac y mae y ddwy linell yn lled awgrymiadol parthed i sefyllfa arianol Iolo a'i deulu.

4 "Bwrw mân raian neu ro
Ar ei wartha fu'r ortho."
*Add. MS.*, 14,970.

"Gortho" = gorchudd. Mewn cân a *briodolir* i Taliesin (*Myv. Arch.*, p. 44) ceir:—

"Y Bardd nim gostego
Gosteg ni's caffo
Oni el mewn gortho
O ddaiar a Gro."

5 "A glywai'r awr fawr fwriad
Pawb o'i gylch fal pe bai gâd."
*Add. MS.*, 14,970.

6 "Ysbys ym mhob llys a llann
Dorri'r ddaiar yn deirrann."
*Add. MS.*, 14,970.

Pa ham yn deir rhan?

7 "Drwg y gweddai dra gweiddi
Am wr fal ef, nef i ni."
*Add. MS.*, 14,970.

8 "Gwedi cael hael henuriad
Oes deg gan Dduw ag ystâd.
*Add. MS.*, 14,970.

Awgrymir yma fod Ithel wedi cyrhaedd i oedran teg cyn marw. Ac y mae y cywydd hwn yn gystal a'r cywyddau blaenorol yn dangos ei fod yn lled gyfoethog.

9 "Gwell tewi no gweiddi garw
Ein rhygollt am rhygarw."
*Add. MS.*, 14,970.

Diau fod "rhygoll" = colled anferth: a "rhygarw" = un anghy-

Llyma oedd dda iddo[1] ef
Addoli i grist heb ddolef[2]
Gida geli segi sant
A genoc mewn gogoniant[3]
Ni ddevant y ddav sant[4] ddwys
Brodyr ynt o baradwys
Oni ddel hoedl yni law
Dyddbrawd yn yndiweddbraw[5]
Ni ddaw i benn mynydd maith
Olifer borffer berffaith[6]
Ion arch diagon[7] degach
Noc vydd Ithel vchel iach[8]

Iollo Goch ai kant.

mharol, yn ddarlleniad cywir. Eglurhad golygwyr Lewis Glyn Cothi (*Gwaith*, p. 330) ar y gair olaf sydd fel hyn :—" Rhygarw (rhycarw), *a deer of the first class, a nonpareil of the kind.*"

[1] " Iddo."—*Add. MS.*, 14,970.

[2] " Addoli Crist heb ddolef." *Add. MS.*, 14,970.

[3] Mwy eglur o lawer yw darlleniad *Add. MS.*,14,970.

" Gydag Eli sengi sant
Ag Enog mewn gogoniant."

Nis gwyddom pa briodoldeb oedd enwi Enoc; ond gan fod Eli (gwel 1 Sam. i.) yn offeiriad, ac Ithel felly hefyd, y mae y cyfeiriad ato ef yn ymddangos yn eithaf cymhwys.

[4] " Ddeusant." *Add. MS.*, 14,970.

[5] " Oni ddel a hoedl iw law
Ddydd brawd yn ei ddiwedd-braw."—*Add. MS.*,14,970.

Tybiwn mai yn gyffelyb i'r hyn a ganlyn y dylai y llinell olaf fod :--

" Dyddbrawd in' yn ddiwedd-braw."

Mewn ysgriflyfrau ceir *yn* yn lle *in'* yn fynych, fel yn ein testyn uchod.

[6] Yn *Add. MS.*, 14,970, ceir:—

" Ni ddaw ym mhen mynydd maith
Olifer borffer berffaith,"

gyda'r nodyn a ganlyn ar ymyl y ddalen gan Iolo Morganwg :—" *Ni fydd*, &c.—ond odid—cans fal hyny gochelir twyllgynghanedd. I.M."

[7] " Archdiagon." — *Add. MS.*, 14,970.

[8] " Nog fydd Ithel uchel iach." *Add. MS.*, 14,970.

# XXXIII.

## ARAITH O FENDITH AR LYS HOWEL KYFFIN DEON LLAN ELWY.

*(O Add. MS., 14,964, fol. 63b).*

Y mae yr "Araith" hon i'w chael hefyd yn *Y Delyn Ledr* (*Add. MS., 14,973*).

Nis gwyddom ond y peth nesaf i ddim am Howel Kyffin amgen nag iddo ddal y swydd o Ddeon Llanelwy o'r flwyddyn 1381 hyd 1397; ac iddo, ar farwolaeth yr Esgob Child, yn 1389, gael ei roddi mewn meddiant o *spiritualities* yr Esgobaeth, gan yr Archesgob (*Thomas's Hist. Dioc. St. Asaph*, p. 64).

Y mae y gân a ganlyn wedi ei chyfansoddi ar un o esurau Awdl—y *Gwawdodyn Hir*, ac yn meddu ar "gymmeriad llythyrenol," gan fod yr un llythyren yn dechreu pob llinell; ac y mae y llinellau oll yn odli yn *g*. O holl gyfansoddiadau y bardd ni cheir yr un anhawddach i'w deall—y mae yn llawn o eiriau anarferedig. Cymmaint a ddysgwn wrth ei darllen ydyw fod y Deon newydd adeiladu palasdy, yr hwn a fawr ganmolir; a chanmolir ei berchenog hefyd am ei garedigrwydd a'i haelioni — yn enwedig tuag at y beirdd. Cawn ynddi awgrymiad fod Howel Kyffin yn dal y swydd o Ddeon ar y pryd; ac felly, cyfansoddwyd y gân rhwng 1381 a 1397.

Da yw bendith Bardd a Duw bendig[1]
Ar y maendy ar plâs man heb blyg[2]
Ar paun[3] difai doeth ar pendefig
4 Ar neb piau hon nid pwyll llŷg[4]

[1] Bendigedig.

[2] "Ar y Maen dy ar plâs mau da heb blyg."—*Delyn Ledr*.

[3] "Paun" — gair canmoliaethol.

[4] "Llŷg"—ai *llug* = goleuni (oddi wrth yr hwn y ceir *llygad*) a feddylir?

A'r meistr Howel hael yn rhoi'n ystig[1]
A thafayrn o win aur[2] a thefig
Ar un ai dail basg a Nydolig
Ag yn lliniethu gwyr lle ni thy' gwyg
Ar Carnal llwyd ar cardinag[3]
Ar wern y glasdir wirnef glwystag[4]
A'r orddiwes gaer a'r ardd ddiwag[5]
Ar llys i hangwen ar lleseufag[6]
A'r llew e fu dda nid llaw fyddag[7]
Ar lle y rhennir beirdd nid llaw rannag[8]
A'r neuadd fyrdd fawr[9] newydd farddfag
Ar gwirodeu medd[10] Ior eudeg
A gwrdeiddrwydd[11] y gwrda diddrwg
Ai fara ai gwrw ai fĕr[12] ai gŏg[13]
Ar lle amla clêr mal llu amlwg[14]
Ar llaw Assa lwyd[15] Ior lluosog
Ar ffiolau aur oruff olwg[16]
A phob dyn o'r llys a phawb ai dwg
A'r cwrw Hyfaidd mal crio[17] Hafog

[1] "Ystig" = *strenuous, persevering.*

[2] "Tefig" = penadur (*sovereign*).

[3] "Ar Cardnal Llwyd ar Cardwag."—*Delyn Ledr.*

[4] "Glwys tag" = glwys têg? Ond ymddengys i ni nad ydyw yr *ag* ar ddiwedd amryw o'r geiriau yn y gân hon amgen na therfyniadau mympwyol.

[5] "Ddiwag" = heb fod yn wâg, h.y., yn *llawn?*

[6] "Fag" = cyssylltedig.

[7] "Fyddag" (byddag) = magl (= *snare*).

[8] "Rannag" = rhanawg?—nid llaw grintachlyd?

[9] "Fyrddfawr."—*Delyn Ledr*—yn dynodi helaethder y croesaw.

[10] "Medd" = *mead.*

[11] "Gwrddeiddrwydd."—*Delyn Ledr.*

[12] "Fer" (bêr) = *a spit (for roasting meat).*

[13] "Gog" = cogydd.

[14] Yn ol Iolo Goch, oes euraidd i glêr—yr enw a rydd efe ar y beirdd yn lled gyffredin—oedd y bedwaredd ganrif ar ddeg. Priodola i'w holl arwyr y nodweddion mwyaf haelionus at yr urdd hon.

[15] Assa lwyd = Asaph fendigaid, sef ail Esgob Llanelwy. (Gwel uchod, tudal. 274, nodyn 2).

[16] "A'r ffiolau Aur (oruff) oruth olwg."—*Delyn Ledr.*

[17] "Cris."—*Delyn Ledr.*

## XXXIV.

### [CYWYDD I IEUAN, ESGOB LLANELWY.]

---

(*O'r Add. MS., 14,970, fol. 21b*).

Darllena y penawd yn yr ysgriflyfr hwn yn syml fel hyn :—"Cerdd Iolo Goch." Ond ar amlen *Y Greal* (Llundain), am Medi 21, 1805, rhoddir iddo y penawd hwn :—"I Ieuan Esgob Llanelwy."

Ystyrir *Ieuan* yn bresennol fel yn gyfystyr â'r enw Evan; ond yn ein hen lenyddiaeth a'n hachau, ymddengys fod yr enw yn cael ei ddefnyddio fel ffurf Gymreig ar *John*. Cyfeirir at Efengyl Ioan yr Efengylwr fel *Efengyl Ieuan;* ac y mae Iolo Goch (Cywydd Rhif XXXIX.), yn galw Ioan Fedyddiwr yn *Ieuan* (neu *Ifan*). Felly, gwelwn fod John, Ioan, Ieuan, Evan, Ifan, &c., yn cael eu defnyddio bron yn ddiwahaniaeth i olygu yr un person. Bu dau Ieuan yn Esgobion yn Llanelwy yn oes Iolo Goch, sef John Trevor I., o 1352 hyd 1357; a John Trevor II., o 1395 hyd 1410; ac y mae bron yn sicr mai i John Trevor II. y cyfansoddodd Iolo Goch y cywydd hwn, yn gystal a'r un dilynol. Rhydd y Chevalier Lloyd (*Hist. Powys Fadog*, vol. iv., p. 135) daflen achyddol o hynafiaid yr Esgob, y rhan gyntaf o'r hon a ddyfynwn yma :—

**Llywelyn, third son of Ieuaf ab Adda ab Awr, Lord of Trevor.** = **Susanna,** d. of Llywelyn ab Madog ab Einion ab Rhirid of Iâl, ab Iorwerth ab Goronwy ab Owain ab Uchdryd ab Edwin ab Goronwy.

Madog ab Llywelyn of Trevor. = Catherine, d. of Hwfa ap Ieuan Ab Hwfa ap Madog yr Athro.

Ieuan or John Trevor, Bishop of St. Asaph and Abbot of Valle Crucis Abbey. He built Llangollen Bridge.

Adda ab Llywelyn. =

David of Trevor.

Margaret ux. Madog Llwyd ab Iorwerth Foel of Bryn Cunallt.

Adeiladwyd Pont Llangollen, yn ol y Parch. Owen Jones *Geir. Cen. Cymru,* cyf. ii., tudal. 132), gan "John Trefor, Esgob Llanelwy," yn 1345. Fe welir fod hyny pan oedd John Trevor I. mewn meddiant o'r Esgobaeth. Rhydd yr un awdwr ar ddeall i ni mewn lle arall (*Geir. Cen. Cymru,* cyf. ii., tudal. 544) mai gwrthddrych y cywydd hwn a adeiladodd y bont. Ond, os ydyw taflen y Chevalier Lloyd yn gywir, yr oedd adeiladydd y bont yn disgyn o Adda ab Awr, Arglwydd Trevor; a dengys Iolo Goch fod gwrthddrych y cywydd hwn felly. Pa un a ydoedd John Trevor I. felly ai peidio, nis gwyddom. Os John Trevor II. a wnaeth y bont, rhaid ei fod mewn cryn oedran pan gyfansoddwyd y cywydd hwn.

Er i John Trevor gael ei benodi i Esgobaeth Llanelwy gan Richard II., eto, efe a drodd allan yn anffyddlawn i'r penadur hwnw. O blegid, yn 1399, pan oedd Richard yn garcharor yng Nghastell Fflint, bu yr esgob yn offeryn yn llaw Harri Bolingbroke i gyhoeddi ei ddiorseddiad; ac, wedi hyny, anfonwyd Trevor yn genhadydd i'r Yspaen i gyfiawnhau gweithrediadau Harri ger bron y llys hwnw. Er dial anffyddlondeb yr Esgob, ymosododd Owain Glyndwr ar Lanelwy, pryd y llosgwyd yr Eglwys gadeiriol, y palas esgobol, a thai y canoniaid; ac oddeutu yr un amser llosgwyd tai yr Esgob ym Meliden, Bodidris, a Llanfarthin. Yn 1401, caniatawyd iddo ddal, fel rhyw gymmaint o iawn am y golled, bywiolaethau y Trallwm, Cegidog, a Meifod. Ond, er i John Trevor droi i ffafrio achos Harri IV., ymddengys nad oedd yn cymmeradwyo gwaith y Brenin a'r Senedd gyda golwg ar eu hymddygiad tuag at y gwrthryfelwyr Cymreig. Dywedir iddo ymresymu â'r Senedd, a'u rhybuddio rhag ymddwyn yn rhy galed at y Cymry; ond yr atebiad a gafodd oedd, "nad oeddynt hwy yn ofni dim oddi wrth y fath ddyhirod troednoeth" (Pennant's *Tour in Wales*, edit. 1784, vol. i., p. 333). Tebyg i Trevor roddi y cynghor hwn cyn iddo fyned i'r Yspaen, a chyn i'w feddiannau gael eu llosgi. Pa fodd bynag,

oddeutu'r flwyddyn 1404, gwrthryfelodd yr Esgob yn erbyn y brenin, gan ymuno ag Owain Glyndwr. Yr oedd Owain y pryd hwn mewn cynghrair â Ffrainc, nid yn unig gyda'r amcan o gael cynnorthwy y wlad hono yn erbyn y Seison, ond bwriadai hefyd drosglwyddo ufudd-dod ysbrydol y Cymry oddi wrth y Pab Rhufeinig, ac ymuno ag Esgobaeth Ffrengig Avignon. Ei gynllun oedd gwneyd Tŷ Ddewi yn Fam-eglwys Gadeiriol Cymru; a phe gallasai gario ei gynllun allan ni fuasai caniatad i neb ddal bywoliaeth yng Nghymru os yn analluog i siarad Cymraeg; nid oedd dim eiddo eglwysig o Gymru i fyned at gynnal colegau a mynachdai yn Lloegr; ac yr oedd dwy brifysgol i gael eu sefydlu yng Nghymru, y naill yng Ngwynedd, a'r llall yn y Deheubarth (*Bye-Gones*, Oct. 29, 1890). Ond ni raid crybwyll i Owain fethu rhoddi ei gynllun mewn gweithrediad. O bosibl nad llwyddiant byr-barhaol Owain, yn gystal a'r gobaith y byddai iddo gael dyrchafiad, os cerid allan y cynllun a grybwyllwyd, a barodd i'r Esgob Trevor droi i'w bleidio. Nid ydyw enwau Esgobion Llanelwy a Bangor yn gyssylltedig â gweithred yr olyniaeth i'r orsedd yn Rhagfyr 22, 1406—tra y mae enwau yr holl esgobion ereill. Yn 1407 a 1408, gwelir fod meddiannau ysbrydol Esgobaeth Llanelwy ym meddiant Thomas Presbury, Abad Amwythig; ac mewn llythyr oddi wrth Harri V. at Edward Charlton, Arglwydd Powys, dyddiedig Mawrth 19, 1409, cyfeirir at Ieuan fel gwrthryfelwr—"Johannes qui se *pretendit* Episcopam Assavensem proditor et rebellis." Nid ydyw yn hollol eglur pwy oedd ei olynydd. Dywed rhai mai Dafydd, o 1402 hyd 1411; ereill, gyda mwy o debygolrwydd, a enwant Robert de Lancaster, yr hwn a gyssegrwyd Mehefin 28, 1411. Ond y mae yn amlwg na chafodd Trevor fawr o fwyniant oddi wrth ei esgobaeth ar ol 1404. Claddwyd ef ym Mynachdy St. Victoire, Paris—i'r hwn le y dywedir iddo fyned ar neges dros Owain Glyndwr—yn 1410; a rhoddwyd y cerfiad a ganlyn ar ei feddfaen, yn yr hwn, fel y gwelir, y dysgrifir ef mewn camgymmeriad fel Esgob

Henffordd:—"Hic jacet Reverendus in Christo, Pater, Johannes Episcopus *Herefordensis* in Wallia, qui obiit A.D. 1410 die Veneris X mensis Aprilis; cujus anima feliciter requiescat in pace. Amen." (*Thomas's Hist. Dioc. St. Asaph*, p. 222).

Dengys y cywydd canlynol fod yr Esgob yn cadw llys llawn a gorwych, ac fod Iolo Goch yn gyfeillgar iawn ag ef. Ar ol darllen y cywydd a'i gymharu â ffeithiau hanesyddol, tybiwn iddo gael ei gyfansoddi cyn gwrthryfel Owain Glyndwr—hyny yw, rhwng Mehefin 6, 1395, a diorseddiad Richard II. yn 1399. Y mae y cywydd yn cynnwys amryw gyfeiriadau a allant fod o ddefnydd i'r hanesydd, er eu bod yn cael eu darnguddio gan weniaith a gorganmoliaeth.

Hawdd ammawr hil awr[1] hael iawn
Arglwydd gwladlwydd goludlawn
Hawdd ammawr heddyw Awen,[2]
I feibion lleodron[3] llên
Ag ysgweiniaid[4] haid heirdd
Dledogion[5] deulu digeirdd[6]
Ai siambrlain gain gnewillyn[7]
F'enaid o'r dyrnaid yw'r dŷn,
A'r pen cog darpan[8] y cad[9]
A'r drysawr da ei drwsiad,

[1] Awr, fel y gwelir, oedd Arglwydd Trefor, ac un o hynafiaid yr Esgob.

[2] Y mae yn anhawdd gwybod pa un ai *Awen* ai *Amen* ydyw hwn yn yr ysgrif; ond tybiwn mai "Awen" sydd gywir.

[3] Yr ydym yn methu a chael gair o'r fath mewn unrhyw eiriadur. Ai nid gwall ydyw am "lluniodron" = trefnwyr (= *organizers*).

[4] Ysweiniaid?

[5] Dyledogion = pendefigion.

[6] "Digeirdd"—lluosog o *di-cardd* = diwarth.

[7] "Gnewillyn" = cnewullyn—y rhan oreu. Y mae y gair yn cael ei ddefnyddio yn yr ystyr hwn gan Lewis Glyn Cothi (*Gwaith*, tudal. 262):—

"Os cnewyll âch Siancyn Llwyd,
O'i *vryviau* ev a rivwyd;
Cnewyllyn vu Leucu lân
O gnewyll egin Ieuan."

[8] "Darpan" = darparu?

[9] Tybiwn fod "cad" yma yn gyf-ystyr â *llu*, neu *lawer*; ac yn awgrymu fod llawer yn eistedd wrth fwrdd y wledd yn nhŷ yr Esgob.

A'r pantler[1] a'r Bwtler[2] bach
F'enaid a fu ddyn fwynach
Pobydd cyrfydd[3] trydydd tro
Cattrer[4] poed Duw ai catwo
A'r gwr a rann ebrangeirch[5]
A'r gwair mân i'r gwyr a'r meirch
A'r gwr ym nid gair ammhorth[6]
Er parch a egorai'r porth,
Cydymaith cu diamhwynt
Yn cadw gwyl fum gydag hwynt,
Llywarch hên[7] llawen oll wyf
Trwyddedawg treiddio 'dd ydwyf

[1] "Pantler" = gair Seisoneg yn golygu *ceidwad bara*. *Panter* a ddefnyddir gan Lewis Glyn Cothi. Gwel isod.

[2] Gair Seisoneg eto—*Butler* = trulliad. Ond pa ham "bach?" Defnyddir "bach" fel ansoddair o anwyldeb; ac hwyrach fod y bardd yn llawn mwy hoff o weled y "bwtler bach" yn cyflawni ei ddyledswydd nag unrhyw wasanaethwr arall. Ceir digon o gyfeiriadau yn ei gywyddau ag ydynt yn profi nad oedd Iolo Goch ddim yn ddirwestwr.

[3] "Cyrfydd" = darllawydd. Cysylltir y gwasanaethyddion hyn â'u gilydd yn fynych gan y beirdd, ac ni anghofir y "cyrfydd" (*brewer*) anad neb. Dywed Dafydd Nanmor (*Gorchestion Beirdd Cymru*, tudal. 133) fel y canlyn :—

"Pobydd a cherfydd a chog,
A droes iddo'n dri swyddog."

Ac medd Lewis Glyn Cothi (*Gwaith*, tudal. 139) :—

"Tri bwtler, *sewer* y sydd,
Tri chog, *panter*, a chigydd ;
Dau gyrvydd, pobydd gwaith per ;
Dwyswydd, *ystiward*, *usier*.
Pob swyddog sy i'r marchog mawr
Deau perthig, onid porthawr."

[4] *Caterer* (Seis.) = arlwywr.

[5] Dengys y llinell hon, a'r un ddilynol, fod yr Esgob Trevor yr un mor ofalus yn darparu ar gyfer meirch ei ymwelwyr ag ydoedd am danynt hwy eu hunain. Yr oedd ei garedigrwydd yn cyrhaedd i'r lleoedd mwyaf dirgel, ac nid yn arwynebol.

[6] Wrth "ammhorth" yma, mae'n debyg, y golygir *gwrthwynebol*—nid â gair croes y cyfarchai yr esgob ei ymwelwyr.

[7] Yng ngoleuni un o'r Trioedd (*Myv. Arch.*, p. 392), y mae yn anhawdd cyssoni pa fodd yr oedd Iolo Goch yn cymharu ei hun i Llywarch Hên, ac ar yr un pryd yn dyweyd mai "llawen oll" oedd ; o blegid fel hyn y mae y Triawd dan sylw :—

"Tri thrwyddedawc ag anfoddawc Llys Arthur. Llywarch hen, Llemenig, a Heledd."

Yn yr ail gyfres o'r Trioedd, drachefn (*Myv. Arch.*, p. 398), ceir

Da f'ansawdd nid gwahawdd gwann
Y gauaf gydag Ieuan
Ni ddamweiniai ddim yno
Na chawn beth yn iach y bô
Cymmaint cnewyllyn cneuen[1]
Iechyd a bywyd i'w benn
Gwn pan gyfarffwn ag ef
Yn y cwrt[2] enwog cartref
Fy nghroesaw'n gu a gawn
Hir hoedl im naf hoyw rhadlawn,
Am croesi[3] lle ym car Assa
Rhag echrys ai ddeufys dda,

darlleniad arall, ond i'r un perwyl:—

"Tri thrwydedawc llys Arthur. a thri anvodawc Llywarch hên a Llemenic a Heled."

Nis gallwn ddeall pa fodd y gallasai gŵr anfoddog fod yn llawen. Ond y mae yr anghyssondeb yn darfod os derbynir y darlleniad a geir yn y drydedd gyfres o'r Trioedd (*Myv. Arch.*, p. 410):—

"Tri Thrwyddedawg Hanfodawg Llys Arthur: Llywarch Hên ab Elidir Lydanwyn, a Llemmenig, a Heiddyn Hir: sef meib beirdd oeddynt."

Nis gallwn adgoffa i'r darllenydd yn rhy fynych nad oes nemawr werth hanesyddol yn y drydedd gyfres. Ond, o ran hyny, dichon darlleniad yr ail gyfres, yr hon a gymmerwyd o'r *Llyfr Coch*, olygu *hanfodawg* yn gystal ag *anfoddawg* —"anvodawc." Pa fodd bynag, y mae yn amlwg nad oedd Iolo Goch yn gosod ei hun allan fel ymwelydd anfoddog, ond yn hytrach i'r gwrthwyneb yn hollol. Ein hamcan wrth gyfeirio at y *Trioedd* yma ydyw dangos fod rhaid arfer gofal wrth eu darllen.

[1] Tebyg mai amcan y llinell hon ydyw ein hysbysu pa mor brin bynag y byddai unrhyw beth—hyd yn oed pe mor lleied a chnewullyn cneuen—y caffai ef ran o hono.

[2] "Cwrt" = llys, palas; nid "cwrt yr esgob" (*consistory court*), yn yr ystyr gyfreithiol o'r gair, ond ei breswylfod. Yn yr ystyr hwn y defnyddir y gair gan Guto'r Glyn (*Iolo MSS.*, p. 325):—

"Awn i'ch cwrt, yno y'ch cair
Uwch Hawlffordd, fal Uchelffair."

[3] Tybiwn y cyfeirir yma—"a'm croesi . . . . rhag echrys a'i ddeufys dda"—at ryw ddefod ag sydd wedi hir fyned i ebargofiant. Hen arferiad arall oedd i ddynion *ymgroesi* = croesi eu hunain, trwy dynu eu llaw ar draws ac ar hyd ar ffurf croes; yr hyn a dybid oedd foddion effeithiol i'w cadw rhag aflwyddiant, neu rhag cyflawni rhyw drosedd anfad. Y mae yr arferiad ei hun wedi hen ddarfod, ond clywir y fam, neu rywun arall, yn awr ac eilwaith eto yn cynghori y llanc i *ymgroesi*—"Ymgroesa, fachgen!" Ond y mae y llinellau uchod o eiddo

Odid fydd rhydd ym mhob rhith
Undydd na chawn ei fendith
Doeth o'i benn dwywaith beunydd
Myn Mair neu dair yn y dydd
Offeren fawr hoff eirian
A gawn a hynny ar gân.[1]
Trebl *gwafrebl*[2] awch attreg
A byrdwn cysson tôn teg,
Ar offeren yr awn
I'r neuadd gydladd goedlawn[3]

Iolo Goch yn ein tueddu i feddwl fod yn arferiad gan wŷr eglwysig i "groesi" y rhai y deuent i gyffyrddiad â hwy, yr hon arferiad oedd yn gyfystyr â *bendithio* y rhai a "groesid."

[1] Yn ol arfer bresennol Eglwys Rhufain, gweinyddir yng ngwasanaeth yr offeren, ar ddyddiau gwylion ac ar amgylchiadau arbenig, gan Esgob neu offeiriad, yn cael ei gynnorthwyo gan ddiacon. Ac ar yr amgylchiadau hyn, cenir y gwasanaeth, neu ran helaeth o hono gan y côr (*Penny Cyclop.*, vol. xiv., p. 484).

[2] Ai nid o'r gair Seisoneg *quaver* y mae hwn yn dyfod ? = crychleisio, dolystain llafar.

[3] Ai nid at ryw wasanaeth teuluaidd y cyfeirir yma ? Yr hyn sydd yn ein tueddu i dybied hyny ydyw y cyssylltiad a geir rhwng yr "offeren" â'r "neuadd." Y mae y Pabyddion yn parhau i gynnal gwasanaeth dyddiol yn eu capelau. Ac fel y gwelwn oddi wrth y dyfyniad canlynol o "Allwydd neu Agoriad Paradwys i'r Cymrv" (a gyhoeddwyd yn "Lvyck" yn 1670), tudal. 261, yr oedd y ddyledswydd o gynnal gwasanaeth teuluaidd yn cael ei chymhell ar y rhai na allent fynychu lle o addoliad yn gysson. Ac os oedd yr Esgob Trevor yn cynnal gwasanaeth teuluaidd ddwywaith neu dair yn y dydd, heb law myned i'r eglwys, nid rhyfedd fod Iolo yn ei osod allan fel gŵr defosiynol. Ond fel y canlyn y dywedir yn yr "Allwydd" :—

"Pan nas gallant y bobl ffyddlon ar y Dyddiau Sul a'r Dyddiau Gwyl eraill fod yn bresennol ar Ddirgeleddion sacredic yr Aberth Dduwfawl, da iawn ac angenrheidiol y fyddai i'r Penteulu, ar yr amser cynnefin y boreuau, alw y tylwyth ffyddlon oll ynghyd i'r lle-gweddi arferol ; ac yno darllain iddynt yn eistedd o bobparth (neu beri i ryw vn arall a fedro yn rhwydd ac yn gywraint ddarllain) Pennod neu Wers o'r Directori Christianogol, a'r Introduction i fuchedd ddefosionol, o'r Memorial, neu o ryw lyfr da cyffelyb, ynol cyfarwyddiad eu Pennaeth Ysprydol, tros yspaid hanner awr, neu o amgylch hynny : yno gan syrthio ar eu gliniau, darllenned pob vn yn ddistaw wrtho ei hunan y Gweddiau uchod sydd i'w dywedyd yn amser yr Offeren sanctaidd. Gwedi hynny, ef a all rhyw vn o honynt ddywedyd y

Peri fy rhoddi ar radd
Iawn a wnai yn y neuadd,
I eistedd fry ar osteg
48 Ar y ford tal arfer teg
Anrheg am anrheg unrhyw
Ae ddoe i'r Arglwydd Nudd yw,
Diod am ddiod a ddaw[1]
52 Oi winllan ym oi wenllaw
Cerdd dafawd ffraeth hiraethlawn
Cerdd dant gogoniant a gawn,
Cytgerdd[2] ddiddan lan lonydd
56 Pibau dawns a gawn pob dydd;
Nid mawr un nid mor anhael
Gwardrob[3] y rhyw esgob hael
Na swydd yn ei essyddyn[4]
60 Ni bu rydd i neb rhyw ddyn

Litaniau, a'r lleill ei ateb ef. Neu ddywedyd Rosari ein Harglwyddes Mair Fendigedic bob yn eilwers, neu'r drydedd ran o honi. Ac yn y cyfamser goleu cannhwyllau bendiged (os gwel y Penteulu fod yn dda) er mwyn coffa presennoldeb yr Yspryd Glan.

"Yr un modd y prydnhawnoedd gan ddyfod ynghyd y gellir darllain rhyw rai o Fucheddau y Sainct o'r dydd neu'r wythnos honno (yn ol cyngor y Tad Ysprydol) tros amgylch hanner awr: ac wedi hyny, penlinio i ddywedyd eu Gwosper, y Litaniau, neu'r Rosari, megis o'r blaen.

"Ond mae yn well tuhwnt i bob mesur, ie yn anfeidrol gwell, mwy buddiol a llesfawr bod yn bresennol ar Ddirgeleddion sacraidd yr Offeren Lan, nac ar Weddiau eraill pabynnac. Ac am hynny nid oes dim na wna y rhai ffyddlon defotionol er cael bod yn gyfrannoc o honynt." . . . . .

Felly, nid oedd dim yn rhyfedd yn y ffaith fod Esgob yn gweinyddu gwasanaeth yr offeren yn ei breswylfod. Ac fe ein hysbysir y byddai y diweddar Cardinal Newman yn myned trwy y ddefod hono yn ddyddiol yn ei ystafell ei hun.

[1] Y mae Iolo, fel y gwelwn yn llinell 45, yn gadael y gwasanaeth crefyddol i drafod mater ag oedd yn fwy at ei chwaeth—bwrdd y wledd; ac yn llinell 51 y mae yn crybwyll y peth goreu ganddo ef oedd i'w gael ar y bwrdd hwnw.

[2] Tebyg fod cytgerdd yma yn golygu cyngherdd offerynol (*instrumental concert*).

[3] *Wardrobe.*

[4] "Esyddyn" = palas, neu breswylfod. Dyfyna a chyfieitha y

Ni'm lludd i fyned i'r llys
Neu ddyfod yn ara ddifrys[1]
Rhydd yw pob lle yn rhoddi
Ystafell meddgell i mi
Cegin pantri bwttri bwyd[2]
Pan fynnwyf pan fo anwyd,[3]
Tan mawn a gawn neu gynnud
Ni bydd yno'r morlo* mud[4] *sea coal.
Yn ystafell naws difeth
Yr Esgob y cawn pob peth
Grawn de Paris,[5] rhis, rhesin[6] Qu ? rice.
Llyfian[7] medd gwenwledd a gwîn,

Dr. W. O. Pughe un o'r Trioedd fel y canlyn :—

"Tri friv lys arbenig syz i dri myçdeyrn dyledawg Cymru yn esyzynau breiniawl izynt: un yw Aberfraw yn Ngwynez, Dinevwr yn y Dehau, a Mathraval Wynva yn Mhowys.

"There are three appropriate courts for the three supreme princes of Wales as privileged *mansions* for them: one is Aberfraw in Gwynez, Dinevwr in the South, and Mathraval Gwynva in Powys."

[1] Hyny yw, yr oedd rhyddid perffaith i Iolo fyned wrth ei bwys, a phan y mynai, i unrhyw ystafell ym mhalas yr Esgob. Ac yn y llinellau dilynol gwelwn ei fod at ei ryddid i gymmeryd bwyd a diod yn ol ei ewyllys.

[2] Arferir "pantri" a "bwtri" yn ddiwahaniaeth yng Nghymru am *fwyd-gell.* O bosibl nad oedd y gair "pantri" (Seisoneg—*pantry*), o'r Lladin, *panis*, Ffrancaeg, *pain*, ar y cychwyn yn cael ei ddefnyddio am le i gadw *bara*; ac mai lle i gadw *ymenyn* yn unig oedd "bwtri" (Seisoneg—*buttery*), o'r Lladin, *butyro*, Ffrancaeg, *beurre*.

[3] Annwyd=*cold*, mae'n debyg; "anwyd" ydyw *tuedd*, *natur*, &c. Tybiwn fod y rhan flaenaf o llinell 66 yn gyssylltedig â'r llinellau o'i blaen, a'r rhan olaf o honi â'r llinell ddilynol iddi, fel y canlyn :—

"Cegin, pantri, bwttri bwyd, pan fynwyf."

"Pan fo annwyd, tân mawn a gawn, neu gynnud."

[4] Dengys y llin. 67 a 68 mai *mawn* neu *goed* (cynnud) oedd mewn ffafr y pryd hwn fel defnyddiau tân, er fod rhai yn llosgi y "morlo mud" (*sea coal*); ac yn wir, mawn a choed oedd tanwydd y werin Gymreig yn y parthau gwledig hyd ddyfodiad y rheilffyrdd.

[5] "Grawn de Paris," neu "grawn Paris," yn ol y Dr. W. Owen Pughe, ydyw y *cardamum*. Hadau peraroglaidd llysiau tramoraidd, megys *Amomum repens* a'r *Alpinia cardamomum*, y rhai a dyfant ar arfordir Malabar, yn yr India ddwyreiniol, ydyw y *cardamum*, neu'r *cardamom*. A defnyddir yr hadau hyn i ber chwaethu bwydydd a diodydd.

[6] "Rhesin"=*raisins*.

[7] Nid ydym yn hollol sicr pa un

Yna i Siambr y Siambrlain[1]
Yno ydd awn yn ddi ddain[2]
Cyfeddach dalm cyfaddef
a gawn hefyd gydag ef
Diowdlyn da diadlaes[3]
Mewn cyrn fy arglwydd mewn caes caes a case? qu. a cae. I. M.
Cysgu ar blu neu bliant[4]
A llennau cylchedau[5] cant,
Ym mysg o gwrlidau mil[6]
A'r porphor drud o'r pwrffil[7]
Ar gra[8] or *gymac*[9] ar gob
Ai wisgoedd, wi o'r escob!
Pob defnydd ufudd afael
Allwn a[10] hwn fy Ior hael
Cydymaith mwyn cyweithas
Arglwydd goleuswydd ar glas[11]

ai "Llyfian" ai "Llysiau" ydyw y gair yn yr ysgriflyfr.

[1] Ystafellydd = *house-steward* ?

[2] Os ydyw "ddain" yma yn golygu *purdeb*, neu yr hyn sydd *brydferth* a *golygus*; y mae "ddi ddain" yn golygu yr hyn sydd gyferbyniol. Os felly, rhaid mai yr hyn a ddywed y bardd yw, ei fod wedi yfed llawn gormod wrth fwrdd yr Esgob cyn myned i gael ychwaneg yn "Siambr y Siambrlain."

[3] "Diowdlyn . . . . diadlaes" = hen ddiod.

[4] "Bliant" = lliain main. Y mae y Canon Silvan Evans (*Geir. Gymraeg*, s.v., "Bliant") yn sylwi fod y gair hwn o darddiad ammheus, ac nad yw yn debyg ei fod o darddiad Celtaidd; ond yn cydnabod ei fod i'w gael mewn llenyddiaeth Gymreig dros gan' mlynedd yn foreuach nag unrhyw enghraifft gofnodedig yn y Seisoneg; ac y mae yn dyfynu enghreifftiau o'r Mabinogion, yn gystal ag o amryw o'r beirdd.

[5] Crog-lenau, o amgylch y gwely.

[6] Nis gwyddom pa ham yr oedd angen am gynnifer a *mil* o gwrlidau, os nad i odli gyda *pwrffil*.

[7] Rhydd Richards o Langrallo yr eglurhad a ganlyn ar y gair hwn—"Pwrfil, or Pwrffill, *a train or trail of a woman's gown*. A'r llall oedd yn dwyn ei phwrffill hi. Esth. xv. 4." Yna dyfyna y ban a ganlyn gan Rhys Nanmor:—

"Un o blant yr hên Antwn,
A fflam ym mhwrffil ei ŵn."

[8] "Gra" = brethyn cedenog (*frieze*)?

[9] Ai nid gwall ydyw hwn am "gynau"—y lluosog o gŵn (*gown*)?

[10] Ymddengys i ni mai *o* ac nid *a* a fuasai oreu yma—"Allan o hwn."

[11] Rhydd y Canon Silvan Evans y tri deffiniad a ganlyn o'r gair "Clas":—

Balch wrth falch[1] fal gwalch y gwyl
Balchach difalchach eilchwyl
Llym wrth lym myn grym y grôg
Ar dri gair Ior trugarog
Uthr ei naws traws trybelid
Eithr ni lyn athro'n ei lid,
Trwyadl yw ar ddadl ddidwyll
Doethaf y barnaf ei bwyll,
Aml yw ei aur ym o'i law,[2]
Dedwydda da Duw iddaw.

Iolo Goch ai cant.

(1) "An enclosed place or area; a close; a region, a district, a country."

(2) "The pale, or precincts (of a church); a sanctuary; a cloister; a college."

(3) "A community; family, kindred, clan, or tribe."

Diammeu mai mewn cyssylltiad â'r ail ddeffiniad yr ydym i gymmeryd , gair yma. Yn yr un ystyr , defnyddir y gair gan Cynddelw (*Myv. Arch.*, p. 178):—

"Berth y lloc urth lleu babir
Berth y chlas ae chyrn glas gloyuhir."

[1] Hyny yw, yr oedd yr Esgob Trevor, fel y cyffredin o'r hil ddynol, yn ymddwyn yn ffroen-uchel at y trahäus; ac, fel y gwelir oddi wrth y llinellau dilynol, yr oedd yn addfwyn wrth y rhai gostyngedig. Yn lled gyffelyb y dywedai Dafydd Benfras am Llywelyn ab Iorwerth (*Myv. Arch.*, p. 217):—

"Oedd balch gwalch golchiad ei lain
Oedd beilch gweilch gweled ei werin."

Gwel hefyd Cywydd Rhif VIII., llin. 57-58, a Rhif XXVIII., llin. 60-66.

[2] Sylwer—"*Arglwydd* Llechryd" yn derbyn anrhegion o aur gan Esgob Llanelwy ! ! !

# XXXV.

## CYWYDD I IEUAN ESGOB LLAN ELWY.

---

(*O'r Add. MS., 14,970, fol. 38*).

Y mae yn ddiammeu genym mai yr un ydyw yr Ieuan hwn a gwrthddrych y cywydd blaenorol. Wrth ei ddarllen, yn enwedig y rhanau olaf o hono, yr ydym yn teimlo fod yr helyntion gwleidyddol yn dywyllach nag oeddynt pan gyfansoddwyd y cywydd o'r blaen. Ac y mae hyny yn peri i ni feddwl i'r cywydd hwn gael ei gyfansoddi rywbryd ar ol i ryfeloedd Glyndwr dori allan. Os ydym yn gywir yn hyn, credwn nas gallwn ei amseru yn gynnarach na 1404, pryd yr ymunodd yr Esgob ag Owain Glyndwr. Cyfeirir at daith yr oedd yr Esgob ar gychwyn iddi—i Ysgotland, fel y gallem dybied; ond methasom a chael unrhyw ffeithiau hanesyddol i daflu goleuni pellach.

Ieuan apostol glan glwys
Periglawr por[1] yr eglwys
Priodawr gyfaill prydydd,
Prydlyfr[2] offerenllyfr[3] ffydd
Primas[4] wyd yn lle Assa
Pennaeth o Dadwysaeth[5] da
Onid Duw naf ti yw'n nenn
A'n mabsant yma i'w absen,[6]

[1] "Por"=arglwydd.

[2] *Book of Hours*? Y mae amryw o'r llyfrau defosiynol hyn, megys, *Hours of Anne de Bretagne*, *Gwasanaeth Mair*, &c.

[3] Gwasanaethlyfr yr offeren = *the Missal*.

[4] Or Lladin *primus*=prif, pennaeth. Defnyddir y gair yn yr ystyr hwn yn "Marwnad Gruffydd Gryg," gan Dafydd ab Gwilym (*Barddoniaeth*, tudal. 258) :—

"Mel oedd o'i ben awengerdd,
*Primas* ac urddas y gerdd!"

[5] "Dadwysaeth" = tadogaeth (*paternity*.)

[6] Yr agosaf i Dduw, yn ol barn Iolo, oedd yr Esgob; ac efe oedd cynnrychiolydd y Goruchaf ar y ddaear!

Nid arglwydd neb na dorglwyd[1]
Onid tydi ein tad wyd
Fy ner aml hyder fy mhlaid
Am bagluryn[2] bagl[3] euraid
Am hysbryd glân[4] am *mhesbren*[5]
Am cyfarch a'm parch a'm penn
Conffessor can offisial
Y sy i ti Assa ai tâl[6]
Canhonwyr mawr cain hoyw-weilch
Priorau abadau beilch,
Myneich brodyr gwyr gwirfraint
Micariaid[7] personiaid saint

[1] "Dorglwyd," yn ol y Dr. W. O. Pughe, yw *a covering hurdle*. Ond gallwn dybied fod Iolo Goch yn defnyddio y gair yma yn gyfystyr ag *amddiffynydd*. Hysbysir ni fod y gair "dorglwyd" yn awr mewn arferiad rhwng Llanymddyfri a Threcastell = yn yr ystyr a roddir iddo gan Pughe.

[2] "Bagluryn" = blaguryn (*blossom*)—*Geir. Cymraeg* D. Silvan Evans, s.v. "Bagluryn."

[3] "Bagl" = ffon fugeiliol, neu esgobol; bagl esgob (*crosier*).

[4] Y mae Iolo yma yn defnyddio cymhariaethau i ganmol yr Esgob, y rhai nas gallwn ni, yn yr oes hon, eu hystyried amgen na chabledd hollol.

[5] "Mhesbren" = derwen. Defnyddir y gair yma, fe allai, yn yr ystyr fod Ieuan yn *amddiffynydd*, neu *noddfa*, i'r bardd; gan ei gyffelybu i gadernid y dderwen.

[6] Cyfeiriad sydd yma at luosogrwydd y swyddogion a berthynent i Esgobaeth Llanelwy, ar y rhai yr oedd yr Esgob yn llywydd, ac yn dad-gyffesydd. Ac ymddengys oddi wrth y llinellau dilynol fod prioriaid, abadau, &c. y crefydd-dai, yn gystal a'r offeiriaid plwyfol, o fewn i'r esgobaeth yn cydnabod goruchafiaeth yr Esgob. Mewn atebiad i ymholiadau a wnaethom, hysbyswyd ni fod y mynachod a'r lleianod o ran pob mater o anfoesoldeb neu ddysgyblaeth eglwysig o dan lywodraeth Esgob yr Esgobaeth; ac mai efe oedd i gyfryngu mewn unrhyw achos o anghydwelediad a allai godi rhwng y mynachod (neu y lleianod) â'u huwchafiaid. Ond nid oedd y mynachod, &c., yn gyfrifol i'r esgob gyda golwg ar unrhyw addunedau neillduol a berthynent i'r urdd, ond yn unig i'w huwchafiaid. Ac yr oedd gan yr esgobion a'r archddiaconiaid hawl i fyned i'r crefydd-dai—mynachlogydd, priordai, &c., pan y mynent. Dywed Giraldus Cambrensis, pan gododd anghydwelediad rhyngddo âg Abad Ystrad Fflur, nad oedd gan yr Abad hawl i'w attal.

[7] Ficeriaid.

Drwy eu gweddi dragwyddawl
Y bydd terfyn hynn o hawl[1]
Bendith dy fam ddinam dda
A'th ddiffer,[2] pawb a'th hoffa,
Bendith y glêr[3] a'th gerynt
Yn ddiddrwg a'th ddwg i'th hynt,
Bendithion y dynion da
Wrth fyned a'th ddiffynna
Duw o'th flaen oes daith flinach[4]
Dos y dydd a'r nos yn iach,
Mynych iawn mwy na channoed
Ofer iawn oedd a fu 'rioed.
Yn cyssoni cas anhawdd
Peth truan na wnân ei nawdd.

[1] Nid ydyw meddwl y ddwy linell uchod mewn un modd yn eglur i ni. Ond tybiwn fod y bardd yn defnyddio y gair "hawl" yn gyfystyr â *gofyn*, neu *erfyn*; ac os felly, erfyn y mae am weddiau tragywyddawl y gwŷr a'r urddasolion eglwysig a noda; gydag awgrymiad mai hyny yw ei ddymuniad penaf.

[2] "Differ" = amddiffyn. Ceir "diffreidiad" hefyd gan Einiawn ab Gwgawn (*Myv. Arch.*, p. 226):—

"Ysymy ri ryuel diffreidiad
Diffryd gwyr eryr ardwyad."

[3] Clerfeirdd, neu feirdd a chantorion crwydrol. Er mai i'r dosbarth iselaf o feirdd y rhoddir yr enw clerfeirdd, eto cyn y gallent fyned ar gylch clera, yr oedd yn ofynol eu bod yn feirdd trwyddedawg. Dywedir yn yr *Iolo MSS.*, p. 58, fel y canlyn:—"Rhaid yw rhoddi y cerddi cof hyny wrth farn gorsedd, fal y gwelir eu gwireda'u celfyddyd, cyn gallu braint cylch clera. Braint yw hefyd cylch clera i feirdd a throfedigion braint unwaith bob tair blynedd, a rhoddion o syberwyd a fydd iddynt." Pa fodd bynag, nid ydym yn awgrymu fod y dyfyniad hwn yn awdurdod o gwbl ar sefyllfa pethau yn amser Iolo Goch; o blegid o ysgriflyfr diweddar ei cymmerwyd; a diweddar ydyw y rhan fwyaf o gynnwysiad yr *Iolo MSS.* Ond y mae Iolo Goch yn cyfeirio yma at haelioni yr Esgob at y dosbarth hwnw; ei fod mor haelionus fel ag i sicrhau "bendith y glêr."

[4] Cyfeirir yma at ryw daith bwysig yr oedd yr Esgob ar gychwyn iddi; ond nis gallwn ddyfalu ei chyfeiriad; ac nid ydyw ei hamcan yn eglur. Ond, yn ol rhai awgrymiadau a geir yn y cywydd o hyn i'r diwedd, tueddir ni i dybied fod a wnelo y daith â'r anghydwelediad parhaus a fodolai rhwng Lloegr ag Ysgotland. Y mae llin. 31-34 yn awgrymu fod cynnygion cyffelyb i'r hwn yr oedd yr Esgob yn ymgymmeryd ag ef wedi profi yn aflwyddiannus. Pa fodd bynag, ni ddygwyddodd i ni weled unrhyw grybwylliad hanesyddol ag sydd yn taflu goleuni ar y llinellau hyn.

Deifr a Brynaich baich eu bôd
Ag adfer fyddai'r gydfod,[1]
Cydfod llwynogod agerw[2]
Yn dal ieir fai ar dal erw,
Na fid arnad ni adaf[3]
Ofn neb dy ofwy[4] a wnâf.
Gwisg lurig Dduw gwaisg[5] loyw ryw
Pan gyfottych tra fych fyw,
Dywaid yn groyw iaith ffloyw fflwch[6]
Rhwyddynt Patrig[7] i'r heddwch
Sant cyfwlch di fwlch da fu
Yn y 'Werddon yn orddu[8]
Celfydd y gwnaeth, bu coelfain,[9]

[1] Cytundeb.

[2] "Agerw" = agerdd, neu chwys; yr hon sefyllfa y dygid y llwynogod iddi trwy eu gweithgarwch a'u prysurdeb yn dal yr ieir tybiedig. I'r "llwynogod agerw" y cyffelybir gwyr Deifr a Brynaich, y rhai, yn ol y bardd, os nad mewn dim arall, a gytunent a'u gilydd yn y gorchwyl o ddifrodi.

[3] "Adaf" = aden (*a wing*).

[4] Gofwy = ymweled—mi a ymwelaf â thi.

[5] Y mae "gwaisg" yn golygu *cyflym*; a'r meddylddrych a gyfleuir yma ydyw fod "lurig Dduw" yn hawdd i'w dwyn.

[6] "Ffloyw fflwch" = tanbaid.

[7] Dywedir fod St. Patrick, yr hwn a flodeuai yn y bummed ganrif, o haniad Cymreig; ac iddo ddewis y rhanbarth o amgylch Glyn Rhosyn, yn Dyfed, fel ei faes llafur. Ond tra yno, yn ol y traddodiad, ymddangosodd angel iddo, yr hwn a ddywedodd wrtho nad iddo ef y perthynai y lle hwnw, ond i blentyn a enid ddeng mlynedd ar hugain yn ddiweddarach—sef Dewi Sant, fel y profodd wedi hyny. Digiodd St. Patrick o herwydd yr ymyriad hwn ar ei gynlluniau, ac aeth drosodd i'r Iwerddon yn y flwyddyn O.C. 420.

[8] "Orddu" = arwyneb tywyll—hyny yw, yr oedd y wlad, pan aeth y Sant yno, yn llawn o dywyllwch ysbrydol.

[9] "Coelfain" = meini y dystiolaeth. Tybir gan rai fod y Derwyddon yn arfer cerfio eu gwybodaeth gyfriniol ar feini yn gystal ag ar goed. Yna daeth y gair *coelfain* i arwyddo *gwybodaeth* a *chennadwri*. Y mae Iolo Morganwg (*Salmau* I., xxvi., 1) yn defnyddio y gair yn yr ystyr olaf :—

"Nid coelfain hedd i'r galon drist,
Ond geiriau nefol Iesu Grist."

Hwyrach mai wrth "goelfain" y golyga Iolo Goch *bregethiad yr efengyl*. Ond y mae cryn lawer o ynfydrwydd wedi cael ei ysgrifenu o bryd i bryd gyda golwg ar eiriau ag y tybir fod iddynt darddiad Derwyddol.

I'r pryfed myned i'r main,[1]
Llyffaint mewn naint maeddu wnai
A neidr yn fyw ni adai
Na bronwen[2] bach bry enwir[3]
Na charlwng[4] teilwng i'r tir,
Felly ti elly oll[5]
Encil Deifr ai difancoll
A gyrru hwynt yn gerrig
Ym mhob rhith diragrith dig.[6]
Gyrr Ynys wrich y Ffichtiaid[7]
Rhwng allt a mor hallt mawr haid,
Nid rhaid yt ofn tanbaid dŷn,
Adwy brwydr od ai i Brydyn,[8]
Llenn gel drosod a ddodaf,
A'th orchfan Ieuan a wnâf,

[1] Yn ol yr hen draddodiadau, darfu i Sant Patrick bregethu yr Efengyl yn yr Iwerddon nes i'r holl nadroedd a phob ymlusgiaid ereill ddiflanu yn llwyr o'r wlad; a dywedir fod lluniau nadroedd – ffosylau, mae'n debyg—i'w gweled yn y creigiau pan fyddant yn cael eu dryllio at adeiladu. A'r gred gyffredin ym mysg y werin ydyw na all neidr fyw yn yr Iwerddon, nac ychwaith ar bridd a gludir o'r wlad hono i'r wlad hon. Pa fodd bynag, ar y dybiaeth y gallai fod hinsawdd yr Iwerddon yn anghymmodlawn, gwnaeth boneddwr o'r enw James Clealand, Ruth Gael House, County Down, arbrawf ar hyn trwy brynu chwech o nadroedd ym marchnad Covent Garden, yn Llundain, yn 1831; y rhai, ar ol eu cadw am beth amser, a ollyngodd yn rhydd. Canfyddwyd a lladdwyd un o honynt mewn amser byr, a thair arall yn fuan ar ol hyny; a thybiai i'r ddwy arall gyfarfod â'r un dynged. Yn ol barn gwyddonwyr nid ydyw absennoldeb yr ymlusgiaid hyn yn yr Iwerddon ond hollol ddamweiniol (*Penny Cyclop.*, vol. xvi., p. 105). Ond fe welir fod Iolo Goch yn cymmeryd arno gredu yr hen draddodiad.

[2] "Bronwen" = wenci (*weasel*).

[3] "Bry enwir" = pryf genwair.

[4] Carlwng = *stoat*.

[5] Gwelir fod y llinell yn fyr o sill.

[6] Y mae y bardd yma am i'r Esgob Trevor ddilyn esiampl St. Patrick, trwy ddileu pobl Deifr—neu yn hytrach, trwy gyfaredd, eu troi yn feini; yn gyffelyb, o bosibl, i'r hyn a ddarllenwn yn rhai o chwedlau yr *Arabian Nights*.

[7] Ffichtiaid, neu y Gwyddel Ffichti, oedd yr enw a roddid gan Gymry y Canoloesoedd ar y Pictiaid. Benthyciad ydyw yr enw *Ffichtiaid* o'r Wyddelaeg; a'r enw Cymreig cywir am danynt oedd *Prydyn*.

[8] Prydyn = yr Alban, Ysgotland.

Ym mhlisc y gneuen wisgi[1]
Y dydd i'th orchuddiaf di
A'r nos rhwng bedw pren dedwydd[2]
Ai risg[3] tew yw gwisg y gwydd
Emyn Gurig[4] dda ddigawn
A garaf fy naf yn iawn,
A swyn Duw sôn ai diylch,
Hefyd i gyd yn dy gylch,
Esgob wyd mawr ei osgordd
Rhag lladron ffyrnigion ffordd
Rhag twyll ysgottiaid[5] rhag tân
Rhag twrw chwiblwynt rhag taran,

Cneuen wisgi = cneuen addfed.

[2] A ydyw y llinell hon yn awgrymu mai o'r fedwen yr arferai y Cymry wneyd eu gwelyau?

[3] Rhisgl = *bark*.

[4] Yn *Lives of the Cambro-British Saints*, pp. 276 a 610, ceir dernynau a elwir "Emynau Curig," yn cynnwys llithiau a cholectau i'w darllen, mae'n debyg, ar y prif wyliau; yng nghyda chrynodeb o nodweddion a gweithrediadau St. Curig. Yr oedd y Sant hwn yn fawr ei barch ym mhlith y Cymry; a dywedir y blodeuai yn y seithfed ganrif. Y mae ei haniad yn ansicr, gan yr haerir gan rai mai Cymro ydoedd, tra y dywed ereill iddo ddyfod o'r tu hwnt i'r môr, gan lanio yn Aberystwyth. Efe, meddir, a sefydlodd eglwys Llangurig; ac y mae Rees, yn ei *Welsh Saints*, yn cysylltu amryw eglwysi ereill â'i enw. Dywed wrthym fod Eglwysi Llanilid, a Churig, Sir Forganwg, a Chapel Curig, Sir Gaernarfon, yn gyflwynedig i Curig a Juliet ei fam; mai Juliet ydyw nawdd-santes Capel Llanilid, dan Defynog, yn Sir Frycheiniog; ond nid ydyw Rees yn sicr i bwy y perthyn eglwysi Porth Curig, Sir Forganwg, ac Eglwys Fair a Churig, Sir Gaerfyrddin. Priodolid i Curig amryw wyrthiau; ac ar y cyfrif hwnw, gallem dybied, y cyfeirir ato yma gan Iolo Goch, gan ei fod yn priodoli i'r Esgob Trevor alluoedd cyffelyb. O blegid dywedir yn y llinellau dilynol ei fod yn alluog trwy fath o gyfaredd, neu "swyn Duw," i gadw ymaith beryglon a phethau annymunol, hyd yn oed hylligrwydd elfenau natur.

Porth Kerry y gelwir Porth Curig yn awr. A dywedir wrthym yn yr Achau (*Cymmrodor*, vol. viii., part 1) fod Eglwys Llanilid, oddeutu'r fl. 1300, neu yn gynnarach, yn cael ei phriodoli i Ilid, merch Brychan.

[5] Nid oes yr un o feirdd Cymreig y cyfnod hwn yn canmol yr Ysgotiaid, ac nid ydyw Iolo yn eithriad. Yr oedd yr Ysgotiaid mewn rhyfel parhaus â'r Seison; ond yr oedd y Cymry erbyn hyn, er nad oedd ond oddeutu can' mlynedd er eu gorchfygiad gan Edward I., wedi dyfod mor deyrngarol i goron Lloegr fel ag i gasäu y rhai oeddynt yn

Rhag cythrudd mawr rhag Cythraul
Rhag gwynt i'th wyneb rhag haul,
Rhag câs y bobl rhag cyssellt[1]
Rhag cenllysg ym mysg y mellt,
Rhag dyn o Brydyn rhag brâd,
Rhag ysgorn o gwasg arnad,
Rhag llygru dy feirch ceirchbawr,
Rhag llifddwr a merddwr mawr
Rhag y gwr[2] a rhag eraill
Peth bychan allan a aill
A'r llaw farw arw ieurwym
Gwedi ei chodi a'i rhoi'n rhwym
Y fodrwy aur anfeidrawl
A'r maen Rhubi mi ai mawl
Trwm fydd yn troi am ei fys[3]
†Ri gwychr i'th gadw rhag echrys

†*Rhi* here is used in, nearly, the primitive sense. I.M.

rhyfela yn eu herbyn. Ond os ar ol i wrthryfel Owain Glyndwr ddechreu y cyfansoddodd Iolo y cywydd hwn, yr ydym yn syrthio i anhawsder, o blegid bu yr Ysgotiaid yn cynnorthwyo y Cymry yn erbyn y Seison, yn enwedig yn y frwydr a ymladdwyd gerllaw yr Amwythig.

[1] Nid ydyw gwasanaeth y gair "cyssellt" yn y fan hon mewn un modd yn eglur i ni. Golyga y gair hwn, yn ol y Canon Silvan Evans, *conjuncture; convenience; opportunity, fit time*; ac yr ydym yn methu deall pa fodd yr oedd y bardd yn dymuno i'r Esgob gael ei waredu rhag yr hyn oedd ffafriol iddo. Pe buasai Iolo yn cysylltu y gair â'r "bobl"—*rhag cyssellt y bobl gâs*—gallasem ei ddeall; ond nid felly y dywed.

[2] Pa ŵr a eddylir yma—y "gŵr drwg"?

[3] Tybiwn fod yma gyfeiriad at fodrwy gyffelyb i eiddo Eluned, cariadferch Owain ab Urien, yn y chweched ganrif; yr hon a wnelai pwy bynag a'i gwisgai yn anweledig i bawb; ond yr oedd yr hwn a'i meddai yn gweled pob peth. Yr oedd yr un rhinweddau yn perthyn i fodrwy Eluned, yr hon a restrir ym mhlith Brenindlysau Ynys Prydain, ag a berthynent i Fodrwy Gyges. Cyfeiria Dafydd ab Gwilym yn un o'i ganiadau i Forfudd (*Barddoniaeth*, tudal. 148) ati fel hyn:—

" O daw hon, dan eurdo hed,
I lan dwfr, ail Eluned."

A thybiwn fod Iolo Goch yn gwneyd defnydd o'r un chwedloneg

Duw gwynn o Brydyn pa bryd
Y doi adref da ei edryd
Debre wrth fy nadebru,
I ba dir bynnag ba du
Y delych i'th lewych wlâd
*Ynghire*[1] cai fy nghariad,
Gressyn na wyddost cost cêd
Grasus bercheñog croesed
Croeso Duw a dyn wrthyd
Croesaw=wr Beirdd croeso'r Byd.

Iolo Goch ai cant.

yma, er awgrymu y caffai yr Esgob e ddiogelu rhag ei elynion.

Claddwyd Urien ar ol y flwyddyn 575; ond gan nad ydyw yr hyn a ddywedir parthed i Owain ei fab ond chwedlonol, waeth heb fanylu ym mhellech.

[1] Yr ydym yn methu dyfalu beth a l y gair, neu yr enw, hwn fod.

# XXXVI.

## CYWYDD MARWNAD LLYWELYN GOCH AMHEURIG HÊN, BRYDYDD O SIR FEIRION.

---

*(O'r Add. MS., 14,970, fol. 84b).*

Ceir y cywydd hwn yn *Add. MS.*, 14,976, ac y mae i'w gael hefyd, ond gyda chryn nifer o'r llinellau wedi eu gadael allan, yn *Jesus MS.*, C. 101, p. 106; ac yn argraffedig yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 12, hefyd yn *Y Brython*, cyf. ii., tudal. 202. Ond o'r un ysgriflyfr ag a ddefnyddir genym ni'y copïwyd yr un a geir yn *Y Brython*, gyda darlleniadau gwahanol o ysgriflyfr arall yn y ffurf o nodiadau; ac at y darlleniadau hyny y cyfeiriwn pan yn nodi *Y Brython*, yn y tudalenau canlynol

Yn *Enwogion Cymru* (Foulkes), tudal. 702, dywedir fel y canlyn:—"Llywelyn Goch ab Meirig Hen, bardd enwog a drigianai yn Nannau, Meirion, ac yn ei flodeu rhwng 1330 a 1370. Enillodd serch Lleucu Llwyd, rhian nodedig am ei phrydferthwch, o Bennal, ac ar ei marwolaeth ddisyfyd cyfansoddodd farwnad alaethlawn, yr hon a argraffwyd yn *Y Brython*, ii., 170, a chyfieithiad o honi yn y *Bardic Museum*, gan Jones. Y mae llawer ychwaneg o'i farddoniaeth ar gael, a chwe' dernyn yn argraffedig yn y *Myv. Arch.* Canwyd ei farwnad ef gan Iolo Goch." Ond wrth droi i achres Nannau, gan Lewys Dwnn (vol. ii., p. 226), nid ydym yn canfod ei enw. Dechreua yr achres hono fel y canlyn:—

Ynyr Vychan ab Ynyr ⊤ Gwenhr. v̄ Gr. ab Gwenwynwyn ab Gronwy ab Ein'n ab Seisyllt.

Davd. ⊤ (a) — Meurig Vyn. ⊤ Anghd. v̄ Gr: ab Bleddn. ab Own. Brogynton. (b)




Wrth gymharu yr amseriadau, tybiwn, os oedd Llywelyn yn fab i un o'r personau a nodir yn yr achres uchod, mai mab ydoedd i Meurig Vychan ab Ynyr, a brawd i Meurig Llwyd, tad Hywel Selyf, neu Sele. Pa fodd bynag, y mae yn amlwg oddi wrth yr achres mai nid efe oedd perchenog Nannau; ac o bosibl mai mab anghyfreithlawn i un o feibion y lle hwnw ydoedd. Yr ydym yn cael ein cadarnhau yn y dybiaeth hon, i raddau, wrth ddarllen y crybwylliad fod rhieni Lleucu yn anfoddlawn i'w rhoddi yn wraig iddo. Fel hyn y dywedir yn *Y Brython*, cyf. ii., tudal. 170:—

"LLEUCU LLWYD ydoedd rian rinweddol, nodedig am ei glendid a'i phrydferthwch, yn byw ym Mhennal, ar lan yr afon Dyfi, oddeutu pedair milltir o Aberdyfi, ar ffordd Machynllaeth, yn y 14eg canrif. Cerid hi â chariad pur gan LLEWELYN GOCH AB MEIRIG HEN, o'r Nannau, ger llaw Dolgellau. Ond nid oedd ei thad mewn un modd yn foddlawn i'r garwriaeth, ac achubai bob cyfle i yru anghariad rhwng Lleucu a Llewelyn. Un tro, dygwyddodd i Llewelyn Goch fyned ar daith i'r Deheubarth, a daeth ei thad at Lleucu, a dywedodd wrthi, er mwyn diddyfnu ei serch oddi ar y bardd, fod Llewelyn wedi ymbriodi yno â merch arall. Pan glywodd Leucu yr ymadrodd hyn, hi a syrthiodd mewn llewyg, ac a drengodd yn y fan!"

Yna, y mae yr ysgrifenydd yn myned rhagddo i grybwyll am ddychweliad Llywelyn o'r Deheubarth, ei fawr ofid pan glywodd am farwolaeth ei gariad, yr hyn a achlysurodd iddo ganu marwnad ar ei hol. Ond, pa fodd bynag, nis gallwn gredu y buasai tad Lleucu yn dangos y fath wrthwynebiad

pe y buasai Llywelyn, fel yr awgrymir ei fod, yn etifedd neu berchenog Nannau—yr etifeddiaeth bwysicaf y pryd hwnw yn Sir Feirionydd. Credwn hefyd nas gall y dywediad ei fod yn blodeuo rhwng 1330 a 1370 olygu amser ei enedigaeth a'i farwolaeth. Yn y *Myvyrian Archaiology* ceir marwnad o'i waith i "Oronwy ap Tudur o Benmynydd," yr hwn, fel y dangoswyd eisoes (Cywydd Rhif. XXV.), a foddodd yn 1382; yna rhaid fod Llywelyn yn fyw y pryd hwnw. Hefyd, mewn cywydd o waith Gruffydd Llwyd ap Dafydd ap Einion Lygliw (*Iolo MSS.*, p. 288), "i Forgan Dafydd Llywelyn ab Philip Trahaern o Rydodyn yng Nghaeo pan ydoedd yn myned ar Gwest am ladd Ustus Caer o hanaw ar Fainc Caerfyrddin," yr ydym yn cael y ban a ganlyn:—

> "*Llywelyn* rathlyn rythloyw
> Berchen gwych awen goch hoyw."

Ac ymddengys i ni mai at Llywelyn Goch y cyfeirir. Ar ddiwedd y cywydd ceir "Gruffydd Llwyd Dafydd ap Einion Lygliw ai cant, ynghylch 1390." Y mae wedi ei gyfeirio at Syr Dafydd Hanmer, y barnwr oedd i fod ar y fainc yn achos y llofruddiaeth; ac y mae y bardd yn enwi deuddeg o wŷr cymhwys yn ei farn ef i eistedd fel rheithwyr, y deuddeg yn feirdd, a Llywelyn Goch yn un o honynt. Ac ni wyddom am yr un barnwr o'r enw Dafydd Hanmer heb law tad yng nghyfraith Owain Glyndwr. Os hwnw oedd, penodwyd ef yn farnwr Llys y Brenin yn 1383, a chrëwyd ef yn farchog yn 1387. Y mae y ffigyrau hyn yn profi nas gallasai Gruffydd Llwyd fod wedi cyfansoddi y cywydd a nodwyd ryw lawer yn gynnarach na 1390; ac yr oedd Llywelyn Goch yn fyw y pryd hwnw. Ond nis gallwn fyned ym mhellach. Yr ydym yn gorfod gadael amser ei farwolaeth heb ei benderfynu; ond, o bosibl, na chymmerodd le cyn pen hir ar ol y flwyddyn olaf a nodwyd.

Yn y cywydd canlynol, yr hwn a saif ym mhlith cyfansoddiadau goreu Iolo Goch, hysbysir ni mai Meurig oedd

enw tad Llywelyn, ac awgrymir ei fod yn perthyn i Sir Feirionydd. Cydnabydda Iolo ef fel ei hen athraw barddonol, yr hyn a awgryma ei fod ryw gymmaint yn hynach nag ef—a channiola ef yn fawr fel bardd, ac fel cyfaill. Yn ei holl gywyddau ereill, nid ydyw Iolo yn awgrymu dim yng nghylch ffaeleddau ei arwyr; ond yn hwn, er gwaethaf ei gyfeillgarwch â Llywelyn, y mae yn teimlo ei hun yn rhwymedig o gyffwrdd yn ysgafn â phrif wendid y gwrthddrych —sef anniweirdeb.

O Dduw teg a ddywed dyn[1]
A welai neb Lywelyn.
Amheurig[2] fonheddig hen,
Ewythr[3] frawd tad yr awen,[4]
Mae ef? pwy ai ymofyn?[5]
Na chais mwy achos ni myn,
[6]Meibion serchogion y sydd
A morwynion Meirionydd.[7]
Rhyfedd o ddiwedd *a ddaeth* — ydd aeth *in al.*
I Rufain o'r Siryfaeth[8] — Siryfiaeth *in al.*
Dyn nid aeth a Duw'n dethol
Erioed fwy cwyn ar ei ol[9]

[1] "Ai ddaed tyn."—*Jes. MS.*
"A'i ddaied dyn."—*Brython.*

[2] Ap Meurig.

[3] "Ewyrth."—*Jes. MS.*

[4] "Tad i Awen."—*Brython.*

[5] Y mae Iolo yn y llinellau blaenaf yn cymmeryd arno chwilio ac ymofyn am ei gyfaill.

[6] Yn *Jes. MS.*, y mae llin. 7-8 yn dilyn llin. 76.

[7] "A morynion Ymeirionydd."
*Jes. MS.*

[8] "Rhyfedd o ddiwedd i ddaeth
Os rhyfain fy/r Siryfiaeth."
*Jes. MS.*

Ai tybed fod y bardd yn awgrymu fod gan y Pab, fel swyddog (siryf = *sheriff*) dan Dduw, awdurdod ar Angeu; a'i fod yn lladd ac yn cadw yn fyw y neb a fynai? Nis gwyddom pa feddwl arall a ddichon y llinellau gynnwys; ond y mae yn amlwg fod y Cymry yn y cyfnod hwnw yn credu fod gan y Pab allu i wneyd bron fel y mynai. Ac os na wyddai y Pab ddim am Llywelyn yn bersonol, onid oedd pob offeiriad Pabaidd yn ei gynnrychioli?

[9] Y mae Iolo, yn llin. 11, yn cydnabod mai Duw yn unig a allai benderfynu amser terfynedig dyn ar y ddaear; ond yn ein sicrhau yn y llinell ddilynol na ddarfu Duw erioed ganiatau i Angeu gymmeryd ymaith fywyd yr un

I Baradwys i Brydu
Yr aeth bardd Ior eitha bu ;[1]
Nid rhaid dwyn ynof ond rhif
Nid hagr coel enaid digrif[2]
[3]Mawr yw'r pwnc os marw'r Pencerdd
Mawr a'i gwyr ni bydd mawr gerdd
Pan ofyner arfer[4] oedd
Y lleisiau yn y llysoedd ;[5]
Cyntaf gofynir[6] wir waith,
Ir purorion[7] per araith,
Hy iawngerdd[8] y gwr hengoch
Lliaws[9] a'i clyw fal llais cloch,[10]

dyn ag y bu cymmaint o gwyno ar ei ol ag a fu yn yr achos hwn ! Rhaid i'r bardd ym mhob oes gael dyweyd llawer o rywbeth heb law *ffeithiau*, onide, ni fyddai yn *fardd*, ac ni fyddai y cyfansoddiad yn *farddoniaeth*. Y darlleniad yn *Jes. MS.* yw :—

"Erioed fwy'r cwyn ar i ol."

[1] "I byradwys i brydu
ir aeth faur ior uthr fu."
*Jes. MS.*

"I'r aeth er Fair, ior uthr fu."
*Brython.*

[2] "Nid rhi gael yno ond tri
Nid hagar enaid digri."
*Jes. MS.*

"Nid rhaid cael yno ond tri
Nid hagr cael enaid digri."
*Brython.*

[3] Nid ydyw llin. 17-18 yn *Jes. MS.*

[4] "Evrner"—*Jes. MS.* ; "eurner"—*Brython.*

[5] "Yn i llysoedd"—*Jes. MS.* ; "yn eu llysoedd"—*Brython.*

[6] "Cynta gofynnir."—*Jes. MS.*

[7] "Pur orion"—*Brython* ; "perorion"—*C. Ll. G.*

"Purorion" = cantorion mwyn.

[8] "Rhieingerdd" — *Jes. MS.* ; "Rhiein-gerdd"—*Brython.*

[9] "Lluaws."—*C. Ll. G.*

[10] Syniad rhyfedd—hwyrach y gelwir ef gan rai yn wir farddonol —ydyw yr un a osodir allan yn llin. 19-24 ; sef, fod y beirdd ar ol myned i'r nefoedd yn cael eu galw ym mlaen i adrodd eu gweithiau. Ac mai y cyntaf a elwir ger bron a fydd Llywelyn Goch, i adrodd ei riangerdd—i Lleucu Llwyd, mae'n debyg. Nid oes genym ond gobeithio fod yr adroddiad, os cymmerodd le, wedi rhoddi boddlonrwydd cyffredinol. Ond hwyrach fod y mwynhad hwn wedi cael ei ohirio hyd y dyfodol. Pe buasai Emanuel Swedenborg wedi cael ei eni yn y bedwaredd ganrif ar ddeg, yn lle yr eilfed ar bymtheg, buasem bron yn barod i gredu fod Iolo wedi benthyca y syniad gan yr arch-ddychymmygwr hwnw.

[1]Nid oes erddigan[2] gân gainc
Gwir yw lle bo gwyr ieuainc
Ni bydd digrif ar ddifys[3]
Nag un accen ar ben bys;
Ond cywydd cethlydd coethlef
Ni myn neb gywydd *namn* ef[4] — ni myn neb gywydd nam ef *in al.*
Ni châr ungair[5] chwerw angerdd — chair, probably. I. M.
Ar gam unlle ar y gerdd,
Ni wnai dy dai dad awen[6]
Na wyddiad gulfardd[7] hardd hen
Cerdd bur ei gwneuthur a wnaeth — ef a wnaeth gwneuthur — a N. Walicism I. M.
Gwrdd aurwych i gerddwriaeth[8]
Prydydd fardd priod addfwyn
Proffwyd cerdd praff ydyw cwyn,
Prifordd a gwelygordd gwawd
Profestydd pob prif ystawd,[9]

[1] Y mae llin. 25-54 wedi eu gadael allan yn *Jes. MS.*

[2] Erddygan = *euphony*. Defnyddir "erddygan" yn aml yn gyfystyr ag *alaw* = *air*.

[3] "Ddifys" = toddi i'w gilydd (*blending*).

[4] "Namn ef" = namyn ef?

[5] "Ni chair un-gair."—*C. Ll. G.*

[6] "Ni wnai Dydain, dad awen."
*C. Ll. G.*

Y mae "dad awen" yn profi ar unwaith mai Tydain a feddylir. Cymmeriad dychymmygol ydyw Tydain a gyssylltir â hanes yr hen Frytaniaid, a dywed rhai mai yr un ydyw a Titan, neu Apollo y Groegiaid (*Davies's Mythology of the Druids*), tra y dywed Stephens o Ferthyr mai yr un oedd a Tathan Sant, yr hwn a flodeuai yn y chweched ganrif (*Y Beirniad*, v., tudal. 300). Mewn un hen ysgrif (*Facs. Black Book of Carmarthen* fol. 32) cyfeirir at y lle ei claddwyd:—"Bet Tedei tad awen yg godir brin aren." Ac yn "Englynion y Gorugiau" (*Iolo MSS.*, p. 262), y rhai a briodolir i Geraint Fardd Glas, dywedir:—

"Goruc Tydain Tad Awen
Oi fyfyrdawd fawr aren,
Glof ar gofgan gerdd gymhen."

Ceir cyfeiriad at Tydei neu Tydein yn *Vita Merlini*:—"Citharâ notissima Tythen." A chyfeirir at "Brynn aryen" yn y *Mabinogion* (Oxford edit., p. 71).

[7] Defnyddir y gair "culfardd," neu "cylfardd," weithiau fel yn gyfystyr â *prifardd.*

[8] "Gwrdd eurwych ei gerddwriaeth."—*C. Ll. G.*

"Gwrdd" = gwresog.

[9] "Profestydd y prif ystawd."
*C. Ll. G.*

"Profestydd" = rhaglaw (*provost*).

Primeist[1] cywydd Ofydd oedd
Profedig prifai[2] ydoedd,
Prydfawr fu'r ffyddfrawd mawr mau,
Prydlyfr i bob per odlau.
I gân Taliesin fin-rhasgl
Trwy ei gwst[3] nid drwg i gasgl
Y dysgawdd fi y disgybl[4]
Ar draethwawd o bob wawd bibl
Athrylith nid ethrylysg
Athro da mur aeth ar dysg;
I'r lle mae'r eang dangnef
Ag aed y gerdd gydag ef[5]
Nid rhaid wrthi hi yr haf
Da gwyr ef y digrifaf,
[6]Nid oedd neb cyfundeb cu[7]
Yngwynedd yn ynganu
Dieithr a wnaem ein deuoedd[8]
I mi ag ef *ai mig* oedd[9]

disgibl *in al.*, and so the awdl requires. I. M

Dalier sulw, neb ond Iolo Goch a Lln. Amheurig Hen yn canu'r amser hwnw yn Ngwynedd. I. Morg.

*emig* it should be. I. M.

[1] Defnyddir yr un gair mewn ffurf ychydig yn wahanol yn Cywydd Rhif XXXV., llin. 5.

[2] "Prif-wr."—*C. Ll. G.*

[3] "Gwsg."—*C. Ll. G.*

[4] Cydnebydd Iolo ef yma fel ei hen athraw barddonol; ond dywedir yn gyffredin mai ei athraw oedd Ednyfed ab Gruffydd, o Faelor. (Gwel "Braslun," &c., tudal. 23). Ond dichon iddo fod dan addysg y naill a'r llall.

[5] Yn *Jes. MS.* y mae llin. 51-52 yn dilyn llin. 14:—
"Ir lle maer eang dangnef
Ag aed i gerdd gidag ef."

[6] Yn *Jes. MS.* y mae llin 55-60 yn dilyn llin. 24.

[7] "Nid oedd neb coeth atteb ku." *Jes. MS.*

Diammeu genym fod nodiad Iolo Morganwg, ar ymyl y ddalen, yn fynegiad cywir o'r hyn a feddyliai y bardd. Y mae yn amlwg fod Iolo Goch yn ystyried ei hun, fel y mae pawb yn ystyried eu hunain, yn gyfartal i'r goreu; ac ymddengys nad oedd ganddo syniadau uchel am sefyllfa barddoniaeth yng Ngogledd Cymru ar y pryd.

[8] "Dierth awen yn deuoedd." *Jes. MS.*
"Dyeithr o wnaen ein deuoedd."—*C. Ll. G.*

[9] "Mi ag ef ail enyn oedd.' *Jes. MS.*
"Mi ac ef ail Emig oedd." *Brython*, a *C. Ll. G.*
Mewn cysylltiad â'r llinell hon yn *Y Brython* ceir y sylw a ganlyn:—"*Emig* neu *Amig* ydoedd fab i

Amlyn wyf nid aml iawn neb
Orai hen ar eu hwyneb,[1]
[2]Pur athro cerdd per eithrym — qu. wh. ieithrym? I. M.
Parod oedd pwy a wyr dym,
Minnau'n dal hiriau fy hun,
Mi ni wn o mewn annun[3]
Na dyrnu na gyrru gwawd[4]
Ag unffust[5] och rhag anffawd,
Un natur a'r turtur[6] teg
Egwan wyf ag un ofeg[7]
Ni ddisgyn yr edn lednais
Ni chan ar irfedw lan lais.[8]

Ardalydd Berignan, Marchog o Ffrainc; ac Amlyn ydoedd fab i Iarll Alvern yn yr Almaen. Syrthiodd y ddau wrth ryfela gyda Siarlymaen, yn erbyn Brenin Lombardi. Cynnwysa'r *Llyfr Coch o Hergest* chwedl neu fabinogi o'r enw *Cymdeithas Amlyn ac Amig*. Cyfeiria'r beirdd yn fynych at y ddau gydymaith hyn.

"Iadu'n *Amlyn* rhag bod un dig
A'i arail yma ar ol *Amig*.
*L. G. Cothi, i Rys ab Rhydderch* [*Sic.* Rydderch ab Rhys ?]

"Ei dad oedd Amlyn rhag dig,
Tomas yntau yw Amig.
*L. G. Cothi, i Domas ab Phylip.*"

Dymunem adgoffa y darllenydd mai *Y Brython*, ac nid y ni, sydd yn gyfrifol am y sylw uchod.

[1] "Amlun wyf anaml neb
O henaint ar i hwyneb."
*Jes. MS.*

[2] Nid yw llin. 61-62 yn *Jes. MS.*

[3] "Mine talaf hyriaf hynn
Mi ni wn farw mewn anyn."
*Jes. MS.*

"Minnau rof huriau fy hun,
Mynwn fy mod yn anun."
*Brython.*

[4] "Ddyrnv nid hawdd gwev gwawd."—*Jes. MS.*
"Dyrnu brau nid hawdd gwau gwawd."—*Brython.*

[5] "Yn ffust."—*Jes. MS.*

[6] "Turtur" = *turtle-dove* : aderyn o'r un teulu a'r golomen, yn meddu ar lais addfwyn, a'r gwrryw a'r fanyw yn hynod o ymlynol i'w gilydd.

[7] "Ofeg" (gofeg) = meddwl, ewyllys, &c.

[8] "Ni chwsc yr edn hyf ledlais
Ni chan ar fedw lan lais."
*Jes. MS.*

"Ni chwsg yr edn hy llednais
Ni chân ar fedwen lân lais."
*Brython.*

Yn *Jes. MS.* dilynir y ban hwn gan yr un canlynol, yr hwn, fel y gwelir, sydd yn angenrheidiol er cwblhau y syniad :—

"Pen fo marw gwiw garw gorwyf
i gymar aflafar wyf."

Minnau'n[1] canu ni mynnat
Byth yn ol pa beth a wnaf[2]
Gweddio Pedr gwaedd eorth[3]
Y bum canaf gerdd am borth
Gollwng[4] Llywelyn dŷn da[5]
Yny ddel yn ei ddalfa;[6]
Ym mysg pob hyddysg yw hyn
Y proffwydi praff ydyn,[7]
Hoff fydd gan Ddafydd Broffwyd
Ddatganu cerdd Lleucu Llwyd,[8]
[9]Prydydd oedd Ddafydd[10] i Dduw
Clod y Drindod a'r unduw,
[11]Prydyddiaeth a wnaeth fy naf
Y Sallwyr bob ryw sillaf.

[1] "Minau."—*Jes. MS.*

[2] "Byth yn oes pa beth a wnaf."
*Jes. MS.*
"Byth yn oes, o beth a wnaf."
*Brython.*

[3] "Gweddio Peder gwedd eorth."
*Jes. MS.*
Y mae y Dr. W. O. Pughe—d.g. "Eorth" = *diligent, assiduous, studious*—yn dyfynu hon a'r llinell sy'n ei dilyn ychydig yn wahanol, ac yn eu cyfieithu, fel y canlyn :—
"Gweẓiaw Duw, gweẓ ēorth,
Y bum ; canav gerẓ am borth.
Praying to God, in a *diligent* manner, I have been ; I will sing a song for aid. *Iolo Gog.*"

[4] "Ar ddwyn"—*Jes. MS.* ; "Am ddwyn."—*Brython.*

[5] "Daf."—*Jes. MS.*

[6] "Vrddolfeistir nef i'r ddalfaf."—*Jes. MS.* Ac yn dilyn y llinell hon ceir :—
"Nis gwyr dŵw am deulywas
yn athro grum ni wnaeth gras."

[7] "Ymysg pobl hyddysg hynt
proffwydi nef praff ydynt."
*Jes. MS.*
Ceir "pobloedd" yn lle "pobl" yn *Y Brython* a *C. Ll. G.*

[8] "Gwaith hoff gen ddavydd broffwyd
ddadkanu cerdd lleyku llwyd."
*Jes. MS.*
Y mae yn amlwg oddi wrth farwnad Llywelyn Goch i'w gariad, mai ym Mhennal, Sir Feirionydd, y preswyliai. Pa fodd bynag, yr oedd boneddiges arall o'r un enw yn cydoesi â hi, sef Lleucu Llwyd, merch Rhys ab Robert, o'r Cinmael, a gwraig Hywel ab Tudur, o'r Llys, ym mhlwyf Llaneurgain.

[9] Yn *Jes. MS.* y mae llin. 81-82 yn dilyn llin. 92.

[10] Dafydd, brenin Israel.

[11] Y mae llin. 83-84 yn cael eu gadael allan yn *Jes. MS.*

Anniwair fu yn ei[1] oes
Careddfawr nid cwyreiddfoes[2]
Pur wr tal per o'r teulu[3]
Serchog edifeiriog fu;
Duw a faddeuawdd[4] hawdd hoed — oed *in al.*
Iddaw yn ei ddiweddoed[5]
Yntau a faddau i'w Fardd
Ei ffolineb, ffael anhardd[6]
[7]Llys rhydd sydd echwydd uchel — allusion to ancient privileges of the Bards.
I Brydydd lliw dydd lle del[8]
Ni chai[9] na dor na chwyn dyn
Na phorth rhagddor ni pherthyn,[10]

1 "Aniwair fy yn i oes."—*Jes. MS.*

2 "Y carueiddfardd karuedd-foes."—*Jes. MS.*

"Y careiddfardd cerydd-foes." *Brython.*

Ymddengys y darlleniad olaf i ni fel y goreu o ddigon.

3 "Puror telyn por teylu." *Jes. MS.*

"Puro telyn, por teulu." *Brython.*

"Puro telyn per teulu." *O. Ll. G.*

"Puror" = *an harmonious tuner, a pleasant songster.*—Richards o Langrallo.

4 "Ai maddeuawdd."—*Jes. MS.*

5 "Iddo yn i ddiweddoed." *Jes. MS.*

6 "Ynte a fadde yw fardd
i ffolineb ffael anardd." *Jes. MS.*

Y mae Iolo Goch yn y llinellau uchod yn cyffelybu Llywelyn Goch i Dafydd, brenin Israel, mewn dau beth—yr oedd y naill fel y llall yn brydyddion gwych; ac yr oeddynt hefyd yn llawn digon hoff o ferched. Ymddengys i ni oddi wrth llin. 91-92 i Llywelyn fod yn euog o anniweirdeb, ac i hyny ddyfod yn lled gyhoeddus; onide y mae yn amlwg na fuasai Iolo yn cyfeirio at hyny mor ddigamsyniol yn ei Farwnad. Ond y mae enw y ferch wedi cael ei anghofio. Yn ol yr hanes sydd genym mewn perthynas i'w gyssylltiad â Lleucu Llwyd, nis gallwn gredu i Llywelyn ei thwyllo hi.

7 Yn *Jes. MS.* y mae llin. 93-98 yn cael eu blaenori gan llin. 82.

8 "Llys rhydd y sydd swydd ychel
I brydydd lliw dydd llei del." *Jes. MS.*

Tybed fod Iolo Morganwg yn gywir ar ymyl y ddalen? Ai nid rhydd-fynediad Llywelyn i'r llys nefol a feddylir?

9 "Ni chae"—*Jes. MS.*; "Ni chau."—*Brython.*

10 "Na fforth rhagddor na ffer-thyn."—*Jes. MS.*

Y mae yr *r* derfynol yn *rhagddor* yn y *Jes. MS.* wedi cael ei hysgrifenu mewn inc coch gan law ddiweddar.





Nid hawdd ei ddal dial dwys
Prydydd ym mhorth Paradwys.[1]

Iolo Goch ai cant.

[1] "Nid hawdd attal dial dwys
Prydydd ymhorth Paradwys."
*Jes. MS.*

"Nid hawdd dal dial dwys,
prydydd ymhorth paradwys.'
*C. Ll. G.*

# XXXVII.

## MARWNAD ITHEL DDY Y BARDD O FÔN. a gladdwyd Enlli.

(*O'r Add. MS., 14,886, fol. 269*).

Y mae yr adysgrif o'r cywydd wedi ei hysgrifenu mewn orgraff led ryfedd, tua chanol yr eilfed ganrif ar bymtheg. Ond y mae yr holl nodiadau ymylenol mewn llaw lawer diweddarach. Mewn camgymmeriad (tudal. 76), rhoddir ar ddeall fod y cywydd hwn i'w weled yn *Add. MS.*, 14,866; ond yng nglŷn âg *Add. MS.*, 14,886 y dylasem ei osod.

Ni wyddom ddim o hanes Ithel Ddu, a'r oll a ddywed y Parch. Owen Jones (*Geir. Cen. Cymru*, cyf. i., tudal. 680) am dano ydyw :—" Ithel Ddu oedd yn fardd o Sir Fon, yr hwn oedd yn byw rhwng y blyneddoedd 1380 a 1421. Cyfansoddwyd ei farwnad gan Iolo Goch, yr hon sydd ar gael yn mysg ei gyfansoddiadau." Yr ydym eisoes ("Braslun," &c., tudal. 69) wedi cyfeirio at anghyssondeb yr amseriadau hyn. Ni wyddom am ddim o waith Ithel Ddu yn argraffedig, a methasom gael dim o'i waith, ar ol cryn ymchwiliad, mewn ysgriflyfrau. Ymddengys oddi wrth *Y Greal* (Llundain), am Mawrth 21, 1806, iddo ganu "I'r Celfaint," yn dechreu :—" Val yr oeddwn gwyddwn gur." Pa fodd bynag, rhydd Iolo Goch, yn y farwnad a ganlyn, air mawr iddo fel bardd—yn enwedig, fel cyfansoddwr caneuon serch. Wrth gymharu y farwnad hon â "Chywydd Duchan Gwyddelyn" (Rhif XLI.), gellir tybied fod Ithel yn ŵr o gyfoeth a dylanwad; ond yr oedd Gruffydd Gryg ac yntau, o herwydd rhyw reswm anhysbys i ni, yn elynion anghymmodlawn. Os ydym yn deall y cywydd yn iawn, "Gwyddelyn" (h.y., Gruffydd Gryg) a laddodd Ithel trwy ei wanu â phicell, ond ni eglurir dan ba amgylchiadau.

Tua y rhan olaf o'r farwnad, rhydd Iolo ar ddeall i ni ei fod yn ŵr lled grefyddol, ac iddo gael ei gladdu gyda galar mawr yn Ynys Enlli.

Dir yw[1] o fro **feilir*[2] frŷch — *Trefeilir mae'n debyg
deryw[3] mawr ywr dewin mowrwych
o rythr †gwayw i waeth Iôr gwymp — †killed with a spear
ir daeardy dy oer-dymp[4]
gwayw o *ddolur gwyddelig*[5]
gwnaeth Duw, a bu ganwaith dig
yn anwybod dwyn ‡ebyr,[6] — qu.
oi §*wanu* a phen bwian byr — §wân rather pro wahan *or* gwanu
heb air ymladd bar amlwg
trwyddaw ar draws ‖trwydden ddrwg, — ‖a Lance
ni wnai wyddel ai elyn
cynddrwg o hirwg a hynn;
cwyn mawr is Cônwy yw marw
Ithel ddiargel eurgarw[7]
***deryw* r gerdd aeth yn dir gŵydd — **Deryw-darfu
uwch ai ryfel och or aflwydd!
troed awgrym gwawd tra digrif
pryddo[8] pen ††*profestydd* prif — ††pl. a provost

[1] "Dir yw" = Sicr yw.

[2] Preswylfod ym mhlwyf Trefdraeth, Sir Fôn, ydyw Trefeilir. Saif ryw filltir i'r gogledd-ddwyrain o Orsaf Bodorgan; ar ymyl y ffordd sydd rhwng Trefdraeth a Llangefni.

[3] "Deryw = darfu

[4] Gwelir yma i'r ergyd, neu'r brathiad, brofi yn farwol.

[5] Fe welir oddi wrth y nodiadau arweiniol i Cywydd Rhif XLI., mai Gruffydd Gryg oedd "Gwyddelyn," a chyfeirir yma at ei waith yn lladd Ithel dan yr enw "dolur gwyddelig.'

Eglurhad y Dr. Pughe ar *ebyr* yw—"egress; utterance. *v.a.* To utter." Ond tybiwn mai gwell yw Richards o Langrallo, yr hwn a ddywed mai ffurf arall ar *aberoedd* (= *streams*) yw "ebyr." Hyny yw, yr oedd aberoedd o waed yn ffrydio allan o'i glwyfau.

[7] Defnyddir "rhygarw" gan y beirdd i olygu carw o'r dosbarth blaenaf, neu ryw beth anghyffredin o ardderchog. Oni ellir deall "eurgarw" yn gyffelyb—(*the golden deer*)? Defnyddir ef yma, megys y defnyddir y fath eiriau mewn manau ereill, fel ymadrodd canmoliaethol.

[8] Y mae yr *i* uwch "pryddo" mewn llaw ddiweddar.

prydydd serchog enwog oedd
a thrydydd[1] athro ydoedd.
campau'r mab oedd cwympo merch
cwmpassu gwawd camp hoywserch
dychanu i **brem*[2] salwdrem sych — * y Brêm
a gwyddelyn gwedd *elych*[3]
yfed mêdd hyfeiddbledd blwng
aur i gathl[4] ar i gythlwng
a †*helgyd*[5] merch hy elgyrn — †Helgyd, vulgo Helcyd
a hela a chwn wr hael chwyrn
pan na bu farw garw gaerûg
Gwyddelyn march cregyn crûg
ni chaiff ef dolef lle i dêl
weithian gan nad byw Ithel
gwyn i fyd yn gwynfydu
y ‡*bren* bach awr *brim*[6] i bu — ‡a proper name
oi flaen farw ef y leni
iawn a wnaeth hyn a wn i
beth yw r byd? pwy aeth ar bel?[7]
Pen doeth, pwy onid Ithel?
pwy oedd oraû doniau dyn
hence Gorllewyn — Darlleawdr[8] ar dir *Llewyn* — Llewyn qu. wh. pro gorllewyn or Lleyn i.e. Llŷn.
pwy a wyddiad cariad cel?
pwy eithr a wypai Ithel?
oedd eres[9] i ddaearû
ethol o Dduw Ithael ddu.
o bai raid iddo brydydd
a cherddwr a heliwr hydd.

[1] Pa ham *trydydd* mwy na rhyw radd arall?

[2] Ai enw priodol ydyw hwn? Ceir *bren* hefyd yn llinell 34.

[3] *Elech* ydyw maen neu garreg; ai ffurff luosog ydyw "elych"?

[4] "Gathl" = cân.

[5] "Helgyd" = chwilota.

[6] Os "*bren*" a ddylai fod yn nechreu y llinell, y mae yn amlwg mai "*brin*," ac nid "*brim*" a ddylai hwn fod; neu i'r gwrthwyneb.

[7] "Bel" = goruchafiaeth.

[8] "Darlleawdr," neu Darlleawdyr = darllenydd, areithydd, &c. Cyfeirir yma o bosibl at ddysgeidiaeth Ithel.

[9] "Eres" = rhyfedd.

i *ynys bir*[1] mae hir aeth
Ithel ddu n rhith hela i ddaeth
ai gynydd nis goganwn
ai gyrn gidag ef ai gwn
ag a llong i gollyngwyd
oi wlad i dir **lleudad*[2] llwyd
i hely cwnĩg hil Cynon[3]
†y fil saint ai fawl ai son,
nid aeth llwyth o adwyth lli*f*[4]
un llong i ynys Enlli;
hyn a dyngaf llwyraf llw
haner cystal a hwnw
fenaid aur llathraid yw'r llwyth
am dewisdyn d$_{y}^{u}$[5] ystwyth.
gwr a fedrodd yn gowraint
gorwedd lle mae senedd saint

o wnaeth Ithel ddy *ddialog* a elwir breuddwyd Ithel ddy a llawer draethod da yntho o fryd llawer ymofyn wch am dano.

* Lleuddad St. Enlli.

† the 1000 saints.

[1] Pa le ydyw "Ynys Bir"?

[2] Lleuddad, neu Llawddog, oedd un o seintiau y seithfed ganrif. Ei dad oedd Dingad ab Nudd Hael; a'i fam oedd Trefrian, neu Tonwy, merch Lleuddyn Lluyddog o Ddinas Eiddyn. Aeth Lleuddad, gyda'i frodyr—Gwytherin, Tygwy, Tyfriog—a'i chwaer, Eleri, i goleg Enlli. Efe a sefydlodd eglwysi Llanllawddog, Cenarth, a Phenboyr, yn Sir Gaerfyrddin; a Chilgeran, yn Sir Benfro.

[3] Gwelwn oddi wrth y *Gododin* fod Cynon yn un o arwyr brwydr Cattraeth, ac yn un o'r pedwar a ddiangasant yn fyw o'r frwydr hono. Yn y gyfres leiaf ei gwerth o'r Trioedd—sef y drydedd (*Myv. Arch.*, p. 411) dywedir fel y canlyn:—

"Tri Marchog Cynghorddoeth Llys Arthur: Cynon mab Clydno Eiddin; ac Arawn fab Cynfarch; a Llywarch Hên mab Elidir Lydanwyn; ac ni chaid amgen na llwydd i bob Cynghor o'u heiddaw a wnaed, ac aflwydd a gaid lle bynnag nas gwneid yn oll eu cynghoreu."

Ceir amryw gyfeiriadau at fedd Cynon yn "Englynion y Beddau" (*Facs. of the Black Book of Carmarthen*, fol. 32), megys:—

"In llan padarn bet kinon.
Bet gur gwaud urtin
in uchel Tytin
bet kynon mab clytno idin.
. . . . . . . . . .
. . . . . . . . . .
bet kinon in reon rid."

[4] *Lli'* a ddylasai hwn fod, er mwyn odli gydag *Enlli*.

[5] Y mae yr *y* yn "dy" wedi ei chroesi allan gan law ddiweddar, ac *u* wedi ei hysgrifenu oddi arni—*du*. At Ithel Ddu y cyfeirir.

a glybod **Talbod selba*
ag †Iollyn[1] ddu'n galw'n dda — *† Proper names.
di ddrwg i ddiwladeiddrwydd
digrif pe sirif i swydd
nid oes gythrel disgethrin
a ddel yno *gwenfro* gwin — *Ynys Enlli*
da dyddyn o doid iddi
nid ai neb o honai hi
yno i ddaeth ef yngrefydd
yno byth band iawn i bydd
gorffowys ai gorph hyawdl
hyd ‡*frawd* ddiodlawd dda awdl — ‡Barn.
nid aeth o uchafiaeth iach
i grefydd wr ddigrifach.

Iollo Goch ai cant.

[1] Pwy oedd Talbod Solba, a phwy oedd Iollyn Ddu ?

# CANIADAU DUCHAN.

## XXXVIII.

### DUCHAN IR BRAWD LLWYD O GAER.

*(O Lyvr Huw Lleyn—Add. MS., 14,967, fol. 68).*

Y mae y cywydd hwn i'w weled hefyd yn *Add. MSS.*, 14,880 a 14,970. Nis gwyddom pwy oedd y "Brawd" hwn, nac ychwaith pwy oedd yr Hywel ab Madawg a nodir ar ddechreu y cywydd. Sefydlwyd yr urdd fynachaidd a adnabyddid wrth yr enw Brodyr Llwydion *(Franciscan Friars)* yn y flwyddyn 1223. Yr oeddynt hwy, fel y Brodyr Duon *(Dominican Friars)*, y rhai a sefydlwyd yn 1216, yn cael eu gwneyd i fyny o'r bobl gyffredin, ac yn addunedu i fyw yn dlawd. Cardotent eu cynhaliaeth o ddrws i ddrws, ac yr oeddynt, gan eu bod yn cymdeithasu cymmaint â'r werin, yn lled boblogaidd yn eu plith. Ystyrid hwynt yn hynod o ddysgedig, ac yn bregethwyr hyawdl. Darfu i Richard II. ddangos cryn lawer o bleidgarwch tuag at y Brodyr Llwydion; ac ar ol ei ddiorseddiad cynhyrfent hwythau y bobl yn erbyn y trawsfeddiannydd—Harri Bolingbroke. Ac, mewn canlyniad, yr oedd y rhai hyny o honynt a ymsefydlasant yng Nghymru yn bleidwyr i Owain Glyndwr. Felly, y mae yn rhesymol i ni dybied nad oedd gan Iolo Goch unrhyw elyniaeth at y Brodyr Llwydion fel urdd, ond yn unig at y "Brawd Llwyd" hwn o Gaer. Y mae yn debyg iddo wneuthur rhywbeth yn erbyn Iolo, neu un o'i gyfeillion —Hywel ab Madawg, fe allai—yr hyn a ennynodd lid y bardd yn ei erbyn, ac a'i cynhyrfodd i ganu y cywydd canlynol. Yn ol y cywydd, yr oedd y "Brawd" yn wr priod,

er nad oedd goddefiad i fynach nag offeiriad briodi. A gwaeth na hyny, yr oedd yn arwain bywyd anfoesol. Nid ydyw y cywydd ar ei hyd amgen na difriaeth bersonol isel; ac ni fuasai Iolo yn fwy anghyfrifol yn ein golwg pe heb ei gyfansoddi. Y mae cryn lawer o hono yn lled anhawdd i'w ddeall, ond, dichon y bydd o werth eto i ieithyddwyr y dyfodol.

Howell urddedic *howalch*[1] hoywalch
Am hadoc[2] Aberthoc balch
Mwy wrth garriad lle kad kost
O adda dalm a wddost[3]
No neb godineb nid oes
Genyd ond serchoc[4] einioes
Ti a gwynaist tec *iownaer* ener
Wrthyf am liw *nydd* vynêr[5] ny
Ar kwyn tau di rrif rrygoeth
Yw r kwyn mau vine Ior koeth[6]
llid addyrn lled a wddost
llymar kwyn terwyn pand tost[7]

[1] "Urddedig haelwalch," gyda "hoywalch" ar y myly ddalen, yn *Add. MS.*, 14,970.

[2] "Ap Madawg" yn *Add. MS.*, 14,880.

"Ys Madog Ior berthog balch." *Add. MS.*, 14,970.

Y mae "aberthoc" (aberthog) yn gystal a "berthog" yn golygu *cyfoethog*.

[3] "Mwy wrth gariad lle'th cad cost
O addef talm a wyddost."
*Add. MS.*, 14,970.

"O addaw taliesin a wyddost."
*Add. MS.*, 14,880.

[4] "Serchog" yn *Add. MS.*, 14,970; "serthog" yn *Add. MS.*, 14,880.

[5] "Ti a gwynaist teg ener,
Wrthyf un waith warth fy nêr."—*Add. MS.*, 14,970.

[6] "A'r cwyn tan di', ri ryddoeth
Yw'r cwyn mau finnau ior coeth."—*Add. MS.* 14,970.

"Kwyn tau," "kwyn mau"=dy gwyn di a fy nghwyn innau. Hyny yw, yr oedd Hywel ap Madawg, yr hwn a ddysgrifir gan y bardd fel gwr bucheddol a diwair, wedi bod yn cwyno wrtho o herwydd anfoesoldeb y wlad; ac yn awr y mae Iolo yn crybwyll fod ganddo enghraifft o fywyd anfoesol, fel yr ä ym mlaen i ddangos, ym mherson y "Brawd llwyd o Gaer."

[7] "Lled addef llid a wyddost
Llyma'r cwyn dirwyn pand tost."—*Add. MS.*, 14,970.

llin engl a wna r llun Anglaer
llid gwyn y brawd llwyd o gaer
Llwm troednoeth a ddoeth yn ddic
16 Lle roedd wraic llawer eiddic[1]
A mwy o rrianedd y maingk
Mwyaf a gerym i inevaingk[2]
Gwaethaf brawd i bregethu
20 I voes wrth urddol a vu[3]
Nida i nef meddai ef vn
O charrai wr A chorun[4]
Vwch ywr swydd och ar i siad
24 Eiddaw ond gwir a wyddiad[5]
Pan na bai rydd serthydd[6] serch
I urddol wraic neu ordderch
Roed kenad rad ai kynail
28 rydd myn y dydd mewn y dail[7]

[1] "Llwdn troednoeth a ddaeth yn ddig
Lle'r oedd gwraig llawer eiddig."—*Add. MS.*, 14,970.

[2] "A mwyn Rianedd mewn mainc
Mwyaf a gorym ieuainc."
*Add. MS.*, 14,970.

[3] "Gwaetha brawd i bregethu
I f'oes wrth allor a fu."
*Add. MS.*, 14,970.

Ar ymyl y ddalen yn yr ysgriflyfr hwn hefyd ceir "ei foes *in al.*" Dyweyd y mae Iolo na fu yr un gŵr urddedig gwaeth ei foes na hwn yn pregethu erioed.

[4] "Nid ai nef, meddai ef, un
O charai wr a chorun."
*Add. MS.*, 14,970.

Cyfieithir y darlleniad hwn gan y Dr. Pughe (*Geiriadur*, s.v. "Coryn") fel y canlyn:—"There will not go to Heaven (says he) one that shall love a man with a *shaved crown.*"

Offeiriad a feddylir wrth "wr a chorun" = *a tonsured person.* Cyfeiriad at arferiad yr offeiriaid Pabaidd o eillio y coryn fel nôd gwahaniaethol. Yr oedd clerigwyr Pabyddol Cymru, fel yn y dwyrain, yn eillio eu gwallt o'r tu blaen hyd y clustiau, ar lun hanner cylch; a honent iddynt gael y ddefod oddi wrth yr Apostol Ioan. Ond clerigwyr Eglwys Rhufain a Lloegr a eillient goryn y pen, gan adael cylch o wallt, ar lun y goron ddrain a osodwyd ar ben Crist, yn ol fel y dywedent hwy; a haerent iddynt gael y cynllun oddi wrth yr Apostol Pedr; a dirmygent ddull y Cymry gan ddyweyd mai Simon Magus a'i dyfeisiodd (*Giles' note in Beda*, *Bohn's edit.*, p. 160).

[5] "Uwch yw y swydd och iw siad
Iddaw ond gwir a wyddiad."
*Add. MS.*, 14,970.

[6] "Seythydd."—*Add. MS.*, 14,970.

[7] "Rhoed cennad rhaid yw cynnail
Rhydd myn y dydd mewn y dail."—*Add. MS.*, 14,970.

Chwaen hagr gan leidr gorwagvribysc[1]
Chwerw davawd oedd ir brawd brwysc[2]
Cymrud arnaw deu vraw dic
Geibr nedd gobr vn eiddic[3]
Vwrn[4] oer vraw varnu ar vrys
Ar ennaid neb or ynnys
Gwell y peirch gwiw allu pwyll
Duw dad ym dy didwyll
Gwrraic ysgolhaic os gwyl hi
Urddol mwy y gwnair yrddi[5]
Nos a[6] ddywawd y brawd brau
Llwyd o Gaer llidioc[7] eiriau
[8]Na bo gwell hen gawell gwyr
Y darffo ir brawd oer ffwyr[9]

[1] "Gorwag vribysc" = gorwag (*vainglory*), a bribys (*worthless bits*) —un yn ymfalchio mewn pethau gwaelion.

Nid ydyw llin. 29-36 yn *Add. MS.*, 14,970.

[2] "Brwysc" = meddw.

[3] Hyny yw, arferai y "Brawd Llwyd," pan gyhuddid ef o odineb, fyned i dymher led dwym, fel pe yn cael ei gyhuddo ar gam, hyd yn oed pan fyddai y distiau yn cael eu cymhwyso at ei berson gan y gwr drwgdybus.

[4] "Vwrn" = bwrn, pwysau ar y cylla.

[5] "Gwraig ysgolhaig os gwyl hi
Urddol a mwy gwnai erddi."
*Add. MS.*, 14,970.

Wrth "ysgolhaig" yma y golygir *gwr eglwysig*.

Hysbysir ni fod mwy na hanner y clerigwyr Seisonig yn wŷr priod yn nheyrnasiad Harri I.; ond ar ol y ddeuddegfed ganrif, er fod ambell eithriad, gweddwdod oedd y rheol gyffredin; a hyny a orchymynid gan y gyfraith Eglwysig (*Comprehensive Hist. Eng.*, vol. i., p. 496). Ond ymddengys oddi wrth Iolo Goch fod y "Brawd Llwyd" hwn yn meddu gwraig; a'i fod yn gâs wrthi. Yr ydym yn methu cyssoni hyn, pan gofiwn ei fod yn perthyn i urdd ag oedd wedi ymdynghedu i fyw bywyd sengl.

[6] "Y."—*Add. MS.*, 14,970.

[7] "Llidiog."—*Add. MS.*, 14,970.

[8] Rhwng llin. 40 a llin. 41 ceir y pedair a ganlyn yn *Add. MS.*, 14,970 :—

"Mawr o was bras oedd y brawd
O *ddyrnwy* aml ei ddyrnawd
No ohael yn lledrad o chae
A chain ryw rïain warae,"

gyda'r nodyn canlynol gan Iolo Morganwg ar ymyl y ddalen :—"O *ddirnwyf in al.*—i.e., Methodistical pulpit thumping, an old thing, a new practice.—I. M."

[9] "ffwyr" = ymosodiad.

Noi ddal leidr gwyllt gal gwalltgylch
Un kas yn rrodio in kylch[1]
Ai gwfl llwyd mewn gafl llodur
Gynhaic o Seisnic wraic sur[2]
Kri ar wisc kryw ar wasgaeth
Klawr kroen kriwr poen pob peth[3]
Kwthwr pla lle knova llau knawd
Ki keillgam budr kokyllgwd[4]
Ysgrin gwrach vraen aviach vrau
Ysgod hen felgod voelgau[5]
Ystym ar sofl gofl gowen
Ystlys ysgubpys heb penn[6]
Ystwff di hir myn seiriol
Ystyried mevmed moel[7]

[1] "No'i ddal leidr gwylltgal gwallgylch
Un cas mewn rhyw dref o'n cylch."—*Add. MS.*, 14,970.

[2] "Ai gwfl Llwyd mewn gafl lledur
gynsaig o Saesnigwraig sur."
*Add. MS.*, 14,970.

"Cwfl" (*cowl*) ydyw penwisg mynach; ac ymddengys y byddai y "Brawd llwyd o Gaer" yn ei gadw weithiau mewn lle lled ryfedd.

[3] "Cryw ar wisg crau oer osgedd
Clawr croen crewr poen pob hedd."—*Add. MS.*, 14,970.

[4] Yn *Add. MS.*, 14,970 y mae y llinellau canlynol yn cael eu cyfleu ar ol llin. 54 yn y testyn :—

"Cwthr pla lle cnofa llau cnwd
Ci ceillgam bwdr cocyllgwd."

"Kwthwr" = *an excretory orifice.* Defnyddir y gair, er aflaned yw, gan amryw o'r beirdd, megys Dafydd ab Gwilym (*Barddoniaeth*, tudal. 323) :—

"Croch yw'r llais, cryoha' yw'r llethr;
Cwthr bran wan-gân ewingethr.'

[5] "Ysgrin grach fraen sothach frau·
Ysgod hen felgod folgau."
*Add. MS.*, 14,970.

[6] "Ystym ar sofl gofl gywen
Ystlys ystus pys heb penn."
*Add. MS.*, 14,970.

[7] "Ystelff diffaith myn eiriol
Ystyried myhuned moel."
*Add. MS.*, 14,970.

"Ystwff" = *stuff*; "ystelff" = *blockhead*; tebyg mai yr olaf sydd gywir. Y mae "di hir" (dyhir) a "diffaith" yn golygu bron yr un peth -- dyhiryn = *a worthless one.* Y mae "mevmed" yn gystal a "myhuned" yn dywyll i ni, os nad ydynt yn ymgais i osod allan *hunanoldeb*—o "myhunain." Diammeu genym mai "Seiriol," ac nid "eiriol" ydyw y gair priodol ar ddiwedd llinell 55, pryd y cyfeirir at Sant Seiriol, yr hwn a sefydlodd goleg ym Mhenmon, ym Môn, yn y chweched ganrif. Yr oedd yn frawd, yn ol rhai, yn nai, medd ereill, i Einion Frenin.

Nacharrai na vynai verch
Dros i euro o draserch[1]
[2]Pe chaer mab venthic abid[3]
Gan hwn yn dwyn llawn gwyn llid
Gwell o beth y pregethai
No mil o honaw y mai
A chael gan vun loyw lun law
O wy vnder[4] i wradaw
A chael yn lledrad o chae[5]
A chain wiw riain warae
Disdadl athrodwr dwystaer
Dowaid vrawd godlawd[6] o gaer
Beth a holud barkud bedd
Gysgwr[7] ar gam ir gwragedd
Ac ennaid breladied bro
Wynnedd a ffowys ynno[8]

[1] "Na charai na fynnai ferch
Draw erddaw o draserch."
*Add. MS.*, 14,970.

Y mae yn amlwg mai y testyn sydd gywiraf yma; a rhoddir ar ddeall i ni gan y bardd mai nid gŵr yn rhedeg ar ol merched oedd Seiriol.

[2] Y mae llin. 59-72 yn cael eu gadael allan yn *Add. MS.*, 14,970.

[3] "Abid" = gwisg (o'r Seis. *habit*). Dywed Dafydd ab Gwilym (*Barddoniaeth*, tudal. 377):—

"Yr Alarch ar ei wiwlyn,
Abid galch, fal abad gwyn."

Awgryma Iolo pe cawsai y "Brawd llwyd" fenthyg "abid" Seiriol, yn gyffelyb, fel y tybiwn, i'r modd y disgynodd deuparth mantell Elias ar Eliseus, y buasai yn dyfod yn well pregethwr fil o weithiau nag yr oedd.

[4] "Wy vnder" = o fwynder ?

[5] Os ydyw y llinell yn gywir, dynoda eithafrwydd trythyllwch.

[6] "Godlawd" = lled dlawd. Yr oedd y mynachod llwydion, fel y sylwasom, yn cymmeryd y broffes o dlodi.

[7] Ymddengys i ni mai gwall ydyw "Gysgwr" am *dysgwr*—un yn dysgu y gwragedd i gyflawni yr hyn nad oedd yn gyfreithlawn.

[8] Y mae yn anhawdd dyfalu cyssylltiad llin. 71 a 72 â'r llinellau blaenorol. Tybiwn eu bod wedi eu cam gyfleu; ac mai cyfeiriad sydd yma at goleg y Penmon, yn ei gyssylltiad â Sant Seiriol. Dywedir wrthym fod y sefydliad hwn mor boblogaidd fel yr oedd dynion ieuainc o'r cyfandir yn cyrchu yno am addysg, Ac os felly, hawdd ydyw tybied fod y lle yn gyrchfan ieuenctyd Gwynedd a Phowys. Pa fodd bynag, nid ydym yn gweled fod a wnelo y llinellau hyn ddim â'r rhai sydd yn eu blaenori nac yn eu dilyn.

Gwiliwch a gwelwch y gwr
A brys yng val bras iangwr[1]
Gwydn duth ar vn gwadn ai dau
llwyd drwth hen warthol llodrau[2]
Roed vn lusc raid yn i ladd
Ruw dost wr reudus diradd[3]
Roed arall yn raid oerwr
Ffonod yn gardod ir gwr[4]
Drysid tuw ragddaw baw o beth
Drwsa brac dros i bregeth[5]

Iollo Goch ai kant.

[1] "Gwiliwch a gwelwch y gŵr
A brys ing fal bras iangwr."
*Add. MS.*, 14,970.

"Iangwr" = gŵr dilywodraeth. Cynghor sydd yma i wylied yn ddyfal y gŵr aflywodraethus.

[2] "Gwydn deth heb un gwadn na dau
Llwdn heb warthafl anlladau."
*Add. MS.*, 14,970.

[3] "Rhoed un llysg rhaid yn i lladd
Ryw does dwr reidus diradd."—*Add. MS.*, 14,970.

Llysg ("llusc") ydyw gwïalen; a thybiwn mai gwall am *ym* ydyw "yn" yn llin. 77. Os felly, gofyn am wïalen i guro y Brawd Llwyd i farwolaeth y mae y bardd. "Reudus (reidus) diradd" = cyfeiriad eto at ei dlodi a'i haniad isel.

[4] "Rhoed arall rhaid i oerwr
Ffonnod yn gardod i'r gwr."
*Add. MS.*, 14,970.

"Oerwr," o *goer* a *gwr* = gŵr arall, gŵr o'r newydd.

[5] "Dryssid Duw rhagddaw baw beth
Drwssa brag dros ei bregeth."
*Add. MS.*, 14,970.

# XXXIX.

## [CYWYDD I'R BRAWD LLWYD O GAER].

---

*(O Jesus MS., E. 139, p. 361).*

"Kowudd i brawd" ydyw penawd y cywydd hwn yn yr ysgriflyfr uchod, felly, cymmerasom y penawd sydd uwch ei ben yn *Add. MS.*, 14,970. Y mae i'w weled hefyd yn *Add. MS.*, 14,880, ac yn *Glanyrafon MS., K., fol.* 103.

Y mae yn fwy na thebyg mai yr un oedd y "Brawd" y canwyd y cywydd hwn iddo a gwrthddrych y cywydd blaenorol. Yn hwn, gwelir i'r "Brawd" ledaenu rhyw chwedlau am ryw ŵr eglwysig oedd yn lled gyfeillgar â'r bardd, gan ei gyhuddo o odineb. Y mae Iolo yn glanhau ei gyfaill, pwy bynag ydoedd, ac yn taflu y cyhuddiad yn ol. Credwn y gellir ystyried y cywydd hwn fel y mwyaf gwawdlyd o gyfansoddiadau Iolo. Yn ei gyfansoddiadau duchanol ereill y mae yn rhy dafod-ddrwg i fod yn wawdlyd. Ond yn hwn y mae yn cyfeirio at swydd sanctaidd y "Brawd" ar y naill law, a'i ymddygiadau anweddus ar y llaw arall; ac yn eu cyferbynu.

Teg o gynnürch hygürch hardd[1]
taliesin ffraethfin ffrwythfardd
ar garü hoen eira[2] goror
4 gwylan gar marian i mor[3]

[1] "Teg oedd gynnyrch hygyrch hardd."
*Add. MS.*, 14,970.

"Teg oedd gynnyrch hir grych hardd."
*Add. MS.*, 14,880.

"Deg o gynyrch hygyrch hardd."—*Glan. MS.*

[2] "Eiry."—*Add. MS.*, 14,970.

[3] "Lleian gerllaw marian mor."
*Add. MS.*, 14,970.

"Gwylan aer marian mor."
*Glan. MS.*

Penna bardd oedd pan i bai
y brawd sais lwytbais letbai[1]
a ddywod ddrwg o ddeüwerth
am ysgolheigion son serth[2]
ai bregeth bowbeth or beibl[3]
dayog[4] an serchog sürchwibl[5]
gyfrenig[6] drewedig draed
gan fas drygwas or drwgwaed[7]
gydowrach hagr foelgrach fawr
gidwm gwregisglwm grysglawr[8]
moelrhawn byssychlawn sechlodr
mab kleiriach o bwdwrwrach bodr[9]

[1] "Penna bardd oedd pan na bai
po'r brawd Sais llwydbais lledbai."
*Add. MS.*, 14,970.
"Pena bardd oodd peni bai
y brawd sais lwytbais lotbai."
*Glan. MS.*

[2] "A ddewed drwg i ddauwerth
am yscolheigion son serth."
*Glan. MS.*

Yn *Add. MS.*, 14,970, rhoddir y ban hwn ar ol llin. 10: —
"A ddywawd drwg ei ddeuwerth
Am ysgolheigion son serth."

[3] "Bawbeth o'r Bibl."—*Add. MS.*, 14,970.

[4] "Taeog."—*Add. MS.*, 14,970. "Taeog" yma a olyga ei fod o haniad isel = *rustic*, *churlish*, &c.

[5] "Surcharibl" — *Add. MS.*, 14,970; "syrchwibl"—*Add. MS.*, 14,880.
"Surchwibl" = eithafol o sur?

[6] "Gi byrnig" — *Add. MS.*, 14,970; "gi brenig"—*Add. MS.*, 14,880; "gi freinig"—*Glan. MS.* Tebyg mai "ci brynnig" (= brwnt, aflan, &c.) a feddylir.

[7] "Gynfas mab dragwas dryg-waed."—*Add. MS.*, 14,970.
"Gan fas drwg was or dryg-waed."—*Glan. MS.*

[8] "Cedowrach hagr foelgrach fawr
Cidwm gwregysglwm gwrys-glawr."—*Add. MS.*, 14,970.
"Gydowrach hagar foelgrach fawr
gidwm gwregysglwm gris-glawr."—*Glan. MS.*

"Cedor y wrach," yn ol llafar gwlad, sydd enw ar amryw rywog-aethau o lysiau, megys—Burdock (*Arctium Lappa*); Field Horsetail (*Equisetum arvense*); a'r rhywogaeth wenwynig a elwir gan lysieuwyr yn *Solanum somnifera*. Ond defnyddir "Cedowrach" yn fynych gan y beirdd fel enw o sarhâd.

[9] "Moelrhon bysychlon sochlodr
Mab cleiriach o'r bodrwrach
bodr."—*Add. MS.*, 14,970.

gorchymyn hyñ hen glermwnt
a nair brawd aniwair brwnt[1]
ir gwragedd or gwyr ogan[2]
rhag i ffeiriaid glwysiaid glan[3]
[4]pwy a geisiai ni nai neb
o wyrda aniweirdeb
anian i korff ai vnig
i greū plant geiriaū plig[5]
i amlhaū emyl heol
pobl būd anwy būd ynol[6]
[7]gogan bychan heb achos
oedd i rhiain dylysfain dlos[8]
nid amod gwybod mewn gwad
gorff aūr / garū offeiriad[9]
[10]diddarbod iawn dy dderbün
gen ddüw er i fod gan ddün[11]

[1] "Gorchymyn hên hen glermwnt
A wnai'r brawd anniwair brwnt."
*Add. MS.*, 14,970.
"Clermwnt" = cerddor, clerwr, prydydd gwibyrnellog.—Gwel *Geir. Cymraeg*, D. Silvan Evans.

[2] Yn *Add. MS.*, 14,970, darllenir:—"I'r gwraig o'r gwir ogan," gyda "Yr ai gwraig er *in al*." ar ymyl y ddalen.

[3] "Rhag offeiriaid glwyssiaid glân."—*Add. MS.*, 14,970.
"Rrag yffeiriaid glwysiaid glan."—*Glan. MS.*

[4] Nid ydyw llin. 21-22 yn *Add. MS.*, 14,970.

[5] "Anian y corph ai ynni
Yw creu plant meddant i mi."—*Add. MS.*, 14,970.
"Anian y korff ai unig
i greu y plant geiriau plig."
*Glan. MS.*

[6] "Pobl byd anwylyd yn ôl."
*Add. MS.*, 14,970.
"Pobol fun anwyl yn ol."
*Glan. MS.*

[7] Yn *Add. MS.*, 14,970 y mae llin. 27-30 yn dilyn llin. 20.

[8] "Oedd i riain dlysfain dlos."
*Add. MS.*, 14,970.
"Oedd ir rriain dlysfain dlos."
*Glan. MS.*

[9] "Gorffan ar garu 'ffeiriad
Nid ammod glybod mewn gwlad."
*Add. MS.*, 14,970.
"Nid amod gwybod mewn gwlad
Gorff aur garu yffeiriad."
*Glan. MS.*

[10] Nid ydyw llin. 31-34 yn *Add MS.*, 14,970.

[11] "Diddarbod iawn didderbyn
gan dduw er i bod genddyn."
*Glan. MS.*

uchel air yw gradd y ffairiad[1]
achos düw maen üwch ystad
am hyn yn wir / feinir füdd
i gelwir[2] yn ddigelwudd
ifan[3] degan fendigaid
yffeiriad i dad ai daid[4]
beth oedd yntau goraü gwr[5]
ifan[6] diddan fedyddiwr
mab hoffair o gorff ffairiad
ffwrdd i doeth un ffordd ai dad[7]
tad doeth gwnan a noethan
oedd esgob mewn kadargob kain[8]
tecka[9] esgob o bob iaith
oedd dad glan elian[10] eilwaith
[11]ni liwir[12] yn oleuad
i neb odineb i dad

[1] Fe welir fod *air* uwch ben *yw*, ac *i* hefyd uwch ben yr *y*; ond y mae nodyn (*dot*) dan yr *i* yn ei dileu. Yn *Glan. MS.* darllenir :—"Uchel yw gradd y ffeiriad."

[2] "Am hynn yn wir feinir fydd
Y gelwir yn ddigelwydd."
*Add. MS.*, 14,970.

[3] "Ieuan."—*Add. MS.*, 14,970.

[4] "Yffeiriad ei dad a'i daid."
*Add. MS.*, 14,970.

[5] "Beth yntau ail gorau gwr."
*Add. MS.*, 14,970.
"Beth oodd y mab gorau gwr."
*Glan. MS.*

[6] "Ieuan."—*Add. MS.*, 14,970.

[7] "Hoff wr o gorff yffeiriad
Hyrdd a doeth un ffordd ai dad."—*Add. MS.*, 14,970.
"Mab hoff o gorff yffeiriad
Hardd a doeth un ffordd ai dad."—*Glan. MS.*

[8] "Tad doeth Gwynog a Noethan
Oedd Esgob mewn cadrgob cann."—*Add. MS.*, 14,970.
Gwynog a Noethan (neu Nwython) oeddynt ddau Sant a flodeuent yn y chweched ganrif. Meibion oeddynt i Gildas y Coed Aur. Yr oedd dau gapel wedi eu sylfaenu ganddynt yn agos i eglwys Llangwm, Sir Ddinbych; ond trowyd hwynt un yn felin, a'r llall yn odyn (*Geir. Cen. Cymru*, cyf. ii., tudal. 367).

[9] "Penna."—*Add. MS.*, 14,970.

[10] Elian Ceimiad.—Gwel Cywydd Rhif XXVIII., llin. 49.

[11] Nid ydyw llin. 47-50 yn *Add. MS.*, 14,970. Cyfieithir llin. 47-48 gan y Dr. Pughe (*Geiriadur*, s.v. "Godineb") fel y canlyn :—"Nobody will be reproached in public with the adultery of his father."

[12] "Ni liwir" = ni edliwir.

ni ddwg mab arab o roen[1]
baych i tad[2] am bechod hen
am hyn̄ yn wir gore sir saint[3]
i gofreinia gwyr ünfraint[4]
o cheisir kred a bedvdd
rhaid yw i ffeiriad a ffvdd[5]
swydd i ffeiriad tad ai twng
gallü rhwymaw a gollwng[6]
dyn addel dan i ddwylaw
er a nel o del kyn i daw[7]
madde[8] gweithred a meddwl
a diffodi kyledi kwl[9]
o chaiff gymyn[10] a chyffes
fo a i nef a fo nes[11]
[12]ag ef o daf i gyfiwch
ni wyr kythrel trafel trwch
nid oedd gym̄aint[13] braint i brawd
ai feddiant ag a ddyfawd[14]

[1] "Aren."—*Glan. MS.*

[2] "Baich y tad."—*Glan. MS.*

[3] "Am hynny'n wir medd Sir Saint."—*Add. MS.*, 14,970.

[4] "Y gwir freinia gwyr unfraint."—*Add. MS.*, 14,970.
"I goreinia gwyr unfraint."
*Glan. MS.*

[5] "O mynnir cred a bedydd
Mae'n rhaid yffeiriad y fydd."
*Add. MS.*, 14,970.
"O cheisi kred a bedydd
rraid yw yffeiriad a ffydd."
*Glan. MS.*

[6] "Swydd yffeiriad tâd ai twng
Gallu rhwymaw a gollwng."
*Add. MS.*, 14,970.

[7] "Dŷn a ddel dan ei ddwylaw
Am a wnel cyndel o daw."
*Add. MS.*, 14,970.
"dyn addef dan i ddwylaw
or a nel o del dyn i daw."
*Glan. MS.*

[8] "Maddeu."—*Add. MS.*, 14,970.

[9] "Diffodi caledi cŵl."
*Add. MS.*, 14,970.
"A diffodi kledi kwl."
*Glan. MS.*
"Cwl" =*fault; blame; crime; wrong*, &c.

[10] "Gymmun."—*Add. MS.*, 14,970.

[11] "Ef ai i nef a fo nes."
*Add. MS.*, 14,970.
"fo af i nef a fo nes."—*Glan. MS.*

[12] Nid ydyw llin. 63-64 yn *Add. MS.*, 14,970.
Y mae *r* mewn llaw ddiweddar wedi ei hysgrifenu mewn inc coch uwch ben y gair *gyfiwch*—*gyf*r*iwch*.

[13] "Gymmaint." — *Add. MS.*, 14,970.

[14] "Ai faddeuant i ddyfawd."
*Add. MS.*, 14,970.
"ai ddefiant ag a ddyfawd."
*Glan. MS.*





ag nid teilwng gollwng gwyll
ni wyr ym hoene eryll[1]
na bedyddio bodd diddim
a nardd radd ni wyr e ddim[2]
mwy no mwdwl moel madarch[3]
moeswch i mwy is no march[4]

Iolo Goch ai kant.

[1] "Ni wyr gymmunaw eryll."
*Add. MS.*, 14,970.

[2] "Na bedyddio bo diddim
Ni wyr Dduw a wyr e ddim."
*Add. MS.*, 14,970.

Yn ol y darlleniad hwn, tebyg mai fel hyn y dylid ei ddeall :—"Ni ŵyr [*am*] Dduw : a ŵyr ef ddim ?"

"Na bydyddio bo diddim
Anardd oedd ni wyr e ddim."
*Glan. MS.*

[3] "Mydarch"—*Add. MS.*, 14,970, a *Glan. MS.* Madarch = bwyd llyffant (*toadstool*). "Bwyd llyffant," neu "gaws llyffant," a ddywedir yng Ngwynedd, a "madarch" yn Sir Forganwg.

[4] "Moes moel mwy a ys no march."—*Add. MS.*, 14,970.

"Moeswch mwy a us no march."—*Glan. MS.*

## XL.

## CYWYDD I HERSDIN HOGL.

---

*(O Lyvr Huw Lleyn—Add. MS., 14,967, fol. 34b).*

Y mae y cywydd hwn i'w weled hefyd yn *Add. MSS.*, 14,964, 14,970, a 14,986; ac yn *Jesus MS.*, E., 139, p. 227. Ac yn benawd iddo yn *Add. MS.*, 14,970, ceir "Cywydd i Hersdin Hogl, o arch Ithel Ddu o Leyn." Nid ydyw hwn yn *Glanyrafon MS.*, B., fel y camddywedir yn tudal. 79, uchod.

Y mae ein nodiadau o flaen Cywydd Rhif XLI. yn dangos pwy a feddylir wrth "Hersdin Hogl," sef ei bod yn fam i Gruffydd Gryg. Yr hyn sydd yn ein synu ydyw, os oedd "Hersdin Hogl"—yr hyn nid ydyw wedi'r cyfan ond enw o waradwydd—mor dlawd ag y dywed Iolo ei bod, pa ham yr oedd y bardd yn gwastraffu geiriau i waradwyddo cymmaint arni. Gwelir yn nechreu y cywydd i'r bardd ei gyfansoddi ar gais Ithel Ddu, yr hwn a ddysgrifir gan rai fel "o Fôn," a chan ereill fel "o Leyn;" ac yn erbyn hwnw yr oedd yr hen wreigan hon wedi pechu. A chanu dros Ithel Ddu, yr hwn oedd fardd ei hun, y mae Iolo yma. Y mae yn rhaid fod "Hersdin" wedi bod yn euog o ryw bechodau mwy na'r cyffredin, gallem dybied, cyn y buasai Iolo yn defnyddio iaith mor eithafol o waradwyddlyd am dani—a hithau wedi marw. Ond yr amcan mewn golwg, yn ddiau, oedd ceisio dolurio teimladau ei mab. Yn un o gywyddau Dafydd ab Gwilym i Gruffydd Gryg (*Barddoniaeth*, tudal. 256) ceir y llinellau canlynol:—

"Yno cad, oerfad yrfa,
Mab cryg, nid mewn diwyg da;
Gruffydd liw dewrudd dirwd,
Molld y cwn, fab Malld y cwd.
Gwraig i Gleision Uwch Gonwy,
Gwn, gwn! pam na wypwn pwy?"

Y mae gan Madog Dwygraig (*Myv. Arch.*, p. 324) dychangerdd "I Ferch," yr hon a eilw yn "Mallt ferch Ddafydd," "Mallt bibled," "Maallt wael," "Maallt buttain," &c. Ac o gymharu yr enwau hyn â'r llinellau uchod gan Dafydd ab Gwilym, yn gystal a'r cyfeiriad at Madog Dwygraig, gan Iolo Goch, yn Cywydd Rhif XLI., llin. 47-48, tybiwn mai at yr un y cyfeirir ganddynt oll; ac mai Mallt oedd gwir enw "Hersdin Hogl." Ond, pwy bynag ydoedd, druan, y mae Iolo yn ei thrin yn erwin.

Ithel ddu ith alw y ddwyf
Athrodwr beirdd uthr ydwyf[1]
Athror gerdd ith roir ar gant
Etholwalch beirdd ith alwant[2]
A thra da wyd ni thry dyn
A theuluwr iaith Leyn[3]
Erchaist i vardd[4] orchest vawr
Arch afraid kyn eiry chwefrawr
Goffau giau ffiaidd[5]
Gychwraic ymddanheddwraic haidd[6]
Herstin Hogl ar arogl oer
Henllodr vigyrnbodr garnboer[7]

[1] "Ithel ddu ith ol i ddwy
Athrodwr beirdd uthr ydwy."
*Jes. MS.*

"Ithel Ddu at dy alw—neu yn ol dy gais—yr wyf," o bosibl a feddylir.

[2] Nid ydyw llin. 3-4 yn *Jes. MS.*; ond darllenant fel y canlyn yn *Add. MS.*, 14,964:—

"Athro'r gerdd ith wyr ar gant
Etholwalx Beirdd ith alwant."

[3] "A thra da iawn athro dyn
A thalwriaeth ith ddilyn."
*Jes. MS.*

[4] "I feirdd."—*Jes. MS.*

[5] "Goffau i giau ffiaidd."
*Jes. MS.*

[6] "Gn$^{n}_{y}$xwraig ymddanhedd-wraig haidd."
*Add. MS.*, 14,964.

"Katturwraig dan heddwraig haidd."—*Jes. MS.*

[7] "Hersdin hogl ar arogl oer
Henllodr figy$^{rn}_{m}$lodr g$^{o}_{a}$rn-boer."
*Add. MS.*, 14,964.

"Herstin hogol arogl oer
Henllodr figynbodr garn-boer."—*Jes. MS.*

Y mae y llinellau uchod mor llawn o eiriau cas, edliwiol, ac anarferedig, fel y byddai yn orchwyl anhawdd, yn gystal ag afreidiol cynnyg eglurhad arnynt.

Mae ni hun nid mwyn i haint
Du daerwrach dew i derwraint[1]
Mahelltyn gevryn heb gic
Main groen neidr min grynedic[2]
Merch rwsel hen sorel soeg
Gwrach vresychkach vrau sechgoeg[3]
Raid ynn gyda hynn gadw had
I vurnio iddi varwnad[4]
Pa ham Ithel ddinam ddu
O bai[5] raid iddi brydu
Venaid ym na ddanvonud
Vessur i throed vos roth ddrud[6]
Tra vair esgyrn[7] kyrn karn ffoll
A giau du i gyd oll[8]

[1] "Mae ni hun nid mwyn i haint
Du daerwrax dew i dew-raint."—*Add. MS.*, 14,964.

"Mae ym fy hun yn vn haint
dwy daerwraig dew i der-wraint."—*Jes. MS.*

[2] "Mahelldyn gefryn heb gig
Mae'n groen neidr min gryn-edig."—*Add. MS.*, 14,964.

"Meindin gethrin heb gig
mein groen neidr min gryn-edig."—*Jes. MS.*

Nid ydym yn cael y fath air a "mahelltyn" yn ein geirlyfrau. Buasai synwyr yn "meindin gefryn." Hwyrach fod "mahelltyn" yn gyfystyr â mollt (*wether*)—lluosog, "myllt."

[3] Y darlleniad yn *Add. MS.*, 14,970, ydyw :—

"Merch Rhwsel hen sorel soeg
Gwrach fresychgach frau sech-goeg,"

gyda y nodyn a ganlyn gan Iolo Morganwg ar ymy y ddalen :—"Sorel yw arogl mewn rhai mannau yn y Deheudir. I.M."

"Merch rossol sorel y soeg
henwrach ffryssych gach sechgoeg."—*Jes. MS.*

[4] "Rhaid yn gwedu hyn gau iad
fyrnio iddi ddwy farnad."
*Jes. MS.*

[5] "Ba"—*Add. MS.*, 14,964, a *Jes. MS.*

[6] "F'enaid im na ddanfonwyd
Fesur i throed fos roth ddrud."
*Add. MS.*, 14,964.

"fenaid pam na ddanfonud
fesur i throed fos rhwth rud."
*Jes. MS.*

[7] "Tra fae hesgyrn."—*Jes. MS.*

[8] "Ar giaü dü i gid oll."
*Jes. MS.*

[1]Nid hawdd kael gwawd barawd bur
Yn apsen gwilff[2] wynebsur
[3]Gwnawn yn hoff i dydd[4] koffa
Pes gwelswn a ffwn[5] o ffa
Minau y sydd meinwas wyf
Voly gellast val i gallwyf[6]
Gwedy naddu gwadn iddi
Enw heb senw wrth ei henw hi[7]
Pader i honn pwy ydoedd
Poed ar awr dda pydru ddoedd[8]
[9]I grybwyll hers gefn gribin
Grepach hogl grach ar hegl grin[10]
Henddyn vam wyddelyn wefr
Hers dinroth haer estynrefr [11]

[1] Yn *Jes. MS.* y mae llin. 27-28 yn dilyn llin 36 ; ac yn eu lle yma ceir : —

"Tra fae ddyll oi hesgyll hi
Wrth i gilydd arth guli."

[2] "Yn absen gwilff."—*Add. MS*, 14,970. Defnyddir "gwilff" fel enw arall ar *gaseg*, yn gystal ag ar *fenyw anniwair*; ond diammeu mai yn yr ystyr olaf y mae i'w gymmeryd yma. Ai tybed fod merched anniwair, fel rheol, yn wynebsur? Arferem feddwl yn wahanol.

[3] Y mae llin. 29-32 yn cael eu gadael allan yn *Jes. MS.*

[4] "I ddydd."—*Add. MS.*, 14,964.

[5] "Phwn"—*Add. MSS*, 14,964, a 14,970.

[6] "Minnau y sydd meinwas wyf
Foly gellast dal y gallwyf."
*Add. MS.*, 14,964.

"Minnau y dydd meinwas wyf
Foly gellast fal y gallwyf."
*Add. MS.*, 14,970.

Moli (gwawdio) "gellast" ( = iyrchast = *buckhound-bitch*).

[7] "Gwedu naddu r gwadan iddi
Enw heb senw yw henw hi."
*Jes. MS.*

[8] "Pader i hon pmvy ydoedd
Poed ar awr dda pydru ddoedd."
*Add. MS.*, 14,964.

"Pader iddi pwy ydoedd
Poed ar awr dda pydru ddoedd."—*Jes. MS.*

[9] Yn *Jes. MS.* y mae llin. 37-40 yn dilyn llin. 20.

[10] "I grybwyll her gefn-gribin
Grepach hogl grach a'r hegl grin."—*Add. MS.*, 14,964.

"Grybwyll i hen gefn gribin
henwrach heglgrach hogl-grin."—*Jes. MS.*

[11] "Henddyn fam wyddelyn wefr
Herstinroth haer estynrefr."
*Add. MS.*, 14,964.

"Henddyn mam wyddelyn wefr
Hers donwrach hir ysdyn-refr."—*Jes. MS.*

Ar ymyl y ddalen yn *Add. MS.*, 14,970, yn yr hwn y ceir darlleniad

Haeru maent i bod hirhynt
Yn oes hen Geridwen gynt
[1]rrefr grach gwedy rrifai'r grib
Hevis hydraethbis droeth bib[2]
[3]Ryswraig gynhaig gwn ei haingk
Ysowin vowdgrin vwyd graingk
[4]Blif anigrif eneugrest
Blotta gwlana gwera gwest[5]

cyffelyb i'r blaenaf, eglurir "haer" yn y llinell olaf fel y canlyn :—"*Haer*, used in the same sense as in Glam. i.e., the same as *taer*." Ond os ydyw y *Jes. MS.* yn gywir wrth roddi "hir"—fel y tybiwn ei fod—y mae eglurhad Iolo Morganwg yn ddiwerth.

[1] Yn *Jes. MS.* y mae 43-44 yn dilyn llin. 40.

[2] "Rhefr gwrach gwedi rhifai'r grib
Hefis hydraeth bis droeth-bib."—*Add. MS.*, 14,964.
"Rhefr grin wedu rhifor grib
Henfis wyll droetbis draet-bib."—*Jes. MS.*

[3] Yn *Jes. MS.* y mae llin. 45-46 yn dilyn llin. 76, gyda dwy linell o ychwanegiad :—
"Rhyswraig kynhaig kwn ai hank
rhyswin fowdgrin fwyd grank
i ddiawl oedd o heni ddun
I ddiawl ynte wyddelun."

[4] Yn *Jes. MS.* y mae llin. 47-54 yn dilyn llin. 64.

[5] "Blif annigrif eneugrest
Blowtta gwlana gwera gwest."
*Add. MS.*, 14,970.
"Rhif anigrif eneugrest
Blotta gwlan° gwera gwest."
*Add. MS.*, 14,964.
"Llif anigrif anwy greest
blotta gwlana gwera greest."
*Jes. MS.*

Rhydd y Dr. W. O. Pughe ddyfyniad o ddarlleniad cyffelyb i eiddo *Add. MS.*, 14,970, gyda'r cyfieithiad a ganlyn o llin. 47-52 :—
"A catalogue not very diverting to the scabby lip: *to gather meal*, to gather wool, to gather tallow, and drink, to beg cheese, to beg meat, which causeth the smacking of her lips: most hateful article, she craves for every thing; many the loads on her spotted arm."

Cyfeiria un o ohebwyr *Bye-Gones* (Nov. 21, 1894) at arferiad hen wragedd o fewn cof iddo ef a elent oddi amgylch mewn rhanau neillduol o Ogledd Cymru i gardota; y rhai fyddent yn myned ar eu cylchoedd i gardota gwlan, gwenith, neu ryw nwydd arall, yn ei dro. Cyfeiria at y llinellau hyn o eiddo Iolo Goch, fel dysgrifiad o'r arferiad, a chyfieitha hwynt fel y canlyn :—
"Grotesque knots of old shrivelled mouths
Go begging flour, wool, fat, to houses,
Begging cheese, meat, with smooth words,

Kowsa kika min koketh
Kasa pwngk keissio pob peth[1]
Llawer kydaid hen wenith
Llawer baich ar ei braich brith
Llawer dryll kig selsig sail
A chosyn dan ei chesail[2]
Llawer gwäell[3] lliwir iw gwedd
A dynai hi ai dannedd
Gwaer mab gwedy gwyror min[4]
A golles Diefles diflin
[5]Nos y rhwymwyd dorglwyd dón
Ai devraich ar ei dwyfron[6]

Hateful work, they seek everything;
Many a bagful of old wheat,
Many things in the burden on their gray arm."

Dywed y gohebydd dan sylw, yr hwn sydd yn hynafiaethydd adnabyddus, i'r arferion cardotäol hyn fyned yn llai cyffredin yn fuan ar ol y flwyddyn 1845, pryd y sefydlwyd cyfundrefn newydd o addysg ym mhlith y werin.

[1] "Cawsa cicca mincocceth
Casa pwnc ceisio pob peth."
*Add. MS.*, 14,970.
"Kawsa kigka min kogketh
kassa pwnk, keisio pob peth."
*Jes. MS.*

[2] "Llawer dryll cig selsig sail
A xosyn dan ei xesail."
*Add. MS.*, 14,964.
"Llawer ddryll kig selsig sail
a chossyn yn ei chessail."
*Jes. MS.*

"Selsig"=*pudding, sausages.*

[3] "Gwäell [y goes]=*the spindle-bone of the leg.*

Cyfeirir yma at y dull afiednais o gymmeryd asgwrn rhwng y bysedd gan grafu y cig sydd arno â'r dannedd.

[4] "Gwae'r mab gwedi gwyro'r min."—*Add. MS.*, 14,964.

[5] Yn *Jes. MS.* y mae y llinellau o 59 hyd 69 yn dilyn llin. 28.

[6] "Nos y rhwymwyd dorglwyd donn
Ai deufraich ar ei dwyfron."
*Add. MS.*, 14,970.
"Nos y rhwymwyd dorglwyd don
Ai dau fraix ar ei dwyfron."
*Add. MS.*, 14,964.
"Y nos rhwymwyd torklwyd tron
Ai deufraich ar i dwyfron."
*Jes. MS.*

Golyga "dorglwyd" *glwyden orchuddiedig*; a *gorchudd* ydyw "don." Cyfeirir yma at "roddi allan," neu "ddiweddu," y corff trwy ei osod ar estyllen a gorchudd drosto, yn flaenorol i'w roddi mewn arch. Arferir yn bresennol, yn rhai manau, o leiaf, rwymo dwy fawd, ereill ddau arddwrn, y trengedig pan yn ei "ddiweddu," fel ag i ddal ei freichiau yng nghyd; a thrwy

Y bur wrach mewn berwa wrysg
A fflok aml a fflwy kymysg[1]
Ynghwr bwth anghywair baw
Ai gwaling yny gwiliaw[2]
Roed ysgrin[3] ar hyd ysgrwd
Rull[4] gyrchgas rrhwyll[5] gywarchgwd
A rrwyd vawr a rryd i fam
Ryw drasgl vynwes gasgl goesgam[6]
[7]rrag gweled rrwyg i gwilhers
A chanv had uwch noi hers[8]

hyny y mae y ddwy fraich yn cael eu hestyn ar eu hyd ar y corff gan gyfeirio at y traed, y rhai hefyd a rwymir yng nghyd. Ond oddi wrth y llinellau uchod gallem dybied mai yr hen arferiad oedd rhwymo y breichiau ar draws y ddwyfron fel ag i wneyd llun croes.

[1] "Y bu'r wrach mewn berwa wrysg
A ffloce aml a phlwy cym̃ysg."—*Add. MS.*, 14,970.

"Y bu'r wrax mewn berwa wrysc
A ffloc aml a phlu cymmysc."
*Add. MS.*, 14,964.

"A bwrwr hwch mewn berfa wrysg
ai fflock aml ai fflu kymysg."
*Jes. MS.*

Dysgrifiad a geir yma o'r gwely ar yr hwn y rhoddwyd ei chorff i orwedd.

[2] "Ynghywir bwth anghywir baw
Ai gwaling yn ei gwiliaw."
*Add. MS.*, 14,970.

"Ynghwr bwth anghywain baw
Ai gwaling yn ei gwiliaw."
*Add. MS.*, 14,964.

"Ynghwrr bwth anghowir baw
A gwialing ny gwiliaw."
*Jes. MS.*

"Gwaling" = torllwyth; ond yn golygu ei *phlant* yma. Cyfieithir y llinellau hyn gan y Dr. W. O. Pughe fel hyn:—"In one corner of an untidy hut with her *litter* keeping her vigils."

[3] "Rhoed ysgrin"—yn y llyfrau ereill: "Ysgrin" yw yr enw cyffredin am *arch* yn rhai manau—yn Sir Drefaldwyn, er enghraifft.

[4] "Rhyll."—*Add. MS.*, 14,964. Rhyll = agoriad (*cleft*).

[5] "Rhwyll"—yn y llyfrau ereill.

[6] "A rhwyd fawr ar hyd i fam
Rhyw drasgl fynwesgasgl goesgam."
*Add. MS.*, 14,970.

"A rhwyd fawr ar hyd ei fam
Ryw drasgl fynesgasgl goesgam."—*Add. MS.*, 14,964.

[7] Yn *Jes. MS.* y mae llin. 69-70 yn dilyn llin. 46.

[8] "Rhag gweled rhwysg i gwilhers
A chanu hâd uwch noi hers."
*Add. MS.*, 14,970.

"Rhag gweled rhwyg y gwihers
A xan had yn uwx noi hers."—*Add. MS.*, 14,964.

Buwch ffol ni bu vwch ei ffenn
O ffurf gael un efferenn[1]
Nac offrwm widdom gevffrom
Na ran na lluman wyll lom[2]
Eithr hutffat a throedffust
Odid o chlywid a chlust[3]
Alw yngwynedd long anoff
Gyvryw glul ar ol gavr gloff[4]
I gwlan ai chwppan ai chap
Ai deuglaf yn rhoi dwyglap[5]
[6]rranodd ei blawd ai rhynion
I gler ai ffiner ai ffon[7]

" Na wnai i rhan fowrnwy hi
I harwyl arth glun heri
Rhag gweled rhwyg i gwilers
A chnu i had yn uwch noi hers."—*Jes. MS.*

" Gwilhers " = neidio (*romp*): Dywed y bardd fod Gwyddelyn yn gorchuddio corff ei fam, a da hyny; onide, y buasai yn crychneidio yn uwch na'i " hers." Ai wrth " hers " yr ydym i ddeall elorgerbyd (*hearse*)? Tybed fod y fath gerbyd wedi dyfod i arferiad y pryd hwnw? Prin y gallwn gredu. Diammeu mai cyfeiriad sydd yma at yr "elorfeirch" (*horse-bier*), yr hon oedd yn arferedig hyd ddechreu y ganrif bresennol.

[1] "Buwch ffol ni bu uwch ei phenn
O ffurf gael un offeren."
*Add. MS.*, 14,970.
" Buwx ffol ni bu o uwx ei phen
Offurx gael un offeren."
*Add. MS.*, 14,964.

Yr oedd Hersdin Hogl mor ddirmygus, fel y claddwyd hi heb fyned trwy y gwasanaeth arferol ar y fath achlysur.

[2] " Nag offrwm widdom gauffrom
Na rhanu na lluman wyll lom."—*Add. MS.*, 14,970.
" Nac offrwm widdon geuffrom
Na rhan na lluman ŵyll lom."
*Add. MS.*, 14,964.

"Widdom" (=gwiddon?) = gronynau pydredig.

[3] Yn *Jes. MS.* y mae llin. 75-76 yn dilyn llin. 86 fel y canlyn :—
" Odid o chlowid a chlust
Uthr i thry ffed ai throedffust."

[4] " Alw yng Ngwynedd long anhoff
Gyfryw glul ar ol gafr gloff."
*Add. MS.*, 14,970.
" Alw yn Gwynedd long anoff
Gyfryw glul ar ol gafr gloff."
*Add. MS.*, 14,964.

[5] " A gwlun o'i chapan ai chap
Ai deuglaf yn rhoi dwyglap."
*Add. MS.*, 14,964.

[6] Yn *Jes. MS.* y mae llin. 81-86 yn dilyn llin. 54.

[7] " Rhannodd ei blawd ai rhynnion
I glêr, ai phiner ai ffonn."
*Add. MS.*, 14,970.

Ai chynvas ai chrys bras brau
Ai chae latwm ai chlytiau[1]
Ai chunoc laeth ai chwynogl
Ai chwd hersdin hwgwd hogl[2]
oi blaen y bu oleuni
Yn vn wers wrth i hers hi
A gweddio gwiw ddwyen
Gida hi safn gevdy hen[3]
[4]Gwain gweirfforch gwaneg oerffwyr
Gwae ni i marw hi mor hwyr[5]

Iolo ai kant.[6]

---

"Hanner i blawd a rhynnion
rhwng kler ai ffinner ai ffon
ai ffunen hen ai ffon hi
ai byrwy ai mail boeri."

*Jes. MS.*

Ymddengys i ni mai "Rhanner ei blawd," &c., sydd gywir.

[1] "Ai chanfas ai chwd bras brau
Ai chae lattwm ai chlytiau."

*Jes. MS.*

"Cae latwm" = modrwy bres.

[2] "Ai xunog laeth ai xwynnogl
Ai xwd Hersdin hwgwd hogl."

*Add. MS.*, 14,964.

"Ai chynog laeth ai chwiogl
Ai chwd Heradin hwgwd hogl."—*Jes. MS.*

Nis gwyddom beth yw "chwiogl," ond wrth "chwynogyl" y golygir offeryn i chwynu—*a hoe*—yr hwn, yn ol Cyfreithiau Hywel Dda, oedd yn werth ffyrling.

[3] "A gweddio gwyn ddwyen
Gyda hi safn geudy hen."

*Add. MS.*, 14,964.

[4] Yn *Jes. MS.* y mae llin. 91-92 yn dilyn llin. 70.

[5] "Gwain gweirffort gwaneg orffwyr
Gwae ni ei marw hi mor hwyr."—*Add. MS.*, 14,964.

"Gwain gweirfforch gwaneg oerffwyr
Gwae ni ei marw hi mor hwyr."—*Add. MS.*, 14,970.

"Gwain gweirfforch gwaneg orffwyr
Gwae ni marw hi mor hwyr."

*Jes. MS.*

"Gwae ni," a feddyliai y bardd, "na buasai wedi marw yn gynt." Cyfieithir y llinellau gan y Dr. Pughe (*Geiriadur*, s.v. "Gorffwyr") fel y canlyn:—"Dividing like a hay-fork with a gait *most impetuous*, woe to us that she should have died so late."

Iolo

[6] Yn yr ysgriflyfr ceir "Guttyn Owain ai kant," ond y *Guttyn Owain* wedi ei groesi allan gan y copïwr ei hun, fel yr ymddengys; ac yna ysgrifenodd *Iolo* uwch ei ben.

Fel y sylwasom eisoes (tudal. 82), i Gutyn Owain y priodolir y gwaith o gopïo ysgriflyfr ein testyn. Hwyrach y dadleuir nad ydyw hyny yn debyg, gan iddo yma, yn gystal a manau ereill, ysgrifenu ei enw ei hun fel awdwr, ac yna ei gywiro drachefn; yr hyn, ar un olwg, sydd yn dangos ansicrwydd yng nglŷn â'i awduriaeth. Ond gellir ateb, mai lled hawdd gan ddyn, pan yn gohebu dros arall, heb arfer cryn ofal, ydyw rhoddi ei enw ei hun ar y diwedd. Y mae yn yr ysgriflyfr hwn yn unig 45 o ganiadau o waith Gutyn Owain; felly, ar ol ysgrifenu ei enw mor fynych, yr oedd yn hawdd iddo lithro i arwyddo ei enw ei hun wrth waith arall.

Yn *Add. MS.*, 14,986, ceir "Iolo Goch 1400" ar ddiwedd y cywydd; ond ni ddylid rhoddi dim pwys ar yr amseriad hwn.

---

# XLI.

## CY[WYDD] DUXAN GWYDDELYN MAB HERSDIN HOGL— LLYFR P. PANTON.

(*O'r Add. MS., 14,964, fol. 68b*).

Ceir y rhan olaf o'r cywydd hwn—sef o llin. 31 i'r diwedd, yn *Bodleian MS., e. 2*, pp. 267-9. Ar ddiwedd y cywydd, yn y testyn, dywedir fel hyn:—"Gwyddelyn oedd Gruffud Grug. Gwyddelyn marx cregyn cryg medd Iolo Marnd. Ithel Ddu." Yn yr *Iolo MSS.*, p. 95, ceir yr hanes a ganlyn am Gruffydd Gryg:—

"Gruffudd grug, Ym Mhenmynydd Mon Prydydd gwybodus ac awenbell oedd efe, ac efe a fu yn ymgytgan a Dafydd ap Gwilym am ferch ym Môn a honno yn un a garai Ruffudd; a myned yn gas rynddynt, a brodyr Priordy Gwynlliw a ddanfonasant wr A llythyr i Fôn a Ddywedai i Ddafydd ap Gwilym farw, Yna Gruffudd a wnaeth Farwnad iddo ar gennad ar ei ffordd i fon wedi danfon gair i Ddafydd bod Gruffudd wedi marw ac yn ol ei Ddymuniad iddei gladdu yn mynwent Ystrad Fflur; lle y dywespwyd wrth Ruffudd y Cleddit Dafydd ap Gwilym; ag enwi'r un diwarnod claddu y naill ar llall, Aeth Dafydd yno, a marwnad Gariad i Ruffudd Grug lle y cyfarfu ef a Gruffudd a marwnad garedig i Ddafydd, a rhyfedd a llawen y bu ganddynt gyffwrdd ar naill y llall yn fyw fal hyny ac o hynny hyd angau heddwch a charedigrwydd rhyngddynt."

Ceir y cywyddau ymryson rhwng Gruffydd Gryg a Dafydd ab Gwilym yn argraffedig gyda chynnyrchion yr olaf, ac y mae un o'i waith yn y *Myvyrian Archaiology*.

Gwyndodwr oedd tad Gruffydd; ond Gwyddeles oedd ei fam, am yr hwn reswm, mae'n debyg, y geilw Iolo ef yn "Gwyddelyn." Yn ol a ddywedir yn y dyfyniad uchod, ym

Mhenmynydd y cartrefai; ond dywed Angharad Llwyd (*Hist. Mona*, p. 390) mai un o Aberffraw ydoedd; ac y mae un o'i gywyddau ef, pan yn gwrthateb Dafydd ab Gwilym, o'r braidd yn cadarnhau y golygiad olaf. Drachefn, yn y cywydd canlynol, dengys Iolo Goch mai un o Leyn ydoedd. Ond dichon iddo fod yn byw yn yr holl leoedd hyn. Y mae Iolo yn y cywydd hwn yn ei osod allan fel dyn tlawd, ac yn dyweyd yr hyn oll a allai ddychymmygu o ddrwg am dano. Gallem dybied nad ydyw y cywydd hwn ond rhan o ymrysonfa farddonol a gymmerodd le rhwng Ithel Ddu, Madog Dwygraig, ac Iolo Goch ar y naill law, gyda Gruffydd Gryg ar y llaw arall.

Gwyddelyn fudryn fwydrefr[1]
Gwaddowdlest[2] cw̃n gwiwfrwn gwefr
Gwae dydy hun hendeirw
Gwŷdd helm ir gwedd haul y meirw
Gwas ffromlwfr gwyw saffrymlyd
Gwĩws brwynt quei—Isa bryd[3]
Carnfedd bres corn efydd brau
Car degwm corr daeogau
Carw a phryf mewn cwrri ffraen
Cawr aelgrax oriaw olgroen
Crippiwr crainc iangur copr crin
Cyffeĩthdy clêr ci ffraethdin
Ceufflair hwx cyffylwr haidd
Cyff elydn copr[4] cyffylaidd
Carl[5] serth ai fwth carael fox
Cehyr gorph syml cachirgox

1 "Fwydrefr" = rhefr-rwym (= *costiveness*).

2 "Gaddowdlest" = geudy?

3 Y mae y llinell hon yn anghywir, fel y gwelir ar yr olwg gyntaf; ond nis gallwn awgrymu unrhyw welliant.

4 Y mae y bardd yn defnyddio y gair hwn yn awr am yr ail waith yn y cywydd, ond nid ydym yn deall ei ystyr, os nad ydyw yn golygu *melyn-groen*.

5 "Carl" = taeog. Nid ydyw "carl" ond ffurf arall ar y gair Anglo-Sacsonaidd *ceorl*, sef dyn a berthynai i'r dosbarth isaf ym mhlith y Sacsoniaid, ac yn cyfateb i *ur taeog* y Cyfreithiau Cymreig.

Caer o honod coc rhonollt
Cawg cau cox croen ci coegholIt
Canwn mor ath cilcocciant
Coesyth blew aml coes ith blant
Cwcwallt moel ci ceilldew mud
Cocylldwn ciccai alldud
Rhuadyr yn rhoi ydwyd
Rhyw ysgorn im rhisg gwern ydwyd[1]
Am wneuthur llywiadyr llau
I'th fam Heglgam dinhoglgau.
Glod fawr[2] ni roir gwlad i fud
Gwladeiddiaist *glauod* oeddud
Coffau yr wyd ceffi rus
Coffr o wstris cae ffrostus
Ba ryw wr wyd buror iawn
Barfydyd berw afradlawn[3]
Bawa glod mwygl bogeldew
Bara rhudd bryd bore rhew[4]
Bron belau crimogau croes
Brymgriwydd hen bren egroes[5]
Dilyd ir wyd a dylusc
Or cwrr i'r llall fal carr llusc[6]
Oes le rhydd was osler hen
Ond yn Llŷn neu Dinlläen[7]

[1] "Ydwyd"—diau mai "wyd" a ddylasai fod yma.

[2] Gallem dybied mai cyfeiriad sydd yma at gywydd a gyfansoddwyd gan Gruffydd Gryg mewn amddiffyniad i'w fam, o bosibl mewn atebiad i'r cywydd blaenorol—"I Hersdin Hogl."

[3] "Ba ryw ir wyd byrr or iawn
Barf rydlyd berw afradlawn."
*Bodley MS.*

Ymddengys y darlleniad hwn yn well yn yr ail linell na'r testyn.

[4] "Baw a gold mwygyl bogeldew
Bara rhudd wrid boreu rhew."—*Bodley MS.*

[5] "Bron bele crimogle croes
Brenigrwydd hen bren egroes."—*Bodley MS.*

[6] "Dilen yr wyd a dilvsc
Or cwr ir llall fal car llvsc."
*Bodley MS.*

[7] "Oes lle rhydd was osler hen
Ond Llŷn a thi yn llawen."
*Bodley MS.*

Llŷn, neu Lleyn, ydyw y rhan hono o Sir Gaernarfon sydd yn sefyll ar y cwr de-orllewinol o'r

Haws it leidr cax draws coxdroeth
Syxu marx Ithel ddu ddoeth[1]
A bwrw allan sax gax gwlad
I ebodn daeog Abad[2]
Gorxest fawr nog ymgyrxu
Ag ef da goddef y du[3]
Neu a Madog serxog Syw
Dwygraig, wr dyledowgryw[4]
A minnau pam na mynnwn
Ith frefant fraw cant o'r cŵn[5]
Nid synwyr ffôl wrth ddolef
Nid clêr lliw'r tryfer llawr tref[6]

Sir, rhwng beisfor Caernarfon a beisfor Ceredigion. Pentref ydyw Porth Dinllaen a saif ar ystlys orllewinol gorynys Lleyn, ryw ddwy filltir i'r de-orllewin o Nefyn. Gallem dybied oddi wrth y llinellau hyn, er mai gŵr o Fôn oedd Gruffydd Gryg, iddo fod yn byw yn, neu yn dal rhyw gyssylltiad â, Lleyn am ryw ran o'i oes.

1 "Haws yt leidr cechdraws cochdroeth
Sychu march Ithel Ddu ddoeth."—*Bodley MS.*

Os ydyw "osler" (Seis. *ostler*) = marchwas, yn ddarlleniad cywir yn llin. 39, ac os cyssylltir y gair gyda "Sychu march Ithel Ddu," ymddengys i ni fod Gruffydd Gryg yn perthyn i'r dosbarth cyffredin, ac nid yn foneddwr fel y dywedir gan rai. Gwneir cryn ymdrech gan ein haneswyr i wneyd pob bardd yn wr boneddig.

2 "A bwrw allan sachgwlan gwlad
ei ebod dayog Abad."
*Bodley MS.*

"Ebod," neu "ebodn," = baw ceffylau (= *horse dung*).

3 "Gorcheet fawr nog ymgyrchv
Ag e da y gwydde y dv."
*Bodley MS.*

Da y gwyddai "y du" (h.y., Ithel Ddu) mai Gruffydd Gryg oedd awdwr rhyw gân enllibus a gyfansoddasai.

4 "Nef a Madog serchog syw
Dwygraig gwr diledowgryw."
*Bodley MS.*

Y mae yn amlwg fod "Neu a Madog" yn well na "Nef a Madog." Madog Dwygraig oedd fardd a roddir yn ei flodeu rhwng 1300 a 1370; ond nis gwyddom pa le yr oedd yn byw. Ceir deg o'i gyfansoddiadau yn y *Myvyrian Archaiology*.

5 "A minnav pan na mynnwn
Ith frevant faw cant or cŵn."
*Bodley MS.*

Y mae y Canon Silvan Evans yn dyfynu y llinellau hyn (*Geir. Cymraeg*) i egluro y gair *Breuant* = the windpipe, the trachea.

6 "Nid synwyr ffol wrth olef
Nid cler lliw tryfer llawr tref."—*Bodley MS.*

Nid beirdd y blawd barawd heb rym
Profedig beirdd prif ydym[1]
Ni byddwn od gwn i gyd
Wrth un lleidr fal o Arth heinllyd[2]
Ni bydd gwr anny byddar
Eryr gwyllt wrth ieir gwar[3]
Ni bydd llew wrth lo ewig
Ni bu ddelff cox na bai ddig
Ni bydd blaidd banc ieuanc iax
Wrth oen gwlangroen glingrax
[4]Ni bydd eofn emyd y mox
Milgwn wrth gostog moelgox
Ni ddoi ar nawdd y dydd
O Lŷn[5] fyth i lawenydd.
Ni ddaw dall o'i dŷ allan
Ni ddaw'r wadd o'r ddaear wann

[1] "Nid beirdd y blawd brawd heb rym
Prifiedig feirdd prif ydym."
*Bodley MS.*

Dyweyd y mae Iolo mai nid "beirdd y blawd" oedd Ithel Ddu, Madog Dwygraig, ac yntau, gan awgrymu mai un felly oedd Gruffydd Gryg. Y mae y Canon Silvan Evans (*Geir. Cymraeg*, d.g. *Bardd*) yn rhoddi dau ystyr i'r ymadrodd *Bardd Blawd*: –(1), Bardd crwydrol, yn myned oddi amgylch i gardota blawd, bwyd, a dillad; ac, yn (2), un yn euog o gymmeryd cynnyrchion arall a'u harddel ei hun. Gwelir fod Dafydd ab Gwilym (*Barddoniaeth*, tudal. 239) yn haeru mai "benthycca Cerdd yr oedd G. Gryg."

"Bardd y Blawd Ceirch" oedd yr enw a roddai Lewis Morris o Fôn ar Dafydd Jones o Drefriw (Ashton's *Hanes Llenyddiaeth Gymreig*, tudal. 183-4).

[2] Yn *Bodley MS.* y mae y llinellau hyn yn dilyn llin. 60:—
"Ni byddwn od gwn i gyd
Wrth hunlledr fal arth heinllyd."

[3] "Ni bydd wr any byddar
Eryr gwyllt wrth yr ieir gwâr."—*Bodley MS.*

Ac yn dilyn y rhai hyn ceir:—
"Ni bydd blaidd yfiangaidd iach
Wrth oen a gwlangroen glingrach
Ni bydd llew wrth lo ewig
Ni bv ddelff coch na bai ddig."

[4] Nid ydyw llin. 63-68 yn *Bodley MS.*

[5] Cadarnheir trwy hyn ein nodiad ar llin. 40.

Nid aud fyth o dy dŷ fam
Nid a ancr oi dy uncam[1]
Pen annoeth pe awn innau
Ith wlad iangwrcaxiad cau[2]
Fey neifio fal anifail
A wnaud om caud yn y cail[3]
Fal y gwnaethost gost gystudd
Ddeifio dy wraig ddafad rudd[4]
Nid oes ith wraig gynhaig dlawd
Eithr unbys a thraian bwys[5]
Ag ewin Werfyl gywir[6]
Ys gwae i xenedl os gwir
Nid hawdd iddi bobi bwyd
Felly fal gwrax foel-llwyd[7]
Gad atteb oth gyd wttir
Bob eilwers fab yr Hershir[8]

[1] "Nid avd fyth o dŷ dy fam
Nid â anovr oi dŷ vncam."
*Bodley MS.*

"Ancr" (o *anchorite*) = meudwy.

[2] "Pen anoeth pan awn ninav
Ith wlad iangwr cachiad cav."—*Bodley MS.*

Wrth "iangwr" y golygir, nid *gwr ieuanc*, ond un *dilywodraeth.* (Gwel uchod, tudal. 397, nodyn 1).

[3] "Yn neifio fal anifel
A wnavd om cavd im cel."
*Bodley MS.*

[4] "Fal y gwnaethost cost cystydd
Deifio dy wraig dafod rydd."
*Bodley MS.*

Yn y llinellau hyn a'r rhai dilynol ceir awgrymiadau fod Gruffydd Gryg wedi ymddwyn yn lled greulon tuag at ei wraig, trwy geisio ei llosgi a thori ei bysedd, fel yr oedd wedi myned yn analluog i "bobi bwyd." Ond, os oedd yn un dafodrydd ymddengys nad oedd wedi niweidio ei thafod.

[5] "Nid oes ith wraig cynhaig dlawd
Eithr vn bys a thrayan bawd."—*Bodley MS.*

Y mae yn amlwg fod y testyn yn anghywir wrth roddi "bwys" yn lle "bawd." Un bys a thraian (= un rhan o dair) o fawd oedd gan Gwerfyl—ei wraig; yr oedd Gruffydd, medd Iolo, wedi tori y lleill ymaith.

[6] "Ag ewin Weyrfyl gowir
Ys gwae i chenedl os gwir."
*Bodley MS.*

[7] "Nid hawdd iddi bobi bwyd
Felly fal y wrach foellwyd."
*Bodley MS.*

[8] "Gad attad oth gydwtir
Bob eilwers fab yr hers hir."
*Bodley MS.*

Twnel ar y tafod tancern
Tincern gwawd wyneb tancr gwern[1]
Oes ar dy wawd sur dy wên
88 Oes holi eisiau halen[2]
Eisin llwyd iawn is Enlli
I seilio gerdd salw i gi[3]
Yswain morxwain mawr xwaith
92 Ys faw diawl assa fu dy iaith[4]

diwedd

Gwyddelyn oedd Gruffud Grug
Gwyddelyn marx cregyn cryg
medd Iolo Marnd. Ithel ddu.[5]

[1] "Twncwl ar y tafod tancern
Tincer gwawd wyneb tancer
*gwern.*"—*Bodley MS.*

[2] "Oes ar dy wawd sur dy wên
Os holir eisiav halen."
*Bodley MS.*

[3] "Eisinllyd iawn is Enlli
Ys heli i gerdd salw o gi."
*Bodley MS.*

[4] "Os chwain morchwain mowrchwaith
Ys faw diawl asw fu y daith."
*Bodley MS.*

[5] Nid ydyw enw Iolo Goch fel awdwr ar y diwedd, ond ysgrifenir enwau yr awdwyr ar frig y tudal enau yn yr ysgriflyfr hwn. (Gwel uchod, tudal. 84).

# XLII.

## [AWDL DUCHAN I FADAWG AP HOWEL].

*(O'r Llyfr Coch o Hergest, col. 1291).*

Uwch ben yr awdl ganlynol, nid oes yr un penawd yn y *Llyfr Coch*, heb law "Iollo goch weithyon a gant yr a6dyl honn." Nid ydyw y gân hon wedi ei threfnu yn llinellau rheolaidd yn y *Llyfr Coch*; a cheir amryw ganiadau ereill yn yr un ysgriflyfr heb eu trefnu felly. Ar yr olwg gyntaf ymddangosant fel rhyddiaeth. Ceir hi hefyd yn *Add. MS.*, 15,001, lle y dywedir iddi gael ei chymmeryd o'r *Llyfr Coch*; ond nid ydyw y copïwr wedi bod yn ofalus. Y mae yn argraffedig yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 15, dan y penawd "Awdl Duchan," gyda nodyn yn ein hysbysu iddi gael ei chymmeryd "O Ysgriflyfr Dr. Davies o Fallwyd, yr hwn a ddywedai mai Iolo Goch a'i cyfansoddasai." Gwelir iddi gael ei chyfeirio at ryw Fadawg, yr hwn oedd yn fab i ryw Howel; a dyna yr oll a wyddom am dano. Rhydd Owen Jones (*Geir. Cen. Cymru*, cyf. ii., tudal. 229) y cofnodiad byr a ganlyn :—"MADOG AB HOWEL, bardd a flodeuai o 1370 i 1400." Ni fuasem yn nemawr doethach pe gallasem brofi mai i'r hen fardd hwn y canodd Iolo yr awdl a ganlyn, gan nas gwyddom pwy ydoedd, na lle yr oedd yn byw. Ac nis gwyddom am neb arall yn cyfateb hyd yn oed o ran enw. Pwy bynag oedd y Madawg hwn, yr oedd Iolo yn trethu iaith ar ei heithaf i gael enwau drwg a chymhariaethau gwaradwyddlyd arno. Gwelir fod y bardd yn ymgeisio at fod yn gywrain yn yr awdl, yr hon sydd ar y mesur a elwir y *gyhydedd hir*. Ceir ynddi y *cymmeriad llythyrenol*, gan fod y llinellau yn dechreu gyda'r un lythyren (C=K); a *chymmeriad cynghaneddol*, gan fod y geiriau dechreuol yn proestio, neu yn cydgynghaneddu.

Costyaf y vada6c
kastyn vntroedyawc
kostawc kynghaua6c
huuen am kaff[1]
kystuduab howel
costyei[2] y ochel
costrel ael issel
nyt eill assaff[3]
Custa6s[4] g6arthec cad6
Ca6styeu[5] achad6
k6t r6t[6] br6t brad6
breud6rch rybraff
Kild6rnel g6ann ledyf.
kel6rn bramsachledyf.
keil meil mileindedyf.
nyt kynnedyf kaff[7]
K6l6m ysg6thyr. t6nffet.[8]
Callon mahwmet.[9]
Calet yr byrret
ny wyr barraff
Kalgr6n bak6n bockys.[10]
kyflet. fflacket fflockys.[11]

[1] O bosibl y byddai yn gynnorthwy i ambell un ddeall y cywydd pe rhoddem ddarlleniad *C. Ll. G.* o'r pennill cyntaf :—

"Costiaf i Fadawg, caeddyn untroediawg,
Costawg cynhafawg, hufen a'm caff."

[2] Fe ddefnyddir y gair "costio" yn bresennol yn yr ystyr o *angenrheidrwydd.* Fe "gyst" iddo wneyd = bydd *raid* iddo wneyd. Ac hwyrach mai yn yr ystyr hwn y defnyddir ef yma.

[3] "Nid ail Assaff."—*C. Ll. G.* Hyny yw, nid oedd dim yn debyg i Asaph, ail Esgob Llanelwy, yn y Madawg hwn, eithr yr oedd yn dra gwahanol iddo ym mhob peth. Gallem dybied oddi wrth y cyfeiriad hwn fod Madawg yn ŵr eglwysig.

[4] Custaws (= cystawd) = ceidwad (*custodian*).

[5] Cawsdyau = *cheese houses.*

[6] "Uwd."—*C. Ll. G.*

[7] "Nid cynneddf Caff."—*C. Ll. G.* Hyny yw, nid cynneddf *afaelgar.*

[8] "Twnffet" yw enw yr offeryn a ddefnyddir i arllwys gwlybwr i gostrel.

[9] "Calon-mahunded."—*C. Ll. G.* Ai nid Calon Mahomed a feddylir?

[10] "Bacwn bochus."—*C. Ll. G.*

[11] "Fflamed fflochlys."—*C. Ll. G.*

kawldr6m hokys lla6n rockys
crockys crocker 6rth raff
Kolwyt bugeil pedyr[1]
colereu wystyn gledyr[2]
kelwyd vedyr k6ffyll lledyr.
ll6dyn my6n ysgraff
Kym6rn burym ysgei.
kym mein adīmei[3]
y gan y ba6ei.
ny graffei r graff.—[4]

[1] "Colwyd bugail Pedr." *C. Ll. G.*
"Coleren wystugledr." *C. Ll. G.*

[3] "Cymein a dimai."—*C. Ll. G*

[4] "Y Gan y bawai, ni graffai'n graff."—*C. Ll. G.*



# XLIII.

## [ENGLYNION DUCHAN].

*(O'r Llyfr Coch o Hergest, col. 1292).*

Ceir yr englynion canlynol yn y *Llyfr Coch*, ar ol yr awdl flaenorol, heb yr un penawd iddynt heb law "Iollo heuyt" = (Iolo hefyd—h.y., Iolo a ganodd yr hyn a ganlyn hefyd). Y maent hefyd i'w cael ar ol yr awdl, wedi eu copio, yn anghywir, o'r *Llyfr Coch*, yn *Add. MS.*, 15,001. Ond yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i, tudal. 10, cyssylltir hwynt â'r awdl flaenorol, fel rhan o honi. Credwn fod yn lled anhawdd dyfalu beth oedd testyn y bardd; ond y mae y mynychiad parhaus o'r gair "Safn" yn ein tueddu i feddwl mai yr *enllibiwr*, y *celwyddwr*, neu rywbeth tebyg i hyny, oedd ganddo dan sylw. Hyd y gwelwn, nid oes ynddynt ddigon o sail i ddyfod i'r penderfyniad mai y Madawg y sonir am dano yn yr awdl dan sylw oedd y testyn. Ond y mae yr englynion, fel yr awdl, yn lled anhawdd eu deall, am eu bod yn cynnwys cynnifer o eiriau anarferedig.

Safyn egoret y6 safyn gorwyr ba6ki
y biki g6thyr kannwyr.
safyn pibyd swyfen pabwyr.
safyn llo g6as a yf yn llwyr.

Safyn llydan ydi6 lletwyr chwidach
safyn achwyda6d neith6yr
safyn lla6n ba6 a ch6yt awyr
safyn kavyn ka6s byd ha6s h6yr.[1]

[1] Hwyrach mai y cynllun goreu gyda'r englynion hyn, a'r eglurhad goreu arnynt, fyddai dyfynu y darlleniad a geir yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*; ond fe welir ar unwaith fod y gair *cyntaf* o honynt yn anghywir yn y gwaith hwnw :—

"Cafn agored y safn gorwyr bawci,
I biccyn gwthr cannwyr.
Safn pibydd swyfen pabwyr,
Safn llo gwas a ysa'n llwyr.
Safn llydan ydyw, safn lled wyr—chwidawch,
Safn a chwydawdd neithwyr :
Safn llawn baw a chwyd awyr,
Safn cafn caws bydd haws hwyr

Safyn dyfyrgi ba6ki bakwyr reidussyon
man lleithyon min llethwyr
safyn g6rab sefnic erwyr
safyn y6 ymsennu awyr

Safyn kicvran druan drawyr y geneu
safyn ny gana6d sallwyr.
safyn dr6c mal t6ll m6c magwyr.
safyn ffals ny seif o vy6n ffwyr

Safnoc digorffoc daeoc oerff6yr lleibyr
kyhoeddg6ybyr ki hydg6yr
sennu pa6b y6 y synnwyr.
safyn gellast var6. safyn gar6 g6yr.

**Safn dyfrgi bawci bawwyr rheidusion**
**Man lleithion, min llethwyr :**
**Safn gwrab, sefnig orwyr :**
**Safn yn ymsennu a wyr,**
**Safn cigfran, druan drawyr—y genau,**
**Safn ni chanawdd Sallwyr.**
**Safn drwg mal twll mwg magwyr,**
**Safn ffals ni saif o fewn ffwyr :**
**Safnog di gorphog daeog oer-ffwyr, lleipr**
**Cyhoeddgeipr ci hydd-gwyr**
**Sennu pawb yw ei synwyr,**
**Safn goll-ast farw, safn garw gwyr."**

---

## XLIV.

### ENGLYNION I ITHEL AP DAVYDD, O GAER SALLWCH YN LLAN EINION, AM DYNGU ANUDON, A BAW A DDYWEDAI AR BOB GAIR.

---

*(O Greal Llundain, tudal. 320).*

Nis gwyddom pwy oedd yr Ithel hwn, heb law yr hyn a ddywedir uchod. Saif plwyf Llan Einion—yr hwn a elwir yn gyffredin yn Llanengan—yn nosbarth Pwllheli, ar derfyn de-ddwyreiniol Lleyn, yn Sir Gaernarfon. Cyflwynir yr Eglwys i St. Einion Frenin.

Ithel val gevel â gair i dyngu
Hyd anghall vuchedd-grair
Ac nid oes egin dwysair,
Ithel waeth ei lw no'i air.

Ai aradr gadr, a'i bar ogau llymion
Yn llamu dros gwysau,
A'r llaw gam agor llw gau
Y tyr vin y tervynau

Baw'n vyw, baw'n varw, baw'n overedd i'th law
Lle'th welant yn gorwedd,
Baw ymhob man trwy'd ddannedd,
A baw wedi'r elych i'r bedd.

Iolo Goch.

---

# CANIADAU SERCH, &c.

## XLV.

### CYWYDD Y FARF.

(*O Lyvr Huw Lleyn—Add. MS., 14,967, fol. 66*).

Y mae y cywydd hwn i'w gael hefyd yn *Add. MS.*, 14,964, a *Jesus MS.*, E. 139, p. 1.

Ar yr olwg gyntaf, ymddengys y testyn yn un lled anghymmwys i ddenu awen bardd; ond cafodd Iolo ddigon o ddefnyddiau ynddo i ganu dau, os nad tri, o gywyddau. Ac y mae yn dra deheuig yn ei ymdriniaeth. Ni cheir yr elfen ddigrifol a chwarëus yn fwy amlwg yn yr un o'i gyfansoddiadau nag yn y rhai hyn; ac y mae ei arabedd a'i ffraethineb yn ganfyddadwy bron ym mhob llinell. Bron na thybiem ar y cyntaf i Goronwy Owen weled y cywyddau hyn cyn iddo gyfansoddi yr eiddo ef ar yr un testyn. Pa fodd bynag, y mae yn dwyn llawer o debygolrwydd iddynt. Ond pell ydym oddi wrth gyhuddo Goronwy o lenladrad. Gan y sonir cryn lawer am *garu* yn y cywydd hwn, yn gystal a'r cywyddau ereill dan yr un penawd, gellir eu hystyried fel "Caniadau serch."

Y mae y ffasiwn gyda golwg ar wisgo barfau wedi myned trwy lawer o gyfnewidiadau. Yn y ddeuddegfed ganrif, eillid y cyfan oddigerth ar y wefus uchaf; a thorid y gwallt yn fyr, rhag iddo fod yn rhwystr i'r Cymry, druain, deithio trwy y coedwigoedd tewfrig a orchuddient y wlad (*Warrington's Hist. Wales*, edit. 1823, vol. i., p. 165). Gorchymmynodd William y Goresgynwr y Seison, y rhai a adawent farf ar y wefus uchaf, fel y gwnai y Cymry i eillio y cyfan; ond yr oedd hyn mor wrthwynebol ganddynt fel yr oedd yn

well gan lawer o honynt adael y wlad nag ufuddhau. Ond erbyn amser Edward III. yr ydym yn gweled fod y gwallt yn cael ei wisgo yn llaes, a'r farf yn gorchuddio y wyneb; ac wrth sylwi ar gerfluniau, a'r lluniau mewn ysgriflyfrau, perthynol i'w deyrnasiad, gwelir eu bod yn gwahaniaethu yn fawr oddi wrth y rhai a wnaed yn amser teyrnasiad ei dad—Edward II. Pa fodd bynag, dengys cywyddau Iolo Goch fod eillio yn arferedig mewn rhan yn ei amser ef; ond, ar yr un pryd, yr oedd gwisgo barfau yn beth eithaf cyffredin. Parhawyd i wisgo barfau hyd amser Charles I., pryd yr aethant allan o arferiad drachefn. Ar ol adferiad Charles II., eillid yr oll ond y bochgernau a'r wefus uchaf; a newidiwyd drachefn, mewn ychydig amser, i eillio yr oll o'r gwyneb. Yn y *Penny Cyclopœdia*, vol. iv., p. 97, o'r hwn y cawsom y rhan fwyaf o'r manylion uchod, dyfynir y llinellau a ganlyn o *Whip of Pride*, gan John Taylor, lle y dysgrifir y gwahanol ddulliau o wisgo y farf yn ei amser ef (1580-1654): —

Now a few lines to paper I will put,
Of men's beards' strange and variable cut;
In which there's some do take as vain a pride
As almost in all other things beside.
Some are reap'd most substantial like a brush,
Which makes a nat'ral wit known by the bush;
(And in my time of some men I have heard,
Whose wisdom have been only wealth and beard.)
Many of these the proverb well doth fit,
Which says, 'Bush natural, more hair than wit.'
Some seem as they were starched stiff and fine,
Like to the bristles of some angry swine;
And some (to set their love's desire on edge)
And cut and pruned like to a quickset hedge.
Some like a spade, some like a fork, some square,
Some round, some mow'd like stubble, some stark bare
Some sharp, stiletto-fashion, dagger-like,
That may with whisp'ring, a man's eyes outpike;

Some with the hammer-cut, or Roman T,
Their beards extravagant reform'd must be;
Some with the quadrate, some triangle fashion.
Some circular, some oval in translation;
Some perpendicular in longtitude,
Some like a thicket for their crassitude.
That heights, depths, breadths, triforme, square, oval, round,
And rules geometrical in beards are found.

. . . . . . . . . . .

The barbers thus (like tailors) still must be
Acquainted with each cut's variety.

A gallem gasglu oddi wrth gywyddau Iolo Goch nad oedd unrhyw drefn sefydlog gyda golwg ar eillio barfau yn ei amser ef. Yn wir, nid annyddorol ydyw cymharu y lluniau a dynwyd yn y ganrif bresennol er canfod y cyfnewidiadau sydd wedi cymmeryd lle gyda golwg ar wisgo y farf a'r gwallt.

Ai dydy[1] varf a darvodd[2]
Y[3] verch am kussannam[4] o vodd
Rydew y[5] van ith blanwyd
4 Knwd mawr ar y knawd ym wyd[6]
[7]*Wyddelic[8] arw ddolem[9] *dyrys
Wrth edrych im drych am drem

[1] "Dydi"—*Add. MS.*, 14,964; "dy di."—*Jes. MS.*

[2] "Darfodd" = brawychu—brawychu y ferch a feddylir; felly y mae "daufodd," yn *Add. MS.*, 14,964, yn anghywir.

[3] "I."—*Jes. MS.*

[4] "Cysanai"—*Add. MS.*, 14,964; "kyssanai"—*Jes. MS.*

[5] "Yn"—*Add. MS.*, 14,964; "ywr"—*Jes. MS.*

[6] "Cnwd mawr ar y cnawd im wyd."—*Add. MS.*, 14,964. "Knwd mawr ar i knawd ym wyd."—*Jes. MS.*

[7] Nid ydyw llin. 5 a 6 yn y llyfrau ereill.

[8] Tebyg nad ydyw y gair "dyrys" ar ymyl y ddalen mewn un modd yn eglurhad ammhriodol. Y mae y Dr. W. O. Pughe, dan y gair "Gwyzelawg," yn rhoddi "Abounding with bushes, or brakes. *Tir gwyzelawg*, land overrun with brambles. *Sil.*"

[9] "Dolem" = dolef (?)—y bardd yn gwaeddi mewn dychryndod wrth weled ei wyneb yn y drych.

Aeth vyngwep am wynebpryd[1]
Gol gen[2] yn geden i gyd[3]
Er llwyre[4] darffo y llorri[5]
Ar modd yr eillier i mi
Nid llyfnach[6] ddianach[7] ddysc[8]
No chroen gwrwbenn garwbysc[9]
Nidoes[10] gan wen im genau
Fawr vodd am y varf vau[11]
Garw gan dec i goroen[12]
Val llysiau kribau r kroen[13]
Garrw irioed oedd gwr yr rudd[14]
Gwrych boeni garwach bevnydd[15]
Budd i wraidd o bydd i wrach
Mintai o ardiav mantach[16]

[1] "Aeth fy ngwep am wynep-ryd."—*Add. MS.*, 14,964.
"Aeth fyn ghwep am wyneb-prud."—*Jes. MS.*

[2] "Golgen."—*Add. MS.*, 14,964.

[3] "Gud."—*Jes. MS.*

[4] "Llwyred darfu."—*Add. MS.*, 14,964.

[5] "Llori."—*Add. MS.*, 14,964.

[6] "Llifnach."—*Jes. MS.*

[7] "Ddiafiax"—*Add. MS.*, 14,964; "ddiafiach"—*Jes. MS.*

[8] "Ddysg"—*Add. MS.*, 14,964; "ddusg"—*Jes. MS.*

[9] "Na xroen y gwrboen garw-bysg."—*Add. MS.*, 14,964.
"Na chroen i gwrwboen garw-busg."—*Jes. MS.*

[10] "Nid oes"—*Add. MS.*,14,964; "Ni does"—*Jes. MS.*

[11] "Fawr fodd am y farf fau." *Add. MS.*, 14,964.
"Fawr o fodd ond i farf fau." *Jes. MS.*

[12] "Garw gan du i gorhoen." *Add. MS.*, 14,964.
"Garw am deg goroen." *Jes. MS.*

[13] "Fal llysie cribe y croen." *Add. MS.*, 14,964.
"Fal llyssie kribe i kroen." *Jes. MS.*
"Llysiau'r cribau" = *Teazel* (*Dipsacus*). Gelwir hwynt gan rai yn "Llysiau'r pannwr" (*fuller's thistle*). Ymddengys fod Iolo yn chwareu ar enw y llysieuyn hwn, trwy ddefnyddio rhan o'r enw fel berf weithredol.

[14] "Garw irioed gwyr i ddeu-rudd."—*Add. MS.*, 14,964.
"Garw oedd oer gwr i ddeu-rudd."—*Jes. MS.*

[15] "Gwryx o groen goriwx y grudd."—*Add. M*.,14,964.
"A gwrych boen gorywch i budd."—*Jes. MS.*

[16] Yn *Add. MS.*, 14,964, a *Jes. MS.*, y mae y ban wedi ei gyfleu yn wahanol, trwy osod llin. 20 yn gyntaf.





Mae ar vy[1] llechwedd meddan
Ddeunydd mil o ddanedd[2] man
Pais draenioc oedioc ydyw[3]
Pwnn ar en val y penwar yw[4]
Blina kol blaenau kelyn
Symlau dur yn symlu dyn[5]
Blew henwch o ble hanwyd[6]
Knwd o egin eithin wyd[7]
Llym a glew yw[8] pob blewyn
Gruc del yn gorugaw dyn[9]
Megis *morarw* [10]i magan[11] q. an morgrug
Esgyll[12] mil o ysgall[13] mân
Y rwyd val sofl arew[14]
Heb haen yn sythvlaen saethvlew[15]

" Mintau o ardie mantax
Baix o wraidd o bydd i wrax."
*Add. MS.*, 14,964.
" Mintau o ardie mantach
budd i wraidd oi bodd i wrach."
*Jes. MS.*

1 " Fy."—*Add. MS.*, 14,964.

2 " Ddannedd." — *Add. MS.*, 14,964.

3 " Pais draynog oediog idyw."
*Jes. MS.*

4 " Pwn ar en fal penor yw."
*Add. MS.*, 14,964.
" Penwar," neu " penor," = safnrwym (= *muzzle*); ond " penwn" (= baner, lluman) a geir yn *Jes. MS.*; ac ni fuasai yr un o honynt yn gysurus ar ên.

5 " Blin yw'r coel blaenau celyn
Simlau dur yn symlu dyn."
*Add. MS.*, 14,964.
" Blin a koel blaen or kelun
Symylau dur yn siwmlio dun."—*Jes. MS.*

6 " Blew'r hên wx o ble rhannodd."—*Add MS.*, 14,964.
" Blew r hên wch o bler hanwyd."—*Jes. MS.*

7 " Oedd."—*Add. MS.*, 14,964.

8 " Iw."—*Add. MS.*, 14,964.

9 " Gwyr dol yn gorugaw dyn."
*Add. MS.*, 14,964.

10 " Morr arw "—*Add. MS.*, 14,964; " mor arw "—*Jes. MS.*

11 " I magan " = y tyfant.
" Esgill."—*Add. MS.*, 14,964.

12 " Esgeill."—*Jes. MS.*

14 Nid ydyw darlleniad y testyn mwy na'r rhai a ganlyn yn ein galluogi i ganfod meddwl y bardd :—
" Yrwyd fal sel rywel rew."
*Add. MS.*, 14.964.
" Y rwyd yn wrol ar rew."
*Jes. MS.*

15 " Heb haen yn sythflaen saithflew."—*Add. MS.*, 14,964.
" Heb haen sythflaen saethflew."—*Jes. MS.*

Dos[1] ymaith rrag dwys amarch
36 Do gen val bon myngen march[2]
a gwnai vyngen yn henaidd[3]
A dwr gwres i daw o'r gwraidd.[4]

Iolo Goch ai kant.

1 "Does."—*Jes. MS.*

2 "Do gen fal mun gen y marx."
*Add. MS.*, 14,964.

"Dogen fal meingefen march."
*Jes. MS.*

3 "A gwna fungen yn henaidd."
*Add. MS.*, 14,964.
"O gwna fyng en fi/n/ henaidd."—*Jes. MS.*

4 "A dwr gwres i daw or gwraidd."
*Add. MS.*, 14,964, a *Jes. MS.*





# XLVI.

## *IR VARV.

*(O Lyvr Huw Lleyn—Add. MS., 14,967, fol. 70b).*

Y mae y cywydd hwn i'w weled hefyd yn *Add. MSS.*, 14,873; 14,876; 14,906; 14,940, fol. 56, a fol. 108; 14,964; a 14,978; ac yn *Glanyrafon MS., K.*, fol. 62, yn yr oll o ba rai y priodolir ei awduriaeth i Iolo Goch. Ond y mae yn argraffedig yng *Ngorchestion Beirdd Cymru*, tudal. 124, ac yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 140, gydag enw Rhys Goch Eryri wrtho. Nid ydym yn cael dim yn y cywydd ei hun yn peri i ni ammeu mai Iolo Goch oedd ei awdwr; ac y mae y ffaith fod cynnifer o ysgriflyfrau yn rhoddi ei enw wrtho, ac fod yr un a fabwysiadwn fel testyn yn gwneyd hyny—yn enwedig pan gofiwn ei fod wedi ei ysgrifenu mor gynnar a 1488—yn brawf lled gryf mai Iolo oedd ei awdwr. Gwelwn hefyd ran o hwn yn Cywydd Rhif LI.

Yn y cywydd blaenorol a'r un dilynol, ceir cyfeiriadau ag ydynt yn awgrymu fod ei farf yn *goch*, er y sonir un waith am gynhauaf *du*, ond yn y cywydd hwn sylwa yn barhaus mai *llwyd* ydoedd. Ac y mae hyn, os oes coel i'w roddi arno o gwbl, yn awgrymu fod y bardd yn heneiddio pan gyfansoddwyd ef; eto, er hyny, y mae yn amlwg nad oedd ei edmygedd o ferched wedi darfod; ac fod ei ffraethineb chwareus yn parhau yn gryf. Y mae y bardd hyd llin. 44, yn rhoddi trinfa anferth i'r farf, ac yn dannod iddi ei llwydni. Ond yn llin. 45, ac o hyny hyd llin. 52, y mae y farf yn amddiffyn ei llwydni trwy dwyllresymu yn lled gywrain, gan ddefnyddio y gair "llwyd," nid yn unig fel lliw, ond yn y gwahanol ystyron a roddid iddo unwaith, megys *bendigaid*, *gwrol*, *parchus*, &c. Yna, o llin. 53 i'r diwedd, y mae y bardd yn peri i'r farf dewi â'i thwyll-

resymeg, ac yn ei galw ar enwau sarhäus. Credwn yn sicr fod y cywydd hwn yn gyfansoddiad lled wych, er nad yn fwy felly, fe ddichon, na'r cywyddau ereill o'i waith ar yr un testyn.

Ro Duw varv rydew vorresc[1]
Raid[2] vydd nid eilliedydd llesc
Gael bob eil dydd ddedwydd ddyn
Ith eilliaw ac wyth[3] ellyn
hagr wyd[4] varf vin llwyd vau
Ac anardd[5] ynghylch genau
Mor vrwyn sofl mae gofl gyvlwyd[6]
Mal i sob hen esgob wyd[7]
Gwaer enn llyma r gwirionedd
oth adu ewyngub wedd[8]

[1] Y mae y darlleniadau o'r llinell hon yn amrywio yn fawr :—

"Rho Duw Farf rhydew foresg."
*Add. MS.*, 14,873.

"Ro duw farf rry dew foresc."
*Glan. MS.*

"Rho Duw farf rhydew forhesg."
*G. B. C.*

"RhoDuw farf rhydew fortresg."
*C. Ll. G.*

Ymddengys i ni mai darlleniad *G. B. C.* ydyw y goreu, ac mai "forhesg" ydyw y gair olaf. Y mae y golygydd yn sylwi mai math o lw ydyw "Rho Duw" = Rhyngof â Duw ; felly nid erfyn ar Dduw am farf gyffelyb i "for-hesg" y mae y bardd. Moresc = merydd (= *sea-sedge*) ?

[2] "Rhaid"—*Add. MS.*, 14,873 ; "rraid"—*Glan. MS.*

[3] "Agŵyth"—*Add.MS.*, 14,873 ; "ag wyth"—*Glan. MS.*

[4] "Hagrwyd" — *Add. MS.*, 14,873 ; "hagar wyd"—*Glan. MS.*

[5] "Anhardd"—*G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

[6] "Morfrwyn sofl neu gofl gyflwyd."
*Add. MS.*, 14,873.

"Morfrwyn sofl mau gofl gyflwyd."—*Glan. MS.*

"Morwyn sofl main gofl gyflwyd."
*G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

Gwell genym ddarlleniad y testyn. Dyweyd y mae y bardd fod ei gofl (= *bosom*) yn orchuddiedig gan flew cyffelyb i "for-frwyn." Ac os ydyw y cywydd yn ddysgrifiad o hono ef ei hun—a pha ham nad ydyw ?—yr oedd yn ŵr blewog anghyffredin.

[7] "Mal cób i hen Esgob wyd."
*Add. MS.*, 14,873.

"Mal kob i hen escob wyd."
*Glan. MS.*

[8] "Gwae'r En myn y gwirionedd
Ath atto ewigno wedd."
*Add. MS.*, 14,873.

"Gwaer enn myny gwirionedd
ath ato ewin gno wedd."
*Glan. MS.*

Gwaeach oth dynn derwyn dic
llaw drom nid llai i dremic[1]
Truth wyll[2] onid tra itheillwyf
Tybygach i vwbach wyf[3]
Minau or gloes angau sydd
Nawaith bob mis o newydd[4]
Ar wydd yw ar y ddwenn
Wrth dy dynu heidd gnu henn[5]
[6]Oni bai vaint kylch daint dioer[7]
y llwyddaist varf an lladoer
Anardd i guddio wyneb
A gen iach dioer gan neb[8]
Gweled rwng merch ar erchwyn
Blew blaidd ar ddiwladaidd ddyn[9]

[1] "Gwae ath dynn derwyn dig
A llai drom nid llai dremig."
*Add. MS.*, 14,873.

"Gwae ath dyn derfyn dig
a llaw drom nid llai dremig."
*Glan. MS.*

"A gwae a'th dyn, denyn dig,
A llaw drom, nid llai'i dremyg!"—*G. B. C.*

Ymddengys "denyn" yn fwy dealladwy i ni na "derwyn" a "derfyn."

[2] "Tuth well."—*Glan. MS.*

[3] Nid ydyw llin. 13 a 14 yn *Add. MS.*, 14,873, *G. B. C.*, a *C. Ll. G.*, ond y maent wedi eu gosod i fewn, yn lled anarllenadwy, gan law ddiweddarach yn *Glan. MS.*

[4] Y mae y darlleniadau a ganlyn yn fwy dealladwy:—

"Minneu mewn gloes angeu sydd
Naw waith bob Mis o Newydd."
*Add. MS.*, 14,873.

"Mine meawn gloes ange sydd
nawaith bob mis o newydd."
*Glan. MS.*

Sylwa golygydd yr ail argraffiad o *Gorchestion Beirdd Cymru*, yn lled briodol, ar y llinellau hyn, fod y bardd "yn eillio ddwywaith yn yr wythnos;" a gallasai ychwanegu yr ymddengys oddi wrth y cywydd nad oedd eillio mewn un modd yn orchwyl dymunol ganddo. Pa fath ellynau oedd ganddynt yr adeg hono, wys?

[5] "Arwydd yw *ar y ddwyen
Wrth dy dynnu heiddgnu hen."—*Add. MS.*, 14,873.

Ar ymyl y ddalen ceir "*Arwydd Duw."

[6] Nid ydyw llin. 19-20 yn *Add. MS.*, 14,873, *G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

[7] "Dioer" = diddadl?

[8] "Anardd i guddio wyneb
A gen iach dioer yw gan nêb."—*Add. MS.*, 14,873.

"Anardd i giddio wyneb
a gen iach dioer yw gan neb."—*Glan. MS.*

[9] "Gweled rhwng Merch ar Erchwyn
Blew Blaidd ar ddiawlaidd ddyn."—*Add. MS.*, 14,873.

Blodau perth mor anverth wyd
Beichlwyth ar en gwr bochlwyd[1]
Gwnn mae dy chwaer gaer gerydd
Ar wyneb sioseb y sydd[2]
[3]Knwd trathew o iyrchvlew iyrch
Keden hagr koed an hygyrch
Semyl ar ddwen y wenydd
Dy weled gan verched vydd[4]
Ni wna hyder oth weryd[5]
Ymgudd mor brudd yw dy bryd

"Gwoled rrwng merch ag erchwyn
blew blaidd ar ddiwladaidd ddyn."—*Glan. MS.*

Y mae y ban hwn yn fwy awgrymiadol nag yw o lednais; pa un bynag a'i "ddiwladaidd" (= digartref?) ai "ddiawlaidd" a feddylir.

[1] "Bod eurberth mor Anferth wyd
Beichlwyth ar En wr Bochlwyd."
*Add. MS.*, 14,873, a *Glan. MS.*

"Bod eurberth mor anferth wyd
Beichlwyth ar ên gwr bochlwyd."
*G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

[2] "Gwn mae dy chwaer gaer gerydd
Ar wyneb Sioseb y sydd."
*Add. MS.*, 14,873, *G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

"Gwn mae dy chwaer ger gerydd
Ar wyneb Sioseb y sydd."
*Glan. MS.*

Sioseb = Joseph.

[3] Nid ydyw llin. 29-30 yn *Add. MS.*, 14,873, *G. B. C.*, a *C. Ll. G.*; ond y maent wedi eu rhoddi i mewn gan law ddiweddarach yn *Glan. MS.*

[4] "Syml ar ddwyen Awenydd
Dy weled gan ferched a fydd."—*Add. MS.*, 14,873.

"Symyl ar ddwen ywenydd
dy weled gan ferched fydd."
*Glan. MS.*

Nid ydyw y llinellau hyn yn *G. B. C.*, a *C. Ll. G.* Dilynir hwynt yn rhai llyfrau gan y llinellau a ganlyn :—

"Syml wyd y Farf finllwyd faith
Symmud liw neu ddos ymaith."
*Add. MS.*, 14,873.

"Symyl wyd y farf finllwyd fraith
Symud liw ne ddos ymaith."
*Glan. MS.*

[5] "Angen hyder ni weryd."
*Add. MS.*, 14,873.

"Angen hyder nith weryd."
*Add. MS.*, 14,964.

"Amgen hydyr nith weryd."
*Glan. MS.*

[1]Myn bedd duw ni bydd diwarth
I vardd henn bod gen o garth[2]
Ac nid esmwyth garw lwyth[3] gwr
Trowswch[4] llwyd i wtreswr[5]
[6]lle gresyn lliw goreuserch
Wedi gwin roddi min merch
Nid hardd ef a waharddwyd
Gusan ar varf lydan lwyd
Gormod yw dy anod yn
Am lwydo rrai amyl ydyn
llwyd vu sanct geraint gu
lliw disiml llwyd yw Iessu[7]
[8]llwyd yw rrolant llid rrylew
llwyd vydd yr eryr ar llew[9]

[1] Yn blaenori llin. 35 yn *Add. MS.*, 14,873, ac yn gyffelyb yn rhai llyfrau ereill, ceir :—

"Nid hardd y fo ath waharddwyd
Cusan ar farf lydan lwyd."

[2] "(Myn bodd Duw) ni bydd diwarth
Ar ŵr hen bod gen o Garth."
*Add. MS.*, 14,873.

[3] "Garllwyth" — *Add. MS.*, 14,873, *Glan. MS.*, *G. B. C.*, a *C. Ll. G.*; ond y darlleniad yn *Add. MS.*, 14,964 yw, "Ac nid esmwyth-gar llwyth gwr," yr hyn a ymddengys yn well.

[4] "Trwswch"—*Glan. MS.*; "trawswch"—*G. B. C.* Trawswch = *moustache.*

[5] "Wtreswr" = gloddestwr. Nid esmwyth, neu gyfleus, i un hoff o'r gyfeddach yw "trawswch."

[6] Nid ydyw llin. 39-42 yn *Add. MS.*, 14,873, ond ceir y rhai canlynol yn eu lle :—

"Gwiw angerdd gwenithgerdd gwawd
Gwardd i dewfardd i Dafawd
Blin yw'r son am gofion gynt
Am lwydo rhai aml ydynt."

A cheir darlleniadau cyffelyb yn *Glan. MS.*, *G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

[7] "Llwydion fu'r Saint geraint gu
Disyml a llwyd fu Iesu,"

yn y llyfrau ereill. Wrth "sanct geraint," ond odid, y golygir Geraint ab Erbin.

Defnyddir "llwyd" yma yn gyfystyr â *bendigaid*, neu *addoladwy—Duw lwyd.* Y mae y bardd o hyn hyd llin. 52 yn gwneuthur i'r Farf ei hun lefaru, ac amddiffyna ei llwydni trwy dwyllresymeg.

[8] Yn y llyfrau ereill rhoddir llin. 49-50 o flaen llin. 47-48.

[9] "Llwyd fu Rolant llid rylew
Llwyd fydd yr Eryr ar llew."
*Add. MS.*, 14,873.

"Llwyd fy roland ryd rylew
Llwyd fydd yr eryr ar llew."
*Glan. MS.*

"Llwyd yw Rolant, llid rhylew
Llwyd fyth yw'r eryr a'r llew."
*G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

llwyd vydd awyr a[1] dwyrain
llwyd vydd dechre lleuad vain[2]
[3]Am hyn ef a gymhenwyd
Nad gwiw neuthur lliw eithr llwyd[4]
Taw di varf tew doveredd
Twyll iawn waith tylluan wedd[5]
[6]os velly[7] y byddy byth
Dros vy wyneb[8] yn drasyth
Ni chair myn mair ar vymin
lle noeth mwy no llwyn eithin[9]

Iolo Goch ai kant.

Yr un oedd Rolant, nai Siarlymaen, ac Orlando y chwedlau. Nis gwyddom pa ham y cymhwysir "llwyd" ato ef, yn gystal a'r eryr a'r llew, os nad ydyw y bardd yn rhoddi yr ystyr o *fawrfrydig*, neu *gwrol*, i'r gair.

[1] Y mae yn amlwg fod "a" yn anghywir yma; "y" a ddylai fod, fel yn y llyfrau ereill.

[2] Y darlleniad yn ol *Add. MS.*, 14,873, ydyw :—

"Llwyd fydd dechrau lleuad fain
Llwyd fydd awyr y Dwyrain."

[3] Yn blaenori llin. 51 yn y llyfrau ereill ceir y darlleniadau a ganlyn :—

"Llwyd a fu Farf Siohasym
Llwyd fydd y Grai newydd grym."—*Add. MS.*, 14,873.

"Llwyd a fu farf sihoetsym
llwyd fydd y grau newydd grum."—*Glan. MS.*

"Llwyd oedd las Siohasym
Llwyd fydd y gra newydd grym."
*G B. C.*, a *C. Ll. G.*

"Gra newydd—y mânflew ar frethyn newydd. 'Ei wely oedd wiw i'r Emerhawdr Arthur gysgu ynddo, o ysgarlad, a gra, a phali, a sindal, a bliant.—*Mabinogi*.'" (*Gorch. Beirdd Cymru*, tudal. 125).

[4] "Ag am hyn ar gymhenhwyd
Nid gwiw gwneuthur lliw ond llwyd."
*Add. MS.*, 14,873.

Yn y fan hon y terfyna amddiffyniad y Farf iddi ei hun, yr hyn a atebir yn y llinellau dilynol.

[5] Llawn gwell genym ddarlleniad y testyn na'r darlleniadau canlynol:—

"Taw di Farf tewdo fawrfedd
Towyll iawn waith Tyllgon wêdd."—*Add. MS.*, 14,873.

"Taw di farf tew do fowredd
towyll iawn waith tylluan wedd."—*Glan. MS.*

"Taw di farf tewdo fawredd,
Tywyll iawn waith, tylluan wedd."
*G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

[6] Yn blaenori llin. 55 yn y llyfrau ereill ceir :—

"Ymgudd nid adnebydd neb
lladrones llwydrew wyneb."

[7] "Ag os felly."—*Add. MS.*, 14,873.

[8] "Ar draws wyneb."—*Add. MS.*, 14,873.

[9] "Ni chair myn Mair ar fy Mîn
Lle noeth mwy no'r llwyn eithin."
*Add. MS.*, 14,873.

# XLVII.

## CO: MERCH.

*(O Jesus MS., C. 101, p. 349).*

Y mae y cywydd hwn i'w weled hefyd yn *Add. MSS*,, 14,873; 14,964; a 14,969 ; yn *Hengwrt MS.* (Peniarth), 447, No. 21; ac yn argraffedig yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 5, dan y penawd "Cywydd i Farf y Bardd, a'i Rhwystrodd i Gusanu ei Gariad." Ac y mae y penawd yn ddarnodiad lled gyflawn o gynnwys y cywydd, yr hwn sydd wedi ei gyfeirio at ferch o'r enw Euron. Ond nis gwyddom pa un ai gwir enw y ferch oedd hwn, ai ynte ei fenthyca a wnaeth Iolo, fel y gwnaeth Dafydd ab Gwilym, oddi ar ferch brydweddol o'r enw a flodeuai yn y chweched ganrif, yr hon a alwai Myrddin yn "Galon Galed." (Gwel *Barddoniaeth Dafydd ab Gwilym*, tudal. 536). Pa un bynag, dengys Iolo yn y cyfansoddiad hwn ei fod yn fardd gwych, ac fod yn ei natur gryn lawer o'r elfen chwarëus. Yr ydym yn cymmeryd yn ganiatäol, oddi wrth natur y testyn, a'r hoenusrwydd sydd yn rhedeg trwyddo, iddo gael ei gyfansoddi mewn adeg gynnar ar fywyd y bardd. Eto, ar yr un pryd, gwelwn ei fod yn galw ei hun yn "gleiriach" (=hen wr methiantus) yn llin. 33.

Doe /r/ pryd hwnn ir oeddwn i
drwy fedw yn ymdrafodi
ag Euron hardd goror hoew[1]
gorwyr Eigr[2] gair oreûgroyw

[1] "Goron hoyw"—*Add. MS.*, 14,964; "goroen hoyw"—*Hengwrt MS.*

[2] Eigr oedd gariadferch Uthr Bendragon, a mam Arthur, yr hon oedd nodedig am ei glendid. (*Barddoniaeth D. ab Gwilym*, tudal. 535).

gavael daer am y gofl[1] dêg
a gevais gwnn i gefeg[2]
gavael arddwrn a gevais
gaifn hael[3] am gefn i hais
gavael chwith a wnaeth hithau
agwedd mwyn am y gwddw mau[4]
ymwasgu fal cwlm ysgwthr
am aur coeth[5] ymwyrio[6] cwthr
ymgyssanu i byam[7]
ni by hir hynny baham
diystyr oedd distryw[8] oer
gan fûn oleulûn[9] liwloer
ymysg y coed am was cû[10]
am esgyrn[11] cul ymwasgû
goglais ganti[12] pan giglaû
trawswch[13] a blew morwch maû

[1] "Gofl" = coflaid.

[2] "Ei gofeg."—*Add. MS.*, 14,964. "Gofeg" = meddwl.

[3] "Gefn hoyw."—*Add. MS.*, 14,964. Gefyn = llyffethair; "gaifn" yn lluosog, ac yn awgrymu yr ymgofleidiad mwyaf gwresog ac anwyl.

[4] "A gwaedd mwyn am y gwddf mau."—*Hengwrt MS.* I'r Canon Silvan Evans yr ydym yn ddyledus am y llinellau o'r cywydd hwn a geir yn yr *Hengwrt MS.*

[5] "Coch."—*C. Ll. G.*

[6] Ai "ymwrio" (= *to strive mutually*) a feddylir?

[7] "buam" = y buom?—"y bu am" yn *C. Ll. G.*

[8] "Diystryw"—*Add. MS.*, 14,964; "dystyru fil dystryw foer."—*C. Ll. G.*

[9] Gwell nag "oleulyn."—*Add. MS.*, 14,964.

[10] "Ym ystryw rhoed am wasg cu."—*C. Ll. G.*

[11] "Hesgyrn."—*Add. MS.*, 14,964.

[12] "Ganthi"—*Add. MS.*, 14,964; "gentti"—*C. Ll. G.*

[13] Fel hyn y darllena y llinell yn *Add. MS.*, 14,964:—

"Drawsdwf y blew m$^{a}_{o}$wr fwx mau."

Y mae Goronwy Owen yn cunmol y "trawswch" ("Cywydd y Farf"):—

"Medrusaidd im' ei drawswch,
A gwynfyd yw byd y bwch."

Gwelir felly fod "trawswch" (*moustaches*) yn cael eu gwisgo yn y bedwaredd ganrif ar ddeg, yn gystal ag yn y ddeunawfed. Ond fe'n hysbysir mai lled eithriadol oedd eu gweled ar wefus y Cymro yn y rhan gyntaf o'r ganrif bresennol.

ar farf gnaifedig ddig ddysg[1]
crin gorbedw fal croen garwbysg[2]
rhisglen o geûbren gobraff[3]
yn rhisglo /r/ grûdd fal rhasgl graff[4]
wtt! heb y gwenn atteb gwych
paid ti poed oer i peidych[5]
nessa[6] hwnt flew danas hen
somgar wyt a oes amgen[7]
cael serthedd cilais[8] wrthi
ni chwery fawr ni char fi[9]
diriaid[10] iawn yw'r[11] drûdaniaeth
ba[12] ddiawl anneddfawl a wnaeth

[1] "Fy marf gneifiedig ddig-ddysg."—*C. Ll. G.*

[2] Tybiwn fod y testyn, gyda'r hwn y cytuna yr *Hengwrt MS.*, yn well yma na'r darlleniadau a ganlyn :—

"Crin gor oediw fal croen garw bysg."—*Add. MS.*, 14,964.

"Grin gerbyd fal croen garw bysg."—*C. Ll. G.*

[3] "Rhisglyn hen geubren gobraff."—*C. Ll. G.*

[4] "Yn rhasglu grudd mal rhasgl graff."—*Add. MS.*, 14,964.

"Yn rhisglo grudd mal rhagl graff."—*Hengwrt MS.*

"Yn rhisglo'u grudd fel rhasgl graff."—*C. Ll.* .

"Rhasgyl" = *a slicer*, a draw-knife.—Dr. W. O. Pughe.

[5] "Wtt! eb y gwen atteb gwyx
Paid ŵr poed oer y peidyx."
*Add. MS.*, 14,964.

"'Howld!' eb Gwen, nid atteb gwych,
'Paid ti, poed oer y peittych.'"—*C. Ll. G.*

Tebyg nad ydyw "Gwen" yn llin. 25, mwy nag "Euron" yn llin. 3, yn golygu unrhyw berson neillduol. Yr oedd y beirdd, yn enwedig Dafydd ab Gwilym, yn rhoddi yr enw *Gwen* yn fynych ar ferch.

Rhydd Goronwy Owen ymadrodd tebyg yng ngeneu ei gariad, pan yn canu i'r Farf :—

"Difudd oedd ceisio'i dofi :
'Ffei o hon, hwt!'—ffoi wnai hi."

[6] "Dynesa."—*Add. MS.*, 14,964.

[7] "'Ffwrdd! ffwrdd a thi! ffordd a'th ên!
Somgor wyt, a oes amgen.'"
*C. Ll. G.*

[8] "Ciliais"—*Add. MS.*, 14,964, a *C. Ll. G.*

[9] "Ni xwenu fawr, ni xar fi."
*Add. MS.*, 14,964.

"Ni chweru'r ferch ni char fi."
*C. Ll. G.*

[10] "Diriad"—*Add. MS.*, 14,964, a *C. Ll. G.*

[11] "Yw"—*Add. MS.*, 14,964; "fu'r"—*C. Ll. G.*

[12] "Pa."—*C. Ll. G.*

i gleiriach bwbach i bobl[1]
gussanu gwefûs sinobl[2]
digri oedd weled ged gû
deugorff wan yn ymdagû[3]
eûthym am bagad eithin
em aur i feingl i min[4]
ysglyfiais Bax diwaxa[5]
ys gwefl[6] dyn bû ysgyfl[7] da
[8]darfy vm dyllû heb dwyll
barbed fymun syberbwyll
briwais glaer wyneb braisg lamp
a bochgern merch ddibechgamp
gwesgais digroenais i grûdd
gwasgrwym tost ar ddyn gwisgrûdd[9]
[10]garw yw o beth ar gwrr boch
i bod fal bargod burgoch[11]

[1] "Y bobol." – *C. Ll. G.*

[2] "Gusanu'r fwyn, dan dwyn dôl."—*C. Ll. G.*

[3] "Digrif oedd gweled ged gu
Daugorph wan yn ymdagu."
*Add. MS.*, 14,964.
"Digri oedd weled gwedd gu
Deugorff Wen yn ymdagu."
*C. Ll. G.*

[4] "Aethym am bagad eithin
Em aur i Feingil ei min."
*Add. MS.*, 14,964.
"Aethum a'm bargod eithin
Em aur i sipio'i min."
*C. Ll. G.*

[5] "Y glysais Bax di waxa."
*Add. MSS.*, 14,873, a 14,964.
"Ysglyfiais barf di-warfa."
*C. Ll. G.*

Y mae Golygydd *Ceinion Llenyddiaeth Gymreig* yn egluro "diwarfa" trwy roddi *di warafun* ar waelod y ddalen; ond "Bacs di wacsa," neu "Bax di waxa" a geir yn yr ysgriflyfrau yn gyffredin—a thebyg mai rhyw "ymadrodd gwneyd" am *gusan* ydyw.

[6] "I gwefl"—*Add. MS.*, 14,964; "Is gwefl"—*Hengwrt MS.*, a *C. Ll. G.*

[7] "Ysgwfl."—*Add. MS.*, 14,964. Ysgwfyl = *a snatch*.

[8] Nid ydyw llin. 41-42 yn *C. Ll. G.*; ond ceir y ddwy a ganlyn yn eu lle :—
"Yn serchog dawedog daer
Yn glochydd i'm goleuchwaer."

[9] "Gwasgrwym tost am ddyn gwisg-rydd."—*C. Ll. G.*

[10] Yn *Add. MS.*, 14,964, ac yn debyg yn y llyfrau ereill, ceir y ban canlynol o flaen llin. 47 :—
"Ox nad wyf rhwng ei dwyfer
Oer fore fyth ir Farf fer."
Y farf, fel y gwelir, oedd wedi peri i'r ferch gilio.

[11] Ym mhlith awgrymiadau ereill a glywsom fel rheswm dros fod y

bondo[1] o frig perth bendew
byrrion fydd[2] blaenion i[3] blew
tin ab gûl tenau heb gig
twyn o farfrwyn[4] oferfrig
gardiau o baithynau bwth
ne rawn moelrhawn ymylrhwth[5]
kyloren lom kûl aresg
kolion haidd kelyn a hesg[6]
knawd ar ol meddawd i mi
gnaifio marf gnûf mieri[7]
ni aill hi nawell yw hynn[8]
eillio honn[9] a min ellyn
anrhegion mawr anrhygoll
a gaffwn bes eilliwn oll[10]
diofryd peth nid afryw[11]
a roddaf o byddaf byw

bardd yn cael ei alw yn Iolo *Goch*, sylwai un y gallai ei wallt fod o'r lliw hwnw; ac er yr awgrymir yma mai *barf goch* oedd ganddo, nid ydym yn tybied mai hyny oedd y rheswm.

1 "Bondo"=bargod.

2 "Yw."—*C. Ll. G.*

3 "Y"—*Add. MS.*, 14,964, a *C. Ll. G.*; "ei"—*Hengwrt MS.*

4 "Forfrwym" — *Add. MS.*, 14,964; "brif frwyn"—*C. Ll. G.*

5 "Gardie o beithyne booth
Neu rawn Moelrhawn ymylrhwth."
*Add. MS.*, 14,964.
"Gardiau o bevthynau bwch
Neu rawn moelrhawn ymylrhwch."—*Hengwrt MS.*
"Gardiaf o baithgnaf bwth,
Neu rawn moelrhwn ymwelrhwth."—*C. Ll. G.*

6 Y mae hwn yn well darlleniad nag a geir yn *Add. MS.*, 14,964:—
"Cloren lom culor hesg
Coliom haidd celyn o hesg."

7 "Gnawd yn ôl medddod i mi
Gneifio marf gnu Mieri."
*Add. MS.*, 14,964.
"Gwnawd ynot myfyrdawd i mi
Gneifio y marf gnu mieri."
*C. Ll. G.*

8 "Ni aill tri nawell yw hyn."
*Add. MS.*, 14,964.
"Ni aill ei nawdd yw hyn."
*C. Ll. G.*

9 "Eilliaw hon."—*Add. MS.*, 14,964.

10 "Anrhegion wyf ddyn rhygoll
A gaffwn pe's eilliwn oll."
*Add. MS.*, 14,964.
"Anrhegion mawr yn hygoll,
A gawswn ped eilliaswn oll."
*C. Ll. G.*

11 "Diofryd peth diafriw."
*C. Ll. G.*

cnaifio marf rhag fy nharfû[1]
cnaifiad oen cynhayaf dû[2]
dros i gadw ym draws geden[3]
i dyfu gayaf[4] gnu gen
i gûddio /r/ croen ar gwddw crych[5]
ar ddwyfron mor arddifrych[6]
o mynaf serchokaf son[7]
ymgaru mi ag euron.

Iolo Goch ai kant.

[1] "Rhag ei tharfu"—*Add. MS.*, 14,964; "cyn ei tharfu"—*C. Ll. G.*

[2] "Cneifiad oen cynhauaf du." *C. Ll. G.*

Nid ydyw y llinell hon yn ffafrio y rhai a awgrymant i'r bardd dderbyn y cyfenw o *Goch* oddi wrth liw ei wallt.

[3] "Dros ei gadu'n draw geden." *Add. MS.*, 14,964.
"Dros ei gadu'n draws geden." *C. Ll. G.*

[4] "Gauaf."—*C. Ll. G.*

[5] "Gwddf rwyth."—*C. Ll. G.*

[6] "Orddiffrwyth."—*C. Ll. G.*

[7] "O mynaf serchocaf son." *C. Ll. G.*

# XLVIII.

## *I FERCH.

*(O Lyvr Huw Lleyn—Add. MS., 14,967, fol. 41b).*

Ceir y cywydd hwn hefyd yn *Add. MS.*, 14,970, dan y penawd "Cywydd pan oedd y Bardd yn Glaf;" ac yn *Y Piser Hir*, dan yr un penawd. Mewn rhestr o gyfansoddiadau Iolo Goch yn y *Cambrian Journal*, 1854, p. 274, ei benawd ydyw "I Ferch, pan oedd ef glaf," ond gallem feddwl, wrth ddarllen y cywydd, mai claf o gariad ydoedd gan fod ynddo gyfeiriadau mynych at ferched. Gellir felly yn briodol restru y cywydd hwn ym mhlith rhiangerddi y bardd. Ymddengys fod ei awduriaeth yn cael ei briodoli yn rhai ysgriflyfrau i Dafydd ab Gwilym, o blegid ar ei ddiwedd yn *Add. MS.*, 14,970, ceir y nodyn a ganlyn:—"Iolo Goch ai cant, *ait* D. E.; D. ab Gwilym, medd llawer llyfr, *ait* Iolo Morganwg." Nid ydyw i'w gael ym *Marddoniaeth Dafydd ab Gwilym*, a gyhoeddwyd yn 1789, ac nid ydym yn gweled ei gynghaneddion yn tebygu i eiddo y bardd hwnw. Y mae gwaith Dafydd ab Gwilym yn ystwythach a mwy melodaidd.

Hir ywr dydd kethlydd kaethloer
Ys hwyr nos naws hayarn oer[1]
Hir ywr wythnos dros draserch
4 Ys hwy r mis ym o syr merch[2]

[1] "Hir yw'r dydd cethlydd caethloer
Ys hwyr a naws haearn oer."
*Add. MS.*, 14,970.
"Ys hwyr no naws haiarn oer."—*Piser Hir*.
'Kethlydd" = caniedydd: ond pa beth yw "kaethloer"—ai lleuad dywell?

[2] "Hir yw'r wythnos dros draserch
Ys hwy'r mis ym o syrr merch."
*Add. MS.*, 14,970.

Hir yw'r tymor hurt ymy
Vod mon tost i vod mewn ty[1]
Ys hwyr yw i hystlys hi
Y vlwyddyn oervel iddi[2]
Am baham ym y bai hir
amser haf ym sarheir
Nid aeth vy llaw hiraethlawn
Ar dant telyn rymiant rawn[3]
Ni thyvodd yr ail ddeilien
Ni thrig dim or brig ar brenn[4]
Ni chant edyn havnant yn hawdd
Yn luosog ni leisiawdd[5]
Tref o'm gwlad yr tra vum glaf
truan gwr er ys trihaf[6]

" Sir merch."—*Piser Hir.*

Yr oedd y bardd yn gweled yr amser yn llusgo ym mlaen yn araf —diwrnod cyhyd ag wythnos, wythnos gyhyd a mis, &c., a'i holl fywyd wedi myned yn flinder iddo am fod merch wedi sori (digio) wrtho.

[1] " Hir yw'r tymmor hurt ymmy
tyd mad tost o fod mewn
ty."—*Add. MS.*, 14,970.

Y mae y ddau air blaenaf yn y llinell olaf, yn y darlleniad hwn yn gystal ag yn y testyn, wedi llygru cymmaint fel yr ydym yn colli meddwl y llinell. Darllena yn *Y Piser Hir* :—" T'yd mad tost o fod mewn tŷ."

[2] " Ys hwy yw ei hystlys hi
Y flwyddyn oerfel iddi."
*Add. MS.*, 14,970, a'r *Piser Hir.*

[3] " Ar dant telyn rhwymyn
rhawn."
*Add. MS.*, 14,970.

" Rhymiant " a olyga *ymestyn* – fel tant.

[4] " Ni thyfodd yr ail ddailen
Ni thrig o'r brig ddim ar
brenn."—*Add. MS.*, 14,970.

Awgrymir i ni yn y llinellau hyn ei bod yn auaf chwerw ar y bardd, ond y mae yn anhawdd gwybod pa un ai sefyllfa ei feddwl ynte tymhor y flwyddyn a feddylia ; o bosibl nad ydyw yn cyfuno y ddau.

[5] " Ni chant hedydd heunant
hawdd
Yn luosawg ni leisiawdd."
*Add. MS.*, 14,970.

Gair ag sydd yn peri dyryswch i ni ydyw "havnant," neu "heunant," os nad llygriad ydyw o *heiniant=swarming*—yr adar yn heidio yn lluosog o herwydd toster yr hin, ond heb ganu.

[6] " Tref om gwlad tra fum i glâf
Truan gŵr er ys trihaf."
*Add, MS.*, 14,970.

Dywed y bardd yma ei fod yn byw, neu yn cartrefu, allan o'i wlad tra y bu yn glaf, ond ni ddywed ym mha le yr oedd. Ymddengys hefyd iddo fod ymaith am agos i dair blynedd.

Nid byth kynt llyth o haint llyn
Y byddaf glaf na bowddyn[1]
Ni bu yrioed[2] bai ar wr
Trwsiad waeth ar wtreswr[3]
Yr pann vu hoywlv helynt
Ar awen garidwen gynt[4]
Gorddwy a ffoen[5] angerddawl
Ar Dal iessin[6] melin mawl
Yr[7] na bwyf iawn rwyf un ras
Ac eva mwy a gavas[8]
Minau a wnaf ym enaint
i vwrw hynn o verw a haint[9]

1 "Nid byth hynt llyth o haint llynn
Y byddaf glaf a bawddyn."
*Add. MS*, 14,970.

"Llyth" = lliprynaidd, sef y sefyllfa y dygwyd ef iddi trwy y clefyd.

2 "Erioed."—*Add. MS.*, 14,970.

3 "Wtreswr" = gloddestwr.

4 "Er pan fu hoywlu helynt
Ar awen gariadwen gynt."
*Add. MS.*, 14,970.

Ymddengys fod Iolo Goch, fel ereill o feirdd y Canoloesoedd, yn ystyried Cyridwen, neu Ceridwen, fel duwies yr awen. Gosodir hi allan fel gwraig i Tegid Foel, etifeddiaeth yr hwn a safai yng nghanol Llyn Tegid. Mab iddynt oedd Afagddu—y dyn hagraf yn yr holl fyd; a merch iddynt oedd Creirfyw-yr hon oedd decaf o'r merched. Gan fod y mab mor hagr, gwelodd Ceridwen na chaffai ei dderbyn i blith boneddigion oni byddai yn meddu ar ryw rinweddau i orbwyso hyny; ac yna parodd ferwi Pair o Awen a gwybodau, yr hwn oedd raid ei ferwi am un dydd a blwyddyn, hyd oni cheid tri dyferyn o'r drwyth i Afagddu. Ond yn anffodus syrthiodd y dyferynau hyn ar fys Gwion, yr hwn a osodasai hi i ofalu am y Pair, a chan eu poethder rhoddodd Gwion ei fys yn ei enau, a daeth i wybod pob peth. Yna aeth trwy nifer o drawsffurfiadau, a Cheridwen yn ddigofus ar ei ol; ond y diwedd fu iddo gael ei bysgota allan yn agored Wyddno, rhwng Aberdyfi ac Aberystwyth, ac adnabyddwyd ef ar ol hyny wrth yr enw Taliesin Benbeirdd. Dyna fraslinelliad o'r chwedl, at yr hon y cyfeirir yma.

5 "Gorddwy a phoen."—*Add. MS.*, 14,970. "Gorddwy" = gorthrwm.

6 "Daliesin."—*Add. MS.*, 14,970.

7 "Er."—*Add. MS.*, 14,970.

8 "Ag efo mwy a gafas."
*Add. MS.*, 14,970.

9 "Minnau a wnaf im ennaint
I ferw hyn o f rw a haint."
*Ada. MS.*, 14,970.

Y mae y bardd yn myne ddilyn esiampl Ceridwen trwy wne hur enaint i wella ei hun.

Mi a yr pwll lle maer pair[1]
Dadeni[2] da dianair
Ac a ddof pann gau ddyvod
Yn oed gordderchwr yr nod[3]
Pann ddel Mawrth a'i ryvawrthin[4]
a chilio gwynt a chael gwin
A gloywlaw wybr golevlawn
a gwlith anghen vrith[5] ynghawn[6]
A niwl gwyd[7] yn ol y gwynt
Yn diffryd kanol dyffrynt[8]
A'r hedyddod rhai diddan
Yn kael yn yr wybr i kan[9]
A tho mai a thai mwyailch
a pheintio gwydd a phynt gweilch[10]
Kynyrch[11] ar seithiyrch y sydd
a hindda a Gwanhwynddydd

[1] "Mi a i'r pwll lle mae'r pair."
*Add. MS.*, 14,970.

Gan gyfeirio at Bair (traddodiadol) Ceridwen.

[2] "Dadeni" = adnewyddu—"Tair Eisteddfod Dadeni"—ond yma yn golygu enaint i'w wneyd yn ddyn newydd.

[3] "Ag a ddof pan gaf ddyfod
Yn oed gordderchwr i'r nôd."
*Add. MS.*, 14,970.

"Gordderchwr" = cariadfab — y mae y llinell hon, yn gystal ag amryw ereill o hyn i'r diwedd, yn awgrymu, fel y crybwyllasom eisoes, mai "claf o gariad" oedd y bardd.

[4] "Pan ddel Mawrth a'i ryfawrthin."—*Add. MS.*, 14,970.

"Rhyfawrthin" = Gwynt Mawrth.

[5] "Anghenfrith." — *Add. MS.*, 14,970.

[6] "Ynghawn" (*yn* a *cawn*) = yn y gwellt - lledgyfeiriad at wellt y ddaear yn tyfu ar ol i ddryghinoedd Mawrth fyned heibio.

[7] "Gwydd."—*Add. MS.*, 14,970.

[8] "Yn diffryd canol dyffrynt."
*Add. MS.*, 14,970.

"Diffryd" = amddiffyn, cysgodi. "Diffrynt" (o *dwfr* a *wynt*) ydyw yr hen ffurf ar *dyffryn*, a defnyddid ef gan y beirdd gan ei fod yn eu galluogi i odli.

[9] "A'r hedyddion rhai diddan
Yn cael yn yr wybr eu cân."
*Add. MS.*, 14,970.

Dengys Iolo, yn y llinellau hyn a'r rhai dilynol, y medrai dynu darlun prydferth o Natur.

[10] "A tho mai athai mwyailch
A phaentio gwydd a phynt gwailch."
*Add. MS.*, 14,970.

"a phynt" = â phaint?

[11] "Cynnyrch" — *Add. MS.*, 14,970, a'r *Piser Hir*.

hynn y sydd ddiwenydd[1] ym
Kael o'm hoedl kwlm ehudlym[2]
Mynychu i dyvu dawn
Att rys dec wtres digawn[3]
Klywed gwaslef merched mai
Kwn a hely am kynhaliai[4]
Byhwman y winllan werdd
Yny glasgoed enw glwysgerdd[5]
Kyd orwedd mewn koed irwydd
Kyrchu ffair kywrch ar ffyrdd[6]
A bwrw nyn nis bwriai neb
Danaf ar ei lledwyneb[7]

[1] "ddywenydd" — *Add. MS.*, 14,970; "diwenydd"—*Piser Hir*.

[2] "Cael o'm hoedl cwlwm ehud-
lym."—*Add. MS.*, 14,970.
"Cael o'm hoedl cwlwm cud-
lym."—*Piser Hir*.

[3] "Mynychu i dyfu dawn
At Rhys deg wttres digawn."
*Add. MS.*, 14,970.

Nid oes unrhyw gyfeiriad pellach yn y cywydd yn ein galluogi i ddyfalu, heb son am benderfynu, pwy oedd y Rhys a enwir yma—y mae yn amlwg ei fod yn gyfaill i'r bardd, pwy bynag ydoedd; ac y mae yn addaw iddo ei hun gael cydloddesta ag ef yn helaeth. Hwyrach mai at Rhys ap Robert o'r Kinmael y cyfeirir. (Gwel Cywydd Rhif LXXIII., llin. 57-62).

[4] "Clywed gwaslef merched mai
Cwn a hel a'm cynhaliai."
*Add. MS.*, 14,970.

Noda y bardd amryw bethau a fuasai yn codi ei galon; yn gyntaf, gwaslef (*giggle*) merched ar Galan-mai, gan gyfeirio, mae'n debyg, at y rhialtwch a gynhelid ar y diwrnod hwnw; ac yn nesaf at hyny buasai canlyn cwn hela wrth ei fodd.

[5] "Bwhwman i winllan werdd
Yn y glasgoed enw glwys-
gerdd."
*Add. MS.*, 14,970.
"Bwhwman y winllan werdd."
*Piser Hir*.

[6] "Cydorwedd mewn coed
irwydd,
Cyrchu ffair curwch ei ffydd."
*Add. MS.*, 14,970.

Gwelir yr arferai y bobl ieuainc fyned i ymddifyru mewn ffeiriau yn amser Iolo; a dengys y llinellau dilynol fod y ddau ryw wedi dysgu bod yn lled hyf ar eu gilydd hefyd. Darllena y ban hwn yn *Y Piser Hir* fel hyn:—

"Cyd orwedd mewn coed
irwydd,
Cyrchu ffair curwch a ffydd." Nota

[7] "A bwrw y nyn nis bwriai neb,
Dyna ar ei lledwyneb."
*Add. MS.*, 14,970.

"Nyn"=dyn; ond, fel y gwelir yn fynych yng ngwaith Iolo a'i gydoeswyr, arferid y ffurf hon ar y rhyw fenywaidd—ac felly yma. Gwel hefyd Cywydd Rhif L, llin. 46 a 54.

Ymddiddan gan gyveddach
hynn a wnai gorff hen yn iach.[1]

Iolo Goch ai kant.[2]

[1] "Ymddiddan gwledd cyfeddach
Hynn a wnai gorph hen yn
iach."—*Add. MS.*, 14,970.

Yr ydym yn gobeithio, er mwyn moesau yr oes hono, nad oedd Iolo wedi myned yn hen, fel yr hanner awgryma, pan gyfansoddodd y cywydd hwn; neu, os oedd, ei fod yn fwy cnawdol ei syniadau na'i gydoeswyr yn gyffredin. Pa fodd bynag, nid ydyw y deuddeg llinell olaf, yn y rhai y ceir rhestr o'r pethau a ystyriai yn hanfodol i'w ddedwyddwch, yn gydnaws a syniadau yr oes hon am foesoldeb.

[2] "Guttyn Ywain ai Kant," gyda chroes ar draws *Guttyn Ywain*, a *Iolo Goch* uwch ben, wedi ei ysgrifenu gan y copïwr.

Ar ddiwedd y cywydd, yn *Y Piser Hir*, ceir a ganlyn:—"Iolo Goch a'i Cant, pan oedd yn cymmeryd arno fod yn glaf."

# XLIX.

## COWYDD MERCH.

*(O Jesus MS., C. 101, p. 103).*

Yn y cywydd hwn, y mae y bardd, ar ol rhagymadrodd o bymtheg llinell, yn rhoddi adroddiad o ymddyddan a gymmerodd le rhwng mab ieuanc eiddigeddus a merch ieuanc brydweddol. Ymddengys fod y mab ieuanc hwn yn gystal a Iolo ei hun yn caru merch, yr hon, o llin. 17 hyd y diwedd, sydd yn adrodd i'r bardd y cweryl fu rhyngddi â'i wrthymgeisydd o'i blegid ef. Er mwyn deall y cywydd dylid sylwi mai y cariadlanc siomedig sydd yn siarad yn y llinellau a ganlyn :—23, 25, 27-32, 35-36, 41 a 43 ; y mae y ferch yn ei ateb yn llinellau 24, 26, 33-34, 42 a 44 ; ac yn llinellau 37-40 rhydd y ferch ddysgrifiad o'r modd yr ymddygodd at y llanc—sef, cymmeryd ffon a'i droi allan o'r tŷ. Y ferch ei hun, fel y gwelir, a adroddai yr helynt hwn wrth Iolo Goch. Ond rhydd y cywydd gipdrem ar sefyllfa isel moesoldeb yr oes. Y mae y cyhuddiadau a ddygai y llanc ieuanc yn erbyn Iolo a'r ferch—pa un bynag ai dychymmygol ai gwirioneddol oeddynt—sef eu bod wedi eu gweled gyda'u gilydd ar wahanol amserau mewn ysguboriau, yn awgrymu fod y fath arferion anfoesol yn ffynu yn y bedwaredd ganrif ar ddeg, a hyny ym mhlith—*os* caniateir fod Iolo Goch yn arglwydd, neu yn fab i arglwydd, Llechryd—y dosbarthiadau goreu mewn cymdeithas. Yn hyn y mae hyny o werth sydd yn y cywydd yn dyfod i'r golwg—sef ei fod yn ychwanegu at y defnyddiau sydd genym y rhai a daflant oleuni ar sefyllfa gymdeithasol y cyfnod. Nid ydyw y cywydd ei hun ond cymharol ddiwerth fel dernyn o farddoniaeth; a phrin y tybiwn fod yr ysgriflyfr o'n blaen yn cynnwys adysgrif

gywir o hono. Ceir ynddo, fel y mae, wallau pwysig, yn enwedig yn hyd rhai o'r llinellau. Ond ein hamcan ni ydyw casglu cynnifer o ganiadau y bardd ag a allom, ac nid gwneyd detholiad. Y mae yn amlwg, feddyliem, oddi wrth natur y testyn, yn gystal a'r arddull, fod hwn yn un o gyfansoddiadau boreuaf Iolo.

Y ferch a wisg yn sientli[1]
main i hael[2] a mwyn yw hi
ni by[3] achos nag ystyr
er lladd gwenn foi llyddiodd gwyr
ond i myned illdeyoedd
o ddychymig eiddig[4] oedd
chware synn chwerw fy /r/ synwyr
canu im llaw[5] gwell i cnoi /n/ llwyr
canu im llaw er gwrandaw gwir
minau biau eboir[6]
pam i tau synhwyrau son
amau hynn am i hanvon
pwy hanfones lles llun
Iolo goch ai law gychwun[7]
pam i kar mab or lle mae
cared o chared chwarae
gad yna heb[8] y geinferch
am niver um min fym serch

[1] "Sientli," o'r Ffrancaeg *gentil* (Seis. *nice*), mae'n debyg. O'r un gair Ffrancaeg hefyd y daw y gair Seisoneg *genteel*.

[2] "Hael"=ael y llygad (=*eye-brow*).

[3] Ymddengys fod yr un a gopïodd yr ysgriflyfr hwn yn lled hoff o roddi *y* yn lle *u*; ac *u* yn lle *y*.

[4] "Eiddig"=*jealous*.

[5] Y mae gan Dafydd ab Gwilym (*Barddoniaeth*, tudal. 76) gywydd dan y penawd "Morfudd a'r Bardd yn chwareu cnau i'm llaw," yn yr hwn y dywed :—

"Cnau i'm llaw ddeau ddiwg
I mi don', dyn mwyn a'u dwg."

Diammeu mai "cnau im llaw" a ddylai fod yma.

[6] Er chwilio cryn llawer yr ydym yn gwbl analluog i wneyd allan feddwl y gair "eboir." Ai "heb ohir"=(*without delay*) a feddylir?

[7] Gallem feddwl fod y "gychwun" (gychwyn) yma yn awgrymu yn gryf mai hwn oedd un o gywyddau cyntaf y bardd.

[8] "Heb" = ebai — h.y., "Gad yna, ebai y geinferch."

penn egorodd i ddwylaw
mynn y ne nid mwy na naw
tafly o eiddig y knau oi law
y mysg llydw mawn a llidiaw
fo fy iolo genyd[1]
pwy a braw hyny pa bryd[2]
fo fy genyd yn fynych
na fy oni by na bych
fo ath weled nos wyl fair[3]
ti ag e mewn tu a gwair[4]
ag ath weled nos ynyd
ti ag e mewn tu ag yd
fynghred pe doethwnn attoch
gwnaethwn ffo ir cadno coch
ni chiliai /r/ gwas difai da
er undyn hyd yr india[5]
kelwydd heb y gwr kylael[6]
kiliai ne gelai dy gael
kael o eiddig farfddig fferf
krynnffon wialenffonn lownfferf
rhoi pwys y ffonn ar honno
ar hud i ffenn by raid ffo
dos allan gynta i gellych
nag a nes gwis od wy was gwych
dos i ddiawl wenwynawl naid
nag a syref neges afraid

Iolo Goch ai cant.

[1] "Fe fu Iolo gyda thi."

[2] Gwelir nad ydyw y ferch yn gwadu; ond yn ysgoi yr atebiad trwy ofyn dau gwestiwn.

[3] Disgyna Hen Wyl Fair ar Ebrill 6; a chan fod yr Ynyd (llin. 29) yn dygwydd ym Mawrth neu Ebrill, nid oes ond ychydig o ŷd na gwair yn yr ysguboriau.

[4] Ti ag ef mewn tŷ a gwair.

[5] Nid oes yr un dyn o'r tu yma i'r India, meddai y ferch, a wna i Iolo gilio. Ymddengys oddi wrth hyn fod Iolo yn ŵr dewr, ac fod y ferch hefyd yn credu yn ei ddewrder.

[6] Gwr â'r cilwg = *downcast look.*

## L.

## CYWYDD I FERCH.

---

*(O'r Llyfr Coch o Hergest, col. 1407).*

Nid oes unrhyw benawd i'r cywydd yn yr ysgriflyfr uchod amgen na "Iollo goch ae cant," ond mewn ysgriflyfrau ereill ceir "I Ferch," "Co. i Ferch," &c., uwch ei ben. Y mae i'w gael yn *Add. MSS.*, 14,966, a 15,001. Yn yr olaf, dywedir iddo gael ei adysgrifenu o'r *Llyfr Coch*, ond bu y copïwr yn hynod o esgeulus. Y mae i'w gael hefyd yn *Glanyrafon MS.*, *K.*, fol. 36; ac yn argraffedig yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 5, dan y penawd "Cywydd, yn yr hwn y mae y Bardd yn Darlunio ei Ddewis-Ddyn."

Y mae yn ddigon amlwg i'r bardd gyfansoddi y cywydd hwn pan yr oedd yn ddyn cymharol ieuanc; o blegid y mae yn llawn o'r hoenusrwydd a'r asbri hwnw ag sydd yn nodweddu ieuenctyd. Gallwn dybied hefyd ei fod yn canu i ryw ferch neillduol, yr hon a ddysgrifia yn hynod o fanwl. Pa fodd bynag, nid ydyw y bardd yn rhoddi enw y ferch o gwbl, nag yn rhoddi un awgrym i ni allu dyfalu dim yn ei chylch. Ymddengys ei bod yn un o'r rhianod pryd-ferthaf; neu, o leiaf, tybiai y bardd ei bod felly. Ac ar y prydferthwch hwn yr oedd Iolo wedi sefydlu ei feddwl, yr hyn ynddo ei hunan sydd yn awgrymu yn gryf iddo ei gyfansoddi pan yn ieuanc. Pe yn hŷn mewn dyddiau, ond odid na fuasai yn edrych am rywun yn meddu ar rinweddau ereill heb law glendid corfforol; ac os oedd hon yn fedd-iannol ar rai o'r cyfryw, nid ydyw y bardd yn son am danynt, gan nad oedd eto, yn ddiammeu, wedi casglu digon o brofiad i'w gwerthfawrogi. Ond, a chymmeryd y cywydd am y peth ydyw, dengys fod ei awdwr yn fardd rhagorol.

Meddai ar allu i bortreadu ac i ddysgrifio prydferthwch y rhyw fenywaidd i'r fath raddau fel nad oedd yn ail i neb yn ei oes, ac eithrio Dafydd ab Gwilym.

Karu d6yf karueid y6[1]
k6relrud kiriwal ry6[2]
kares valch hepcores ued
karedic uerch kaer decued.[3]
Kaegen difethyl ael gethloy6
keginwrych geir6d6fyr crych croyw.[4]
[5]Kegideu[6] bebyrwen babyl
cogeilgorff ku o gelgabyl

[1] I unrhyw un sydd wedi cael ychydig o brofiad mewn darllen llenyddiaeth y Canoloesoedd bydd y ffurfiau hynafol a geir ar eiriadaeth y cywydd hwn, ac ereill a gymmerwyd o'r *Llyfr Coch*, yn ymddangos yn ddigon syml a dealladwy; felly ofer a fyddai i ni wastraffu amser a gofod i droi pob gair i orgraff ddiweddar; er enghraifft troi y llinell gyntaf i "Caru ddwyf caruaidd yw." Pa fodd bynag, nid anfuddiol a fyddai i ni roddi yma ddarlleniadau ereill, y rhai, er eu bod o lyfrau diweddar, a ddichon fod wedi eu cymmeryd o lyfrau o werth ac oedran cyfartal i'r *Llyfr Coch* ei hun.

[2] "Cwrelrydd cri ofalryw."
*Add. MS.*, 14,966.
"Cwrel-rudd criawalryw."
*C. Ll. G.*

Ei gruddiau fel y cwrel, ac o ryw y ciriol = *munificent*, neu o natur haelionus. Felly, fe welir fod y testyn yn gywir. Nid oes unrhyw synwyr yn "cri ofalryw."

[3] "Cares ferch hepgores fedd
caredig ferch caer o degfedd."--*Add. MS.*, 14,966.
"Kares ferch hepgores fedd
kyrydig ferch kaer degfedd."
*Glan. MS.*

Gwell "valch" na "ferch" yn y llinell gyntaf, o blegid ceir "uerch" yn yr ail; ac am *w* y saif yr *u* yn "ued" a "decued" = *wedd* a *degwedd*.

[4] "Cangen ddifeth ael gether loyw
cyginwrych crychddwr crych croyw."—*Add. MS.*, 14,966
"Kangen ddiffeth ael gethrloyw
kigeinwrych keioddwr krych kroyw."—*Glan. MS.*

"Cethrloyw" = *bright point*, gan gyfeirio at ei llygad; "keginwrych" (neu ceginwrych) = gwallt crych. Y mae y bardd yn pentyru geiriau bron o'r un ystyr yma.

[5] Yn blaenori llin. 7 yn *Add. MS.*, 14,966 (ac yn gyffelyb yn *Glan. MS.*) ceir a ganlyn:—
"Hoyw liw /r/ don fal haul ar dwr
brwynen gorff heb rin yngwr
lliw eira bas ar lasgraig
llewyrch dwr rwyf ar dor craig."

[6] Kegiden (?) = hemlock. Y mae plwyf yn Sir Ddinbych, ryw bedair milltir i'r gogledd o Lannefydd, yr

Ll6yr yng ym g6naeth lla6er och
llaryeidgeinc llywyrudgoch[1]
Lloer 6yneb lli6 eiry iona6r
llar[2] y6 a gwi6 lleuer g6a6r.
Da ia6n y6 g6ed y dyn gwyllt
ae deuissyat d6f essyllt.[3]
Dillynnyeid da y llуny6yt
diwyl hon myn dewi ll6yt.[4]
Tal ac eur mal goreu mold
brialluwallt brelliwalt.[5]
Deuli6 eigyr[6] da oleugreir
du aeluein megys del6 veir.[7]

hwn a elwir gan rai yn Cegidog, gan ereill yn Llan San' Sior. A ydyw yr enw yn y fan hon yn cyfeirio at gartref cariad y bardd ?

[1] "Lloereiddgamp llaw ereidd-goch."—*Add. MS.*, 14,966.

[2] "Llar" = llary (?) = *gentle* : y darlleniad yn *C. Ll. G.* yw :—

"Llary yw a gwiw, lleuer gwawr."

[3] "A diwiswydd dwf essyllt." *Add. MS.*, 14,966.

"A dewiswydd dwf esylld." *Glan. MS.*

"A'i dyfeisiad, dwf Essyllt." *C. Ll. G.*

Gwelir fod y darlleniad olaf yn ymgais at ddilyn y testyn ; ond "*dewisiad*" ydyw yr ail air yn y llinell, y mae yn amlwg. Cyfeiria ein haneswyr at dair o'r enw Essyllt, sef Essyllt, merch ac etifeddes Cynan Tindaethwy, a gwraig Merfyn Frych, yn hawl yr hon y daeth efe i orsedd Gwynedd yn 816 (*Hanes Brytaniaid a'r Cymry*, cyf. i., tudal. 399) ; Essyllt, merch Culfynawd Prydain, yr hon a restrir yn y Trioedd (*Myv. Arch.*, p. 392) fel un o dair anniweirwraig Ynys Prydain; ond yr hon, yn ddiammeu, nid oedd ond person ffugiol, a'r un ag Ysonde, gwraig Syr Tristam. Ond o bosibl mai yr Essyllt i'r hon y cymharai y bardd ei gariad oedd merch brenin Germania, yr hon a gafodd Locrinus, mab Brutus, mewn llong, yr hon, meddir (*Text of the Bruts*, p. 60) "nyt oed ha6d kaffel dyn kyndecket ahi yn yr holl vyt. G6enach oed nor ychtywynedic asg6rn morvil. ac no dim or aellit diaerhebu am dana6." Prin y mae angen dyweyd nad ydym yn rhoddi coel ar ddim a ddywed Sieffre o Fynwy.

[4] Dewi Llwyd = Dewi fendigaid—St. Dewi.

[5] "Fe welir fod yr odl yn wallus. Yn *C. Ll. G.* y darlleniad yw :—

"Tal ar aur mal goreu mold,
Briallu wallt bre lliwold."

[6] "Eigyr" = morwyn.

[7] Y mae y testyn yn ddigon dealladwy ac yn well na'r darlleniadau canlynol ; gyda'r eithriad, hwyrach, fod "deulin" yn well na "deuliw" :—

"Deulin eigyr dau o leugrair
Dwy ael fain fal delw Fair."
*Add. MS.*, 14,966

Llygat ual glein cawat coeth[1]
tebic y vaen y tyboeth.[2]
Gwen[3] r6yd ual lli6 ga6n ar re6
g6yntr6yn kyfladgr6n gwantre6.
A deint6s m6yntl6s a min
digrifwimp diagyr yfwin[4]
Tagell hir teg oll y himp
alarchwed gron6y6 ler6ch6imp.[5]

"Deiliw eigr dau oleugrair
dwy ael fain fal dyli fair."
*Glan. MS.*

[1] Gwelir yn *Geir. Cymraeg* Silvan Evans (d.g. *Cawad*) fod y llinell hon mewn cywydd o eiddo Sypyn Cyfeiliog, yr hwn oedd yn gydoeswr â Iolo Goch :—

"Fy mun â . . . .
Llygad fal *glain cawad coeth.*"

[2] "Tiboeth"—yn y llyfrau ereill. Wrth y "Tiboeth," mae'n debyg, y golygir y maen gwerthfawr oedd ar glawr Llyfr Twrog. Gan nad ydyw *Geiriadur* y Dr. Davies wrth law, dyfynwn a ganlyn o *Eiriadur* Richards, Llangrallo :—

"Tiboeth, y gelwid llyfr Beuno sant oedd yn eglwys Gelynnog yn Arfon; yr hwn a 'sgrifennasai Twrog yn amser Cadfan frenin, ac a ddiangodd pan losgodd yr eglwys. (*q.d.* Diboeth, *unburnt*). Hwn a welais i, medd T. W. *anno* 1594. *This book, whatever it contain'd, is now lost. Twrog, who living in the time of Kadvan, prince of* N. Wales, *is said to have written it, must have been cotemporary with Austin the monk, as* E. Lh. *observes.* Llygad fal glain cawad coeth, Tebyg i faen y Tiboeth. S. Kyf."

I Sypyn Cyfeiliog y priodolir y llinellau gan Thomas Richards, fel y gwelir yn y dyfyniad uchod.

[3] Nid ydym yn sicr pa un ai "Gwen" ai "Gweu" ydyw hwn yn y *Llyfr Coch*, ond y mae rhediad y llinell yn awgrymu y blaenaf. Yn y llyfrau ereill darllenir :—

"Gwyn wyd megis gwawn ne rew."
*Add. MS.*, 14,966, a *Glan. MS.*

"Gwên rwydd fel lliw gwawn ar rew."—*C. Ll. G.*

[4] "A deinws mwndlws a min
Digrifwynt di eger yfwin."
*Add. MS.*, 14,966.

"A deinws mwyndlws a min
digrifwynt dieger af win."
*Glan. MS.*

"A deintws meindlws a min
Digrif-wymp diagr yfwin."
*C. Ll. G.*

Ymddengys i ni mai y testyn, yr hwn y ceisir ei ddilyn yn y darlleniad olaf, ydyw y cywiraf; yn yr hwn y canmolir dannedd a gwefusau y ferch, cusanu y rhai a ystyriai y bardd yn well na'r gwin goreu.

[5] "Dagel aur degay yw a limp
alarchaidd dyn wiw leirchwimp."—*Add. MS.*, 14,966.

"Dagell aur degau ywr llimp
alarchaidd dyn wiw leurchwimp."—*Glan. MS.*

Ba6t a rif bader reuueich[1]
a bronn aualt6f a breich[2]
Lla6 vein val lli6 y vaneg
baslart hir bys hoy6lary teg[3]
Ewin ballassarn[4] arna6 . . .
a modr6y eur yma dra6.[5]
Ystlyslun d6ywes dlosledyf
ystudu6m mod stad medyf.[6]
Ffernem is ff6rri venuyr
ffurueidwen troet kyt boet byrr.[7]

"Tagell hir, teg oll ei himp,
Alarchaidd, gron wiw glerch-
wimp."—*C. Ll. G.*

Fe geir y bardd fwy nag unwaith yn galw ei gariad yn *ddyn* yn y cywydd hwn. Yn ei oes ef yr oedd *dyn* yn air cyffredin (*common gender*) fel *homo* (=dyn) yn y Lladin. Y mae *dynes* yn ffurf lawer diweddarach.

[1] Nid ydyw diwedd y llinell hon mewn un modd yn eglur, ac nid ydyw y darlleniadau a ganlyn yn ei gwneyd yn fawr eglurach :—

"Bawd a rif bedere eurfraych."
*Add. MS.*, 14,966.

"Bawd a rif bydere eurfraich."
*Glan. MS.*

"Pawd a rif baderau enfaich."
*C. Ll. G.*

Ymddengys fod copïwr y *Llyfr Coch* wedi cyssylltu y rhan olaf o'r pedwerydd gair wrth ddechreu y pummed. Tybiwn mai yr hyn a feddyliai oedd :—"Ba6t a rif bader-reu ueich," sef *Bawd a rif faich o baderau.*

[2] "A bron afaldwf a braych."
*Add. MS.*, 14,966.

"A bron afaldw a braich."
*Glan. MS.*

"A bron afull-dwf, a braich."
*C. Ll. G.*

[3] "Llaw fain, un lliw ar faneg
basralt hardd bys hir hoyw
teg."—*Add. MS.*, 14 966, a
*Glan MS.*

"A llaw fain, fal lliw y faneg
Balfawd hir bys hoyw lary
teg."—*C. Ll. G.*

"Baslart" yn ol *Geir. Cymraeg* Silvan Evans, ydyw math o ddagr—"a species of dagger or hanger, usually worn at the girdle," ac i'r offeryn hwnw yr oedd y bardd yn cymharu bys ei gariad.

[4] "Ball saffarn"—*Add. MS.*, 14,966 ; "ball fasarn"—*Glan. MS.* "Ballasarn"=lliw yr awyr. Ond nid ydyw yr ewin o liw yr awyr o gwbl, os bydd yn iach a glan ; os ydyw unrhyw amser.

[5] "Modrwyau aur i mae draw."
*Add. MS.*, 14,966.

[6] "Ystlysyn dwy-ais dlos leddf
Ystudiwn modd ystad
meddf."—*C. Ll. G.*

Ai nid yr enw Cymraeg "Ystudwen" a feddylir yma wrth "Ystudu6m ?"

[7] "Fferfain is fferau'r feiny'r
Ffurfeiddwyn droed cyd boed
byr."—*C. Ll. G.*

O chemir bys yn ch6im6th
oe blaen lygat crynuaen cr6th,[1]
Br6ynen ewinwen wanwyrth
breid ̧val tywys heid na syrth.[2]
Arleisleuyn dyn eiry l6ysli6
6rlys gwyn ar eur lewys gwi6[3]
g6yn y vyt gwen y6 y boch
a wisc vy nyn weusgoch[4]
Penwisgwelw dyn di del6 doeth
pen selgombyr pennes aelgoeth.[5]
P6y a allei pei pēnsaer
peintya6 a chalych p6ynt vy chwaer[6]

[1] "O chemir bys yn chwimwth,
O'i flaen lygad crynfaen
crwth."—*C. Ll. G.*

Y mae y llinellau hyn yn cael eu cyfleu mewn rhan arall o'r cywydd yn *Add. MS.*, 14,966, a *Glan. MS.*, ond darllenant fel y canlyn :—

"O chemir bys yn chwimwth
oi blaen golwg crynfaen
crwth."

[2] "Brwynen ewinwen wanwyrdd
braidd fal towys haidd na
syrdd."
*Add. MS.*, 14,966.

[3] "Ar laslether ddyn aur lwys-
loyw
wrddlys win ar lewis wiw."
*Add. MS.*, 14,966.

"Ar las lethr ddyn aur lwys
loyw
wrdd lyswin aur weddus
loyw."—*Glan. MS.*

"Ar lais-lefn dyn eiry lwys-
liw,
Wrls gwyn ar aur lewis
gwiw."—*C. Ll. G.*

Y testyn, a'r darlleniad olaf, ydyw y cywiraf. Wrth "wrlys" y golygir ymyl gwisg=*border*, neu *fringe*. Dyfyna a chyfieitha y Dr Pughe (*Geiriadur*, s.v. "Gwrlys") fel y canlyn :—

"O bob anrhaith y brenin a zyly draean ei aur, a'i ariant, a'i swllt, a'i gyrm buelin, a'i vain gwerthvawr, a'i ysginau y bo wrlys wrthynt.

"Out of every spoil the king is entitled to a third of his gold, and his silver, and his treasure, and his buffalo horns, and his precious stones, and his robes to which there shall be *fringe*. *Welsh Laws.*"

[4] "Gwyn ei byd, gwen yw ei
bôch,
A wisg fy nŷn wefus-goch."
*C. Ll. G.*

"Dyn"=dynes. Gwel nodyn ar llin. 28., a Cywydd Rhif XLVIII., llin. 57.

[5] "Penselgam paenes aelgoeth."
*C. Ll. G.*

[6] "Pwy allai pai pen-saer,
A chalch pwynt, paentio fy
chwaer?"—*C. Ll. G.*

Yn *Glan. MS.*, yn dilyn y ban hwn, ceir a ganlyn :—

"duẇ ai gwnaeth arfaeth eurfab
myn delw bedr ar fedr i fab

Pentyryeis gerd p6ynt dirrym
52 puntur serch pon trahaus ym.[1]
Dybya6 kael bu hael baham
gydg6sc am dyn lygatgam.[2]

ystidio i mae ystad meddf
ystlysddyn ddewis dloeddeddf
o chemir bys yn chwimwth
oi blaen golwg krynfaen krwth
ar las lethr ddyn aur lwysloyw
wrdd lyswin aur weddus loyw
brwynen ewinwen wanwyrdd
braidd fal towys haidd na syrdd
escair gron *lliw* eira bron brisc
lwydwen dan yscarladwisc
ffyrffeidd *grwn* droed kyd boed byr
ffer fain dan ffwr o fanfyr."

[1] "Pentyrais gerdd pant dirym
Paintio i serch pan dyras ym."—*Add. MS.*, 14,966.
"Pen tyrais gred pand tirum
Painti[ais] i serch pan tyras ym."—*Glan. MS.*
"Pentyrais gerdd pwynt dirym.
Puntur serch, pa'nd trahaus ym."—*C. Ll. G.*

[2] "Tybio cael bu hael ba ham
gyt gwsg am bun lygatgam."
*Add. MS.*, 14,966.
"Tybio kael bu hael ba ham
gytgwsc am bun lygatgam."
*Glan. MS.*
"Tybiaw gael bun hael ba ham
gyd-gwsg a'm dyn lygadgam."—*C. Ll. G.*
"Dyn." Gwel llin. 46 uchod.

# LI.

## KOWYDD I URY Y BRONRHYDDYN YN LLATTAI AG O GLODVOREDD IDDO.

---

(*O'r Add. MS., 15,006, fol. 91*).

Y mae y Canon Silvan Evans (*Geir. Cymraeg*) yn nodi dau fath o adar dan y gair "Bronrhuddyn" (1), y *redbreast*, yr hwn a elwir yn rhai manau yn "robin goch;" ac yn (2), y *chaffinch*, yr hwn sydd yn myned dan yr enwau :—*asgell arian, y wingc*, a *bronrhuddyn*. Wrth y dysgrifiad a rydd y bardd o hono, y mae yn amlwg mai y *chaffinch*, ac nid y *redbreast* a feddyliai. Pa fodd bynag, y mae yn ei anfon yn llatai, neu yn was caru, at rywun anhysbys. Yr oedd y dull hwn o seilio rhiangerdd yn dra hoff gan Dafydd ab Gwilym, yr hwn a ddefnyddiai y wylan, yr iwrch, yr eog, y brithyll, &c., yn genhadau at ei gariadon; ond dyma yr unig waith, hyd y gwyddom, i Iolo alw am gynnorthwy creadur direswm i wneuthur cymmod rhyngddo a'i gariadferch. Y mae y bardd yn myned rhagddo i ymddyddan â'r aderyn hyd llin. 49, pryd y mae, cyn gorphen dyweyd ei neges wrtho, fel y gallem dybied, yn myned i ymdrin â'r Farf, gan roddi bron air a llythyren y rhan olaf o'r Cywydd Rhif XLVI.; ac nid ydyw mwyach yn dyfod yn ol at ei destyn. Er yr ymddengys y cywydd a ganlyn fel dau gywydd, neu ranau o ddau gywydd, wedi eu gosod wrth eu gilydd gan ryw gopïwr trwstan, eto, tybiasom mai gwell, ar draul bod yn euog o ailadroddiad, oedd ei osod yma fel y mae yn yr ysgriflyfr.

Y keliog brag[1] ar klog brych
kowr aint[2] barnwn fraint bron frych

[1] Ai bragad (= *vociferous*) a feddylir?

[2] "Kowr aint"—cywraint?

iarll adar erliw[1] ydwyd
ar gliw yn wych ar y llwyn wyd
kael miwsig kloyau mesyr
kloyedig bwnk[2] gloywder pur
knok[3] glasfryn keliog glwysfrith
kroyso ir bryn ar krys aur brith[4]
solais byd felyslais big
swyddwr a gwirgas eiddig[5]
difir Salm di ofer son
dy gerdd mewn y[6] bedw gwrddion
mynac edn mewn y goidwig
main dy ben mwyn yw dy big
pen kyngor porthor perthi
plu bais deg ple buost di
hir y gwybym rywiog bais
hiraeth ddal hwyr ith welais
digiaies[7] ymserchais wrthyd
dryan gwr am dario yn gyd[8]
rhag bod klwyfau briwiau brad
na swrn o eisie arnad
na charchar trwy alar trais
na milain frad na malais
na chroglath magl gath mwyglgau
na ffitffel[9] mewn kornel kau

[1] "Erliw" = eurliw?

[2] "bwnk."—yr aderyn yn pyncio.

[3] "Knok" = cnocellu (*to peck*).

[4] Aderyn hynod o brydferth ydyw y *chaffinch*; ac y mae maglwyr adar yn awyddus i'w ddal.

[5] Yr oedd aderyn yn swyddwr i un cariadlanc, a thrwy hyny yn cael ei gasäu gan ei wrthymgeisydd eiddigeddus.

[6] Gwell fuasai gadael yr "y" allan.

[7] Yr oedd y bardd mewn pryder rhag ofn fod yr aderyn wedi myned i fagl; ac yn teimlo yn ddigofus wrth feddwl hyny.

[8] "Yn gyd" = yn gyhyd, h.y., mor hir.

[9] "Ffitffel."—Ai rhyw fath o offeryn i ddal adar a feddylir? —*pit-fall*. "Pitffal" yn rhai manau y gelwid y lleoedd yr arferid carcharu anifeiliaid crwydredig ynddynt. "Ffald," neu "gwarchal," = (Seis., *Pound*).

keliog teg mewn klog wyt ti
kresl waith[1] grys krist ith groisi[2]
gwr krych ar hyd gwarr y bryn
gwr y smala[3] grys melyn
bid adail bywyd dedwydd
brych i gwfl rhyd brigiau gwydd
bid glwysdy ar bedw glasdeg
bodlon wyt i[4] ir bedlwyn teg
gwrando gyw gwiriondeg iaith
gad yni fod yn gydymeth
pen gerais mi a ddeliais ddig[5]
pyr wen winwdden eiddig
dig iw eiddig da i gwyddwn
di alli help i dwyllo hwn
gwna fyned o ddigennyfi
gwawr ddydd ag arwydd iddi
mogel[6] air kall anwyglew kas
malais eiddig mal syddas[7]
mogel er Duw maglwyr dig
galar oedd gwiliwr eiddig
mogel yr haf mogl[8] a rhwyd
ai gath henllom[9] geth in llwyd[10]

[1] Nis gallwn ddyfalu beth all "kreslwaith" fod, os nad ydyw yn tarddu o *crest*=cribell.

[2] "Krist ith groisi"—i'th waredu?

[3] "Y smala"=ysmala.

[4] Nid oes eisiau yr "i" yma.

[5] Y mae y bardd bellach yn dyfod at ei neges, ac yn hysbysu yr aderyn ei fod wedi syrthio mewn cariad â merch ieuanc, yr hon hefyd a gerid gan arall, yr hwn oedd yn eiddigeddus; ac y mae yn ei yru i ddenu y ferch ac i dwyllo y llanc.

[6] "Mogel"=ymogel (*beware*).

[7] Awgrymir yma fod gwrthymgeisydd Iolo yn hynod ddigofus, ac yn un i'w ofni: hefyd y mae y bardd yn rhybuddio y bronrhuddyn i fod ar ei wyliadwriaeth rhag yr eiddig, yn gystal a rhag gelynion cyffredinol yr adar.

[8] Magl?

[9] "Henllom"—o *hen* a *llom*.

[10] "Geth in llwyd" = gethinllwyd. Yr anhawsder mwyaf yng nglŷn â darlleniad y cywydd hwn ydyw fod y geiriau yn cael eu rhanu yn fynych; ac y mae y sillebiad yn lled wallus.

[1]gwn mae dy chwaer gadr ger ydd
ar wyneb sioseb yr sydd
knwd trathew o iyrchflew iyrch
keden hagar koed anhygyrch
seml ar ddwen awenydd
dy weles gen ferched fydd
ni wna hyder oth weryd
ymgydd mor brydd yw dy bryd
myn bedd Duw ni bydd diwarth
i fardd hen fod gen o garth
ag nid esmwyth garw lwyth gwr
trowswch llwyd i wttreswr
lle gresyn lliw goreu serch
wedi gwin roddi min merch
nid hardd ef a waharddwyd
gysan ar farf lydan lwyd
gormod yw dy annod ym
am lwydo rhan aml ydym
llwyd fur saint geraint gu
disyml a llwyd fu r Iesu
llwyd fu rholant llid rhylew
llwyd fu r eryr ar llew
llwyd fu awyr y dwyrain
llwyd fu dechre lleuad fain
am hyn ef a gymhenwyd
nad gwiw wneith vr ond llwyd[2]
taw di farf tew doferedd
twyll iawn wyd teullyan wedd
os felly i byddu byth
ar draws wyneb yn drasyth
ni chair myn mair ar fy min
lle noeth mwy na llwyn eithin.

Iolo Goch ai kant.

[1] Yma y dechreua y rhan olaf o'r cywydd "Ir Varv' (Rhif XLVI., llin. 27-58).

[2] Gwel Cywydd Rhif XLVI., llin. 52.

# LII.

## *CYWYDD MERCH I DDIOLCH AM FODRWY—ALLAN O LYFR P. PANTON, YSWAIN.

*(O'r Add. MS., 14,964, fol. 66).*

Fel y gwelir uchod y mae y penawd yn *Add. MS.*, 14,964, yn yr hwn y priodolir y cywydd i Iolo Goch. Ond yn *Add. MS.*, 14,994, fol. 112b, darllena y penawd fel hyn:—"Cywydd a gant Dafydd ap Gwilym i ferch o went a roesai gae euraid yw gyfaill anwyl Iolo Goch prydydd o Wynedd —Iolo Goch medd Iolo No 3;" ac yna ar ddiwedd y cywydd ceir "Dafydd ap Gwilym." A thybiwn fod y llinellau ychwanegol a roddir i mewn yn yr ysgriflyfr hwnw yn profi mai nid Iolo Goch oedd yr awdwr—nid ydyw yn debygol y dywedasai am dano ei hun:—

"Ba wr un rhol ag Iolo
Ddefod hardd hoyw fardd y fo."

Nid ydyw yn argraffedig ym mhlith gweithiau Dafyd ab Gwilym.

Iorwerth[1] druan[2] ddioerwas
Erioed ni bu drwg ei râs[3]
Arwain aur a main y mae
Ar un gair mewn ariangae[4]
Ar ei ddwyfron ar ddyfrys[5]
Erddaw y bu[6] croesaw crys

[1] Defnyddir "Iorwerth" yma yn gyfystyr ag *Iolo* (Gwel "Braslun," &c., tudal. 17).

[2] "Drwyadl."—*Add. MS.*, 14,994.

[3] Yn dilyn y ban hwn yn *Add. MS.*, 14,994, ceir:—
"Ar ungaingc mewn ariangae
Arwain aur a main y mae
Ba wr un rhol ag Iolo
Ddefod hardd hoyw fardd y fo."

[4] Iolo yn arwain (h.y., gwisgo) ariangae (=*silver wreath*) gydag aur a main (=meini gwerthfawr) wedi eu gosod ynddi.

[5] "Ar ei ddwyfron arddyfrys." *Add. MS.*, 14,994.

[6] "Y bydd."—*Add. MS.*, 14,994.

Urddas ir ferx ddiweirddoeth
A roddai'r cae[1] rhuddaur coeth
Erddi nid oes ym[2] ordderx
Oer yw[3] na syrth arni serx
Ar eiriau[4] mawl i'r euraf
Arwyrain hon orhoen[5] haf
Eiry nownyf o erhin Ionawr[6]
Eurwn a gwawd orhoen gwawr
Euron hil arian hoewliw[7]
Eurwn ei gwawd ar enw gwiw
Y rhiain ddi orheiwg[8]
Ar ael ddu urael[9] a ddwg
Aroesym llyna ras hoyw
Yr em oleuwen liw loyw[10]
Arwydd serxog a oryw
Arwyst serx eresdlws yw[11]
Aerwy gwydr yw ar gydax[12]
Euryn byxanigyn bax

1 "Cae" = plethdorch (*wreath*), gyda'r hon, meddir, y gwobrwyid yr hen feirdd Cymreig. Yn Eisteddfod Dol goch yn Emlyn gwisgwyd Dafydd ab Gwilym â'r "Cae Fedw ys ef addurn Rhieingerdd." (*Iolo MSS.*, p. 97.)

2 "Yn."—*Add. MS.*, 14,994.

3 "O ryw."—*Add. MS.*, 14,994.

4 "Ar araith."—*Add. MS.*, 14,994.

5 "Oroen."—*Add. MS.*, 14,994.

6 "Eiry nawnyf o oerni Ionawr
Eurwn a gwaed oroen gwawr."
*Add. MS.*, 14,994.

7 "Euron hael arian hoywliw."
*Add. MS.*, 14,994.

Cyffelybir y ferch i Euron. Gwel Cywydd Rhif XLVII.

8 "Y Rhiain ddiorhewg."
*Add. MS.*, 14,994.

9 "Wrael."—*Add. MS.*, 14,994. Nis gwyddom beth yw "wrael," ond dywed y Dr. W. O. Pughe mai *amianthus*, neu *asbestos*, yw "urael." Y mae Cynddelw (*Gorch. Beirdd Cymru*, tudal. 76) wrth egluro llinell o eiddo Dafydd ab Gwilym—"Aur ganwyll mewn urael" yn dyfynu ar y gair *urael* fel hyn:—"Urael yw llieinwisg, o'r manweiddiaf, o'r maen ystinos, ac a olchid â'r tân, wedi y budreddai."

10 "Liwloyw." — *Add. MS.*, 14,994.

11 "Ar wystl serch erestlys yw."
*Add. MS.*, 14,994.

12 "Arwydd gwydrain ar gadach."
*Add. MS.*, 14,994.

Oerfel er[1] a ddel o ddyn
I eiril im roi euryn[2]
Eurrwar wyf aur *arafia*
Er ofn neb ni ro fy na[3]
Bedd afraid peth ir ddwyfron
A dynnai haint i dan hon?[4]
Balxax wyf gilio'r balxwydd
O'r cylla rhwth cawell rhwydd[5]
Odid iddo rhuo rhawg[6]
O wrthiau main mawr werthiawg[7]
Gwrthiau a rôn[8] gwerth aur ynt
A godidog od ydynt
Yma maen mae im monwes
Anaml liw a wnae les[9]
Meddyg a wna[10] modd y gwnaeth
Myddfai[11] o xai ddyn meddfaeth

1 "Y."—*Add. MS.*, 14,994.

2 "I eiriol rhodd or euryn."
*Add. MS.*, 14,994.

3 "Eurwr wyf aur aurafia
Er ofn neb ni rof fy na."
*Add. MS.*, 14,994.

"Arafia" = Arabia. Dywed Lewis Glyn Cothi (*Gwaith*, p. 228) fel y canlyn:—

"A bod yt *gan'-morc* o aur Byrgwŷn,
Ac aur y *Venis* nis gwaravynyn';
Ac aur Aravia'n grug a rivyn'
Ac aur yr Asia vâl egroesyn."

4 "Oedd afraid peth ir ddwyfron
A dynai haint y dann hon."
*Add. MS.*, 14,994.

5 "A balch wyf giliaw balchwydd
Y cylla rhwth cawell rhwydd."
*Add. MS.*, 14,994.

6 "Ruo'r hawg."—*Add. MS.*, 14,994.

7 "Werthiowg." — *Add. MS.*, 14,994.

8 "O wrthiau a ron."—*Add. MS.*, 14,994.

9 "Mae maen yma im mynwes
Anaml yw a wna les."
*Add. MS.*, 14,994.

10 "A wnai."—*Add. MS.*, 14,994.

11 Cyfeirir yma at Rhiwallon, meddyg enwog Myddfai, Sir Gaerfyrddin, yr hwn a flodeuai yn y drydedd ganrif ar ddeg—ryw gan' mlynedd, fwy neu lai, cyn amser Dafydd ab Gwilym ac Iolo Goch. Gyda chydweithrediad ei dri mab —Cadwgan, Gruffydd, ac Einion, meddygon Rhys Gryg, Arglwydd Dinefwr — ysgrifenodd Rhiwallon lyfr ar physigwriaeth, yr hwn a gyhoeddwyd yn 1861, gan y *Welsh MSS. Society*. A dywedir fod disgynyddion Rhiwallon wedi parhau

Iax yw'r galon hon yn hawdd
Hi ai xae ai hiaxäawdd
Gorau fu im neur gerais
Gorau fu ef ar gorf ais[1]
Ni ohiriai lle bai benn[2]
Gyhyrwayw gan gae hirwen
Mwy nog i frig mynawg traul[3]
Rhew neu eiry ar hin araul

i ddilyn yr alwedigaeth feddygol ym Myddfai, o oes i oes, hyd ganol y ganrif ddiweddaf.

[1] "Gorau fu ym neu'r gerais
Gorau yw ef ar gwrr ais."
*Add. MS.*, 14,994.

[2] "Ben."—*Add. MS.*, 14,994.

[3] "Mwy nag y trig mynag traul."—*Add. MS.*, 14,994.

# CANIADAU DUWINYDDOL.

## LIII.

### *KYFFES YOLO GOCH.

*(O Jesus MS., E. 138, Part II., fol. 112b).*

Ymddengys fod yr awdl hon yn *Y Llyfr Coch o Hergest,* er na ddarfu i ni ei chanfod ynddo pan oeddym mewn cyfleusdra; ond wrth chwilio wedi hyny trwy *Add. MS.,* 15,001, gwelsom hi (*fol.* 176b), gyda'r penawd hwn:—"Ex per Ll: C.— Owdl gyffes Gr. ap Mared. ap D'd; eiddo Iolo G. medd eraill." At hon, mae'n debyg, y cyfeirir yn *Myv. Arch.,* tudal. 306.

Y mae i'w chael hefyd, mewn rhan neu yn gyflawn, yn yr ysgriflyfrau a'r llyfrau argraffedig a ganlyn:—*Add. MSS.,* 14,866; 14,936; 14,940; 14,964; 14,970; 14,979 a 24,980 (dernyn yn unig); yn *Glanyrafon MSS., C.* a *K.*; ac yn argraffedig ddwywaith yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig,* cyf. i., tudal. 9 a 10; yn *The Works of Iolo Goch* (gan R. Jones), p. 1; yn *Nhrysorfa Rhyfeddodau,* am Medi, 1833, tudal. 219; yn *Y Cymmrodor,* cyf. viii., tudal. 173; ac yn *Cymru,* am Medi, 1891, tudal. 67. Ond y mae yn amrywio yn fawr yn yr oll o'r llyfrau hyn, mewn hyd, yn nhrefniad y llinellau, yn gystal ag yn y darlleniadau; fel nad oes unrhyw ddau lyfr yn cwbl gytuno.

Ar y ffurf o weddi y mae yr "awdl gyffes" hon; ac y mae yn amlwg fod rhan helaeth o honi wedi ei seilio ar ranau o'r gwasanaethlyfr Pabaidd. Wrth ei chymharu â'r "*Missal,*" gwelir fod nid yn unig y syniadau, ond rhai brawddegau cyfain, yn lled gyffelyb. Gwelir cryn debygolrwydd yn rhai o'r llinellau i'r hyn a geir yng ngweithiau amryw o'r beirdd cydoesol, megys yn yr "Awdl a gant

Gruffud Gryc" (*Myv. Arch.*, p. 346), ac mewn awdl o waith Dafydd y Coed (*Myv. Arch.*, p. 351). Ond y mae y tebygolrwydd yn fwy fyth i awdl o waith Dafydd ab Gwilym dan y penawd "Cyfaddefiad y Bardd o'i Gamweddau" (*Barddoniaeth*, tudal. 487) yr hon sydd ar yr un mesur—y Gyhydedd hir—ac yn dechreu fel y canlyn :—

"Trugarog Frenin,
Wyt Tri cyffredin,
Ac Un cyntefin,—
Dewin diwad!"

Fel yr ydym yn myned rhagddom, canfyddwn amryw bennillion ydynt bron yr un a'r rhai a geir yn yr awdl hon. Pa fodd bynag, nid ydym yn gweled yn hyn sail ddigonol i gyhuddo y naill neu'r llall o lênladrad. Pan yn canu ar destynau crefyddol, nis gallent lai na defnyddio yr ymadroddion oeddynt yn cael eu llunio a'u lliwio gan nodwedd grefyddol yr oes. A phan yn dilyn y gwasanaethlyfr, yr oedd yr unrhywiaeth yn yr ymadroddion yn rhwym o ddyfod yn amlwg.

Krair[1] kred ked kynnydd
Kreawdr llv bedydd } Kyn dydd dihedd[2]
Krist fab Duw Dofydd

[1] Wrth "grair" yma y golyga y bardd wrthddrych addoliad ym mherson Crist; ac y mae yn ei ddefnyddio yn yr un ystyr ag y gwneir mewn cân a briodolir i Taliesin (*Myv. Arch.*, p. 64) :—

"Cyfarch i'm naf nawdd i'm ganthaw
Cyfarchwel i'm del dawn o'i eiddaw
A'm crair yw Mab Mair mawr arnaw vy mryd
Canys delir y byd bob awr iwrthaw."

Ac o bosibl nad ydyw Elidir Sais yn ei "Awdl i Dduw" (*Myv. Arch.*, p. 244) yn fwy fyth i'r perwyl :—

"Archaf un mab meir creir credadun
Creaudyr amheraudyr llyuyaudyr llauen."

[2] Amrywia y darlleniadau o'r llinell hon yn fawr; ond tybiwn fod y testyn yn llawn mor naturiol a'r un o honynt. Yn *Add. MS.*, 14,964, ceir "cyn dydd dilyedd," gyda "diwedd" ar ymyl y ddalen; "cynnydd dyhedd"—*Add. MS.*, 14,970; "kyn y dydd o diwedd" yn *Glan. MS. C.*; "kyn dydd diwedd" yn *Glan. MS. K.*; "cyn

Kans na wn pa bryd
Pa awr pa ennyd
Im dycky[1] or byd
} Diwyd diwedd[2]

Arglwydd dâd mad mawr
Eurglo[3] nef /a/ llawr
Erglvw[4] fi bob awr
} gwawr gwirionedd

ytti /i/ kyffesaf[5]
ag ir addefaf[6]
kann wyt bennaf naf[7]
} Nawdd tangnhefedd[8]

Pechais yn llwyr[9]
o bob rhyw[10] synwyr
rhwng llawr ag awyr
} llwyr ar gywedd

ydd dialedd" yn *C. Ll. G.* (*A.*); "cynydd dyhedd" yn *C. Ll. G.* (*B.*), a *Trysorfa Rhyfeddodau*; "Cynnydd dyhedd" gan *R.J.*; "Cynnydd dy hedd" yn *Cymru*; a "cyn dydd diwedd" yn *Y Cymmrodor.*

[1] "Dyccych" — *Add. MSS.*, 14,964; 14,970, ac *R.J.*; "dygur" —*Glan. MS. C.*; "dygi"—*Glan. MS. K.*

[2] "Ddiwyd ddiwedd" — *Add. MSS.*, 14,964, a 14,970; *Trysorfa Rhyfeddodau*, *R.J.*, *Y Cymmrodor*, *Cymru*; "ddiwid ddiwedd"—*Glan. MSS. C.* a *K.* Awgryma *R.J.* fod "ddiwyd" i'w gymmeryd fel gair cyfansawdd o *gwyd* (nwyd) = *vice*; ac ei fod yn awgrymu fod pechod yn darfod mewn marwolaeth. Ond ai nid mwy naturiol fyddai ei gymmeryd i olygu dyfalbarhad, sef fod y "diwedd" yn dyfod yn sicr a diymdroi?

[3] "Eurgledd" — *Add. MSS.*, 14,964; 14,970, ac *R. J.*

[4] "Erglyw" yn y llyfrau ereill, ac eithrio *Glan. MS. K.*, yr hwn a ddarllena:—"am klyw fi bob awr."

[5] "Iti y cyffessaf." *Add. MS.*, 14,964.
"Itti cyffessaf." *Add. MS.*, 14,970.

[6] "Ac yr addefaf." *Add. MS.*, 14,970.

[7] "Canys wyd bennaf." *Add. MS.*, 14,970.

[8] "Tangnefedd" yn y llyfrau ereill.

[9] "A bexais i yn llwyr." *Add. MS.*, 14,964.
"Am a bechais i'n llwyr." *Add. MS.*, 14,970.

[10] Ceir "gwall" yn lle "rhyw" ar ymyl y ddalen yn *Add. MS.*, 14,964, ac hefyd "gwall" ydyw y darlleniad yn *Add. MS.*, 14,970, *Glan. MS. C.*, *R. J.*, *C. Ll. G.* (*B.*), *Trysorfa Rhyfeddodau*, a'r *Cymmrodor*; ond "rhyw" a geir yn y llyfrau ereill.

| | |
|---|---|
| Saith priawd pechawd[1]<br>rhythni[2] /a/ medddawd<br>chwant knawd kâs kevdawd | Kadarn nychwedd[3] |
| Methiant glothineb[4]<br>mwy fo/r/ godineb[5]<br>methineb kudeb.[6] | kadw fy salwedd[7] |
| Balchder syberwyd[8]<br>tori diowryd[9]<br>kymryd bowyd /a/ mrŷd[10] | am ryw faswedd |

[1] "Brifwedd bexawd," gyda "briwid briawd" ar ymyl y ddalen, yn *Add. MS.*, 14,964; "briawd bechawd" yn *Add. MS.*, 14,970, a *Glan. MS. C.*; "briwyd pechawd" yn *Glan. MS. K.* Diammeu mai y testyn sydd gywiraf. Cyfeirio y mae Iolo at y "saith bechod marwol" (*Cardinal Sins*) yn ol dysgeidiaeth y Pabyddion. Yn *Allwydd neu Agoriad Paradwys*, tudal. 14, darllenir fel y canlyn :—

"Mae dau fath neu ryw o bechod, sef

Pechod { Gwreiddiol neu Ddechreuol.

Gweithredol { Marwol. Maddeuol.

Y saith Prif-bechod a elwir yn gyffredin y Pechodau Marwol,

1. Balchder.
2. Cybydd-dra.
3. Anlladrwydd.
4. Cenfigen.
5. Glothineb.
6. Llid neu Ddigofaint.
7. Diogi."

[2] "Glythni"—*Add. MS.*, 14,970, *R. J.*, a *Cymru*; "Syrthni"—*Glan. MS. K.*, *C. Ll. G.* (*B.*); "Rhyfyg"—*C. Ll. G.* (*A.*), *Y Cymmrodor.*

[3] "Chwerwedd" yn y llyfrau ereill.

[4] Yn *Add. MS.*, 14,970, ceir "*Methiant*, glythineb," gyda "Methiant—omission I suppose. I.M." ar ymyl y ddalen.

[5] "Gwneuthur godineb" ydyw y darlleniad mwyaf cyffredin.

[6] "A gormod cudeb." *Add. MS.*, 14,964.
"Casineb, cudeb." *Add. MS.*, 14,970.
"A gormod keudeb." *Glan. MS. K.*

[7] "Cadarn salwedd." *Add. MS.*, 14,964.
"Cadw fy salwedd." *Add. MS.*, 14,970.

[8] "Seguryd"—*Add. MS.*, 14,964; "segurud"—*Glan. MS. K.*

[9] "Torri yr ympryd." *Add. MS.*, 14,964.
"Torri diofryd." *Add. MS.*, 14,970.

[10] "Cymryd bwyd amryd." *Add. MSS.*, 14,964; 14,970.
"Kymrud bwyd amrud." *Glan. MS. K.*

Cymmeryd ymborth, mae'n debyg, ar ddydiau ympryd, yr hyn a ystyrid yn drosedd mawr yn amser Iolo, fel eto, yng ngolwg y

Goganu tybiaw[1]
llesgua dymunaw[2]
llidiaw /a/ digiaw[3] } dogyn wythlonedd[4]
Kolli pregethav
ag offerennav
maddau /y/ Suliav[5] } moddav salwedd[6]
Gair meddwl angred
golwg kam ,erdded[7]
gweithred anwared[8] } gŵth[9] enwiredd

Pabyddion. Yn *Allwydd neu Agoriad Paradwys*, tudal. 88, dywedir fod "Torri ei ympryd ar ddiwrnod caeth, neu beri hynny i eraill" yn drosedd o'r trydydd gorchymmyn, ac felly yn "bechod marwol."

[1] Yn ol *Allwydd neu Agoriad Paradwys*, tudal. 101-3, yr oedd "Goganu, enllibio, slandrio, neu roi drwg absen ar vnarall, gan ddodi beiau ffeilliou arno: neu wrth ddiargelu, neu gyhoeddi rhyw bechod mawr dirgel, neu ryw gyfrinach," yn gystal a "Tybied yn ddrwg am eraill o ran eu geiriau, neu'i gwithredoedd, gan farn yn ei galon eu bod hwynt yn euog o ryw bechod marwol, heb ddim lliw am hynny" yn bechodau marwol yn ogymmaint a'u bod yn droseddiad o'r degfed gorchymmyn.

[2] "Llesgedd damunaw."
*Add. MS.*, 14,964.
"Llesgi, dymunaw."
*Add. MS.*, 14,970.
"Llesgu dymunaw."
*Glan. MS. C.*
"Llescedd dymunaw."
*Glan. MS. K.*
"Dyscu dymunaw."
*Y Cymmrodor.*

[3] "Anlladrwydd llidiaw."
*Add.MS.*, 14,964, *Glan.MS.K.*

[4] "Llid greulonedd."
*Add. MS.*, 14,964.
"Dygn greulonedd."
*Add. MS.*, 14,970.

[5] Cyfeiriad a geir yma at esgeuluso myned at yr offeiriad i dderbyn maddeuant.

[6] "Meddi salwedd."
*Add. MS.*, 14,964, *Glan. MS. K.*
"Meddwi salwedd."
*Add. MS.*, 14,970, *Glan. MS. C.*

Ai nid awgrymiad a geir yma fod yr hwn a esgeulusai y pregethau, yr offerenau, a'r maddeuant, yn eu hystyried fel moddion gwael?

[7] "Am gerdded."—*Add. MS.*, 14,964; "Cilwg, camgerdded"—*R.J.*

[8] "Gweithred dynwared."
*Add. MS.*, 14,964, *Glan. MS. K.*
"Gweithred anwared."
*Glan. MS. C.*
"Gweithred anwared."
*Y Cymmrodor.*

Sylwa *R. J.*, gan yr hwn y mae "dynwared," mai *mockery* (= gwawd ?) a feddylir yma. Ond pe buasai wedi gweled y gwahanol ddarlleniadau hyn, credwn na fuasai mor hawdd iddo benderfynu.

[9] "Gwaith," gyda "gwth" ar ymyl y ddalen, yn *Add. MS.*,

Kyhuddaw[1] gwirion[2]
Kam ddychymygion[3]
honni traws holion[4]
} hylither dayredd[5]

Gochel maddeuaint
digio[6] rhag hir haint
torri nawdd dir saint[7]
} braint brenhinedd

Tyngu ar greiriav
gwyrth anvdonav
twng gredav llayav
} geiriav gwyredd[8]

Trais twyll brâd kynnen[9]
mvrn[10] lladrad absen
llîd /a/ chynfigen[11]
} rhen bob rhinwedd[12]

14,964; "gwaith anwiredd" a geir hefyd yn *Glan. MSS. C.* a *K.*, ac *R. J.*; ond y mae *Y Cymmrodor* yr un fath a'n testyn.

1 "Cyhuddo."—*Add. MS.*, 14,964.

2 "Gwirion" = diniwed; hyny yw, cyhuddo un ar gam.

3 "A xam ddyxmygion."
*Add. MS.*, 14,964.

4 "Cadarn draw holion."
*Add. MS.*, 14,964, a *Glan. MS. K.*

"Kalyn traws holion."
*Glan. MS. C.*

5 "Hylith ddeuredd" —*Add. MS.*, 14,964; "hylith roddiwredd" —*Glan. MS. K.*

6 "Digon"—*Add. MS.*, 14,964; "digio" a geir yn y llyfrau ereill.

7 "Sathru nad ir Saint."
*Add. MS.*, 14,964.

"Sathru noddfa yr Saint."
*Glan. MS. C.*

"Sathru nawdd dir Saint."
*Glan. MS. K.*

8 Y mae y darlleniadau o'r pennill hwn yn amrywio yn fawr. Dyfynwn y ddau bwysicaf:—

"Tyngu anudonau
Ar werthfawr greiriau
Cam gredu ac amau
geiriau gwiredd."
*Add. MS.*, 14,964.

"Tyngu anudonau
gwrthnebu doniau
trwy gredu llyfau
geiriau gwiredd."
*Glan. MS. C.*

Tebyg mai "geiriau gwyredd" (=*to swerve from the truth*) ac nid "geiriau gwiredd" (=*true words*) sydd gywir.

9 "Gymen"—*Add. MS.*, 14,964; "gywen"—*Glan. MS. K.*; ond "cynnen" sydd yn y llyfrau ereill.

10 "Mwrn."—*Add. MS.*, 14,964. "Murn" = llofruddiaeth.

11 "Chenfigen" — *Add. MS.*, 14,970, a *Glan. MS. C.*

12 "Pwnc pob rhyfedd."
*Add. MS.*, 14,964.

"Rhag pob rhüedd."
*Add. MS.*, 14,970

"Rhan pob rhinwedd."
*Glan. MS. C.*, ac *R.J.*

Gwâg[1] kynwys glwyslyw[2]
Gwawr[3] mawr marw /a/ byw } llyw llaweroedd[5]
gwirion dâd rhâd rhyw[4]

Dy nerth /a/ archaf
dy nawdd /a alwaf } naf nefawlwlêdd[6]
dy râs /a/ geisiaf

Rhag kwn dieflig
Rhag hûn gwenwynig[7] } dig digassedd[9]
rhag kynnen dremig[8]

Rhag drŵg mŵg migwern[10]
rhag gwaith gaeth gethern[11] } ddiffaith ddygnedd[13]
drewiant gern uffern[12]

rrynder rhinwedd" }
"pwnk pob ruswedd." }
*Glan. MS. K.*
"*rhenn* pob rhinwedd."
*Y Cymmrodor.*

[1] "Gwyg."—*Y Cymmrodor.*

[2] "Glwys glyw"—*Add. MSS.*, 14,964; 14,970.

[3] "Clod"—*Add. MS.*, 14,970; "Gwar"—*Y Cymmrodor.*

[4] "Rhiw"— *Glan. MS. C.*; "ryw"—*Y Cymmrodor.*

[5] "Llyw llaweredd"— *Add. MSS.*, 14,964; 14,970, ac *R.J.*; "lliw llaweredd"—*Glan. MS. C.*; "lliw llawerydd"—*Glan. MS. K.*

[6] Yn *Add. MS.*, 14,964, ac yn gyffelyb mewn llyfrau ereill, darllena y pennill hwn fel y canlyn:—

"Dy ras a geisiaf
Dy nawdd a arxaf
Dy nerth a alwaf
Naf nefolwledd."

[7] "Rhag hun wenwynig."
*Add. MS.*, 14,964, *Glan. MS. K.*
"Rhag cwyn gwenwynig."
*Add. MS.*, 14,970.

Hon ydyw y llinell gyntaf yn y llyfrau ereill, a'r gyntaf yn ail.

[8] "Dreinig"—*Add. MS.*, 14,970; "dreminig"— *Glan. MS. C.*; "ddrewedig"— *Glan. MS. K.*; "dremig," gyda "drennig" ar waelod y ddalen, gan *R. J.*

[9] "Dig dygnedd"—*Add. MS.*, 14,964; "ddig ddigasedd"—*Add. MS.*, 14,970, a *Glan. MS. C.*; "ddig ddygasedd"—*R. J.*; "dig digofedd"—*Y Cymmrodor.*

[10] "Rhag drwg mwg mign wern."
*Add. MS.*, 14,964, a *Glan. MS. C.*

[11] "Drwy waith caith cethrwern."—*Add. MS.*, 14,964.
"Trwy waith caith cethern."
*Add. MS.*, 14,970.

[12] "Drewiant cyrn uffern."
*Add. MS.*, 14,964.
"Drewyn cyrn uffern."
*Add. MS.*, 14,970.

[13] "Affaith dygnedd."
*Add. MS.*, 14,964.
"Affaith ddygnedd."
*Add. MS.*, 14,970.
"Affaith ddigwedd."
*Glan. MS. C.*
"Affaith dyngnefedd."—*Glan. MS. K.*

Rhag trais tragwyddawl[1]
tân trwch kallestrawl } ffyrnig drwythwedd[2]
tannawl uffernawl

Rhag tanllvd svddbwll[3]
tân /y/doeth fflam gymwll[4] } trydar lesgedd[6]
tinllwch trwy dwll[5]

[7]Rhag poen aruthrgar[8]
poeth ferw tân llachar } du ar fygnedd[10]
pell fyddar dayar[9]

Rhag llith llwythau blin
llys uffern segin[11] } gwerin gyrredd[12]
llîn Adda fyddin

[1] "Trais dragwddawl."—*Glan. MS. K.*

[2] "Dygnedd"—*Add. MS.*, 14,964; "drwithwedd"—*Glan. MS. C.*; "Dachwedd" — *R. J.*, a'r *Cymmrodor.*

[3] "Sybwll"—*Add. MS.*, 14,964; *Glan. MSS. C.* a *K.*, *R. J.*, a'r *Cymmrodor.*

[4] "Tanllwyth fflam gymwll." *Add. MS.*, 14,964; *Glan. MS. K.*

[5] "Tinllwm trwch rhwdbwll." *Add. MS.*, 14,964, a *Glan. MS. K.*
"Twllwch trwch trydwll." *Glan. MS. C.*

[6] "Rhydaer lesgedd." *Add. MS.*, 14,964.
"Rrydar lescedd." *Glan. MS. K.*
"Trydar loscedd." *Y Cymmrodor.*

[7] Yn blaenori y pennill hwn ceir y rhai canlynol yn *Add. MS.*, 14,964:—

"Rhag uffern boenau
A'i ffeilsiau dyrau
Cadwynau rhwymau
dreigiau drygwedd
Rhag pwll furn pillfaf
A'r gweisiau gwaethaf
uffern llid addaf
drymaf dromwedd."

[8] "A thrydar"—*Add. MS.*, 14,964, a *Glan. MS. K.*

[9] "Pwll byddar daear." *Add. MS.*, 14,964.

[10] "Duoer fignedd." *Add. MS.*, 14,964.
"Duoed signedd." *Glan. MS. C.*
"Duoer dygnedd." *Glan. MS. K.*

[11] "Fegin."—*Add. MS.*, 14,964.

[12] "Gerwyn gyredd." *Y Cymmroder.*

Rhyw fath o alleiriad, gydag ychwanegiad o "Litaniau y Sainct" (Gwel *Allwydd neu Agoriad Paradwys*, tudal. 293), ydyw y pennillion uchod :—

Brenhinawl fâb Mair
brenhinawl orevgrair[1] } gair gorfoledd
brenhin nef ith wnair

Ti /a/ feddevaist
têg /y/ meddyliaist[2] } ar bren krogwydd[4]
y dydd in[3] prynnaist

"Rhag pob drwg
Rhag pob pechod
Rhag dy ddigofaint di
Rhag marwolaeth ddisymmwth ammharod
Rhag dichellion y Cythraul
Rhag llid, casineb a phob drwg ewyllys
Rhag y pryd godineb
Rhag melt-luched a themmhestl
Rhag marwolaeth dragywyddol.

Gwared ni O Arglwydd."

[1] "Brenhin loywgrair."
*Add. MS.*, 14,964.

"Breninol oleugrair."
*Glan. MS. C.*

"Breiniawl deugrair."
*Y Cymmrodor.*

[2] "Da i meddyliaist."
*Add. MS.*, 14,964.

"Teg i meddiennaist."
*Glan. MS. C.*

[3] "In"—*Glan. MS. C.*; "i"—*Glan. MS. K.*

[4] "Ar y pren crogedd," gyda "palmwedd" ar ymyl y ddalen, yn *Add. MS.*, 14,964.

"Ar y pren palmwedd."
*Glan. MS. C.*

"Ar bren krogwedd."
*Glan. MS. K.*

Pa un bynag ai Iolo ei hun ynte rhyw gopïwr sydd yn gyfrifol am y "palmwedd" a geir yn rhai copïau, y mae yn amlwg ei fod o'r farn mai o'r pren palmwydd y gwnaed y Groes. Hysbysir ni fod traddodiad ym mhlith y Pabyddion fod y groes ar yr hon y croeshoeliwyd Crist wedi ei gwneyd o bedwar o wahanol goed—palmwydd, cedrwydd, olew-wydd, a chypreswydd. Ac yn gyffelyb y dywedir gan Hywel Dafydd ab Ieuan, ond ei fod yn rhoddi y pren almon yn lle yr olew-wydd (Gwel *Geir. Cymraeg* Silvan Evans, s.v. "Croes"):—

"Rhoed ar *groes* o wŷdd Moesen,
Rhwng Dismas ac Esmas hen

. . . . . . . .

Pedwar defnydd gwŷdd goddef
Y Grawys oedd ei *groes* ef;
Sef Alma, a'r Palma pur,
Cedrus, cypressus prysur;
Ar y *groes*, pumoes heb hel,
Y dringodd pedwar angel."

Y mae y Cywydd hwn i'r "Grog o Aberhodni," gan Howel Dd. ap Ifan ap Rŷs, i'w weled yn *Add. MS.*, 14,891, fol. 24b.

| | |
|---|---|
| Dy boenedigaeth[1]<br>ath farfolaeth[2]<br>er ai gwnaeth ar faeth[3] | arfog drossedd[4] |
| Wrth hynny arglwydd<br>kadarn didramgwydd<br>kedrwydd kyfarwydd[5] | kof oferedd[6] |
| Gwna ddofydd maddau[7]<br>fy holl bechodau<br>am ddwyn ith ddeau | olau wledd[8] |
| Mal[9] y maddeuwyf<br>a / wnaethbwyd wrthwyf[10]<br>ar fynghnawd /o/ glwyf[11] | glew ddigllonedd |
| O / drais /o/ golled[12]<br>o/ gawdd[13] /o/ godded[14]<br>ag /o/ bôb gweithred[15] | kyried karedd[16] |

1 "Dy boen a'th alaeth."
*Add. MS.*, 14,964; *Glan. MSS. C.* a *K.*

"Ath ferthyrolaeth."
*Add. MS.*, 14,964.

3 "Y rhai a'i gwnaeth."
*Add. MS.*, 14,964.

"I'r sawl ai gwnaeth."
*Glan. MS. C.*

"Ar rrai ai gwnaeth."
*Glan. MS. K.*

4 "Eurfaeth orfedd."
*Add. MS.*, 14,964; *Glan. MS. K.*, ac *R. J.*

"Ar faeth droysedd."
*Glan. MS. C.*

"Ar fawr drosedd."
*Y Cymmrodor.*

5 "Cyfyngrwydd"– *Add. MS.*, 14,964; "kyfynrrwydd" — *Glan. MS. K.*

6 "Ko fu oferedd"—*Glan. MS. C.*; "coloferedd"—*R. J.*

7 "Gwna Dofydd faddau."
*Add. MS.*, 14,964.

"Naf dofudd maddau."
*Glan. MS. C.*

"Duw ddofydd maddeu."
*Y Cymmrodor.*

8 "Dan yn y diwedd," gyda "oth law ith wledd *in al.*" ar ymyl y ddalen, yn *Add. MS.*, 14,964.

"Yn dau yn y diwedd."
*Glan. MS. C.*

"Ath law ith wledd."
*Glan. MS. K.*

"Oleu loyw wledd."
*Y Cymmrodor.*

9 "Fal."—*Add. MS.*, 14,964.

10 "Trwy nwyf — *Add. MS.*, 14,964; "wrt.ıwy"—*Glan. MS. C.*; "nwy"—*Glan. MS. K.*

11 "Glwy."—*Glan. MSS. C.* a *K.*

12 "O drais golled."—*Add. MS.*, 14,964.

"O drais a golled."—*Glan. MS. K.*

13 "Cawdd" = digofaint.

14 "Codded" = trallod.

15 "O bob eniwed."
*Add. MS.*, 14,964, ac *R. J.*

"O bob gwarthaed."
*Glan. MS. K.*

16 "Cyred cared."
*Add. MS.*, 14,964.

Ith ddeau ddewin[1]
i / bwy kynefin[2] } erwin orwedd
kyn rhwyın dayarin[3]

Lle mae lle difrad[4]
ar lawr llathr[5] gwenwlad } rhâd anrhydedd[6]
lle mae goleuad

Lle mae digrifwch[7]
a / phob rhyw degwch } deilwng orwedd[9]
lle mae dadolwch[8]

" Kuredd karedd."
*Glan. MS. C.*
" gwared gwiredd."
*Glan. MS. K.*
" Cyred caredd."—*R. J.*
" Curied caredd."
*Y Cymmrodor.*

Tybiwn fod *R. J.* yn gywir pan y dywed mai " cyrid " = (*adulterous love*) a feddylir wrth " cyred ;" a dywedir wrthym yn *Geir. Cymraeg* D. Silvan Evans mai meddwl y gair " caredd " yw *trosedd*—felly cyfeirio y mae Iolo at y pechod o anlladrwydd, gyda'r dymuniad iddo gael maddeuant o hono.

[1] " Eix diau ddeigrin."
*Add. MS.*, 14,964.
" Ich diau ddeigrin."
*Glan. MS. K.*
" Ith ddeau ddewin."
*Glan. MS. C.*
" Ath ddehau ddewin."
*Y Cymmrodor.*

Y mae *R. Jones* yn methu a gwneyd unrhyw feddwl o'r gair " ddeigrin," ac yn barnu fod y testyn yn anghywir. Ac felly yn wir y mae. Credwn fod ein testyn ni yn gywirach, ac fod " ddewin " yma yn golygu yr Iesu, ar ddeheulaw yr hwn y dymunai Iolo gael ei ddwyn.

[2] " I bwyf gynefin."
*Add. MS.*, 14,964.
" I bwyf gynefin."
*Glan. MS. C.*
" I bwy gynefin."
*Glan. MS. K.*

[3] " Daearin "—*Add. MS.*, 14,964; " dauarin," *Glan. MS. C.*; " dayerin," *Glan. MS. K.*

[4] " Lledrifad "—*Glan. MS. K.*; " llu difrad "—*Y Cymmrodor.*

[5] " Llethr "—*Add. MS.*, 14,964; *Glan. MS. C.*, *R. J.*, a'r *Cymmrodor*. Dichon " llathr " (= *glittering*) fod yn gywir, yn ogystal a " llethr " (= *slope*).

[6] " Rhad rhinwedd."
*Glan. MS. C.*
" Rhod anrhydedd."
*Y Cymmrodor.*

[7] " Llei mae diddanwx."
*Add. MS.*, 14,964.

[8] " Llei mae dedwyddwx."
*Add. MS.*, 14,964.

" Lle mae dedwyddwch " a geir hefyd yn y llyfrau ereill ; ac y mae yn ymddangos yn fwy cydnaws â rhediad y pennill na " dadolwch " = *deprecation*.

[9] " Deilwng orsedd."
*Add. MS.*, 14,964.
" Teilwng rrywedd."
*Glan. MS. K.*

| | |
|---|---|
| Lle mae kowirdeb[1]<br>lle mae dewirdeb[2]<br>lle dibechod nêb[3] | } lle da buchedd |
| Lle mae gorphwys[4]<br>uwch llaw peradwys[5]<br>lle mae mirain[6] lwys | } lle mae mowredd[7] |
| Lle mae nefolion<br>lliaws[8] urddolion<br>lluoedd[9] angylion | } gwirion garedd |
| Lle[10] mae eglurder<br>lle mae dwyfolder<br>lle mae nêr nifer[11] | } nefol orsedd |

"Teilwng rhyfedd."
*Y Cymmrodor.*

"Dilwch orsedd" ydyw darlleniad *R. Jones;* a'i eglurhad yw:—"Where its honours emit light or splendour." Ond waeth heb gynnyg esbonio pan y mae yn ammnosibl penderfynu pa ddarlleniad sydd gywir.

1 "Cywirdeb"—*Add. MS.*, 14,964; "cowirdeb"—*Glan. MS. C.*

2 "diweirdeb."—*Add. MS.*, 14,964; "duwioldeb"—*Glan. MS. C.*

3 "Lle dibechodeb."
*Y Cymmrodor.*

O'r braidd na feddyliwn, er na wyddom am unrhyw enghraifft arall o'r ffurf hon, mai "dibechodeb" = *sinless* sydd gywir. Awgryma *R. J.* mai "di bechod neb," gan gyssylltu "bechod" â "neb," a ddylai fod; ond yr ydym yn methu deall ei eglurhad.

4 "Gorphowys" — *Add. MS.*, 14,964; "gorffowis"—*Glan. MS. C.*; "gorffowys"—*Glan. MS. K.*; "gorphywys"—*R. J.*, a'r *Cymmrodor.*

5 "Yngwlad baradwys."
*Add. MS.*, 14,964.
"Iw law Beradwis."
*Glan. MS. C.*
"Yngwlad byradwys."
*Glan. MS. K.*
"Uwch law paradwys."
*Y Cymmrodor.*

6 "Murain"—*Glan. MS. K.*; "mirein"—*Y Cymmrodor.* Y mae *R. J.* yn gweled anhawsder yn y llinell hon; a dymunai gyfnewid "mirain" i "miraint" = *beauty*; ond, yn ol y Dr. W. O. Pughe, y mae "mirain" hefyd yn golygu *a fair aspect, comely*—yna y mae yr anhawsder yn cilio.

7 "Mawredd."—*Add. MS.*, 14,964.

8 "Lle mae."—*Add. MS.*, 14,964.

9 "Lliaws"—*Add. MS.*, 14,964; *Glan. MS. K.*

10 "Llei" yn lle "lle," yn y pennill hwn yn gystal ag mewn amryw fanau ereill, a geir yn *Add. MS.*, 14,964.

11 "Ynifer"—*Add. MS.*, 14,964; *Glan. MS. K.*, ac *R. J.*

Arf[1] krêd kêd kadair
Arglwydd pôb kyngrair } borthair barther[2]
Erglyw fi mâb Mair
Kans wyf[3] bechadur
Korphorawl nattur } a/mawr ddialedd[4]
Rhag tostur ddolur
Kans wyt wir frenin[5]
o/ ddeau ddewin[6] } lliwawdr naredd[7]
hyd /y/ gorllewin
Kans wyf gyffessawl[8]
a/ Mair ym eiriawl[9] } oed oferedd[10]
ag edifeiriawl

1 "Rhif" yn y llyfrau ereill, oddigerth *Glan. MS. C.*, yr hwn a rydd :—"Krist kred ked kadair."

2 "Berthair borthedd"- *Add. MS.*, 14,964; *R.J.*, a'r *Cymmrodor*.
"Borthair borthedd." *Glan. MS. C.*
"Aberthair borthwedd." *Glan. MS. K.*

3 "Cyd bwyf"—*Add. MS.*, 14,964; *R. J.*, a'r *Cymmrodor*.
"Kud bwuf"—*Glan. MS. C.*; "kan wyf"—*Glan. MS. K.*

4 "A dialedd"—*Glan. MS. C.*; "a mawr ddialedd"- *Glan. MS. K.*

5 "Canys wyd Frenin." *Add. MS.*, 14,964; *R.J.*
"Kud /i/ bich gwir frenin." *Glan. MS. C.*
"I ganwyd brenin." *Glan. MS. K.*
"Can s wyt wir frenin." *Y Cymmrodor.*

6 "Ar ddeau ddewin." *Add. MS.*, 14,964; *Glan. MS. K.*, ac *R. J.*
"Or deau ddewin." *Glan. MS. C.*
"O ddeau ddewin." *Y Cymmrodor.*

7 "Llywiawdr mawredd." *Add. MS.*, 14,964; ac *R.J.*
"Lliwiawdwr mowredd." *Glan. MS. C.*
"Llawiawdr mowredd." *Glan. MS. K.*
"Llywiawdur moroedd." *Y Cymmrodor.*

Pa un bynag o'r darlleniadau uchod sydd gywir, y mae yn amlwg mai amcan y bardd oedd gosod allan eangder llywodraeth Crist, yr hon a gyrhaedda dros yr holl fyd.

8 "Canys wyf gyffesol." *Add. MS.*, 14,964; *R. J.*
"Kud bwif gyffessawl." *Glan. MS. C.*
"Gan i bwy gyffesol." *Glan. MS. K.*

9 "A Mair y Meiriawl." *Glan. MS. C.*
"A mair im eiriol." *Glan. MS. K.*
"Ac yn mawr eiriawl." *Y Cymmrodor.*

Yn *Add. MS.*, 14,964, gosodir yr ail linell yn drydedd, a'r drydedd yn ail.

10 "Am oferedd"—*Add. MS.*, 14,964; ac *R. J.*

Kans wyt freniokaf[1]
a/ dilidiokaf[2] } nâf nam gomedd
Kans wyt oruchaf

Er dy ddiwedd loes[3]
Er poenau pumoes[4] } pumustl ogredd[6]
Er dy greulyd groes[5]

Er y/ gwayw efydd
a wnânt ir efrydd[7] } dwyfawl[9] agwedd
tan fron dofydd[8]

" Oed oferedd."—*Glan. MS. C.*
"Am foferedd."—*Glan. MS. K.*

1 " Wyd frenhinocaf."
*Add. MS.*, 14,964; ac *R. J.*
" Kan wyt Crist frenioccaf."
*Glan. MS. C.*
" Gan wyt freinioka."
*Glan. MS. K.*
" Can's wyt freninoccaf."
*Y Cymmrodor.*

2 " A delidocaf " — *Add. MS.*, 14,964 ; " a deledoccaf " — *Glan. MS. C.* ; " a deuludoka "—*Glan. MS. K.* " Dyledocaf "= cyfoethocaf.

3 " Er dyddiwedd loes."
*Glan. MS. K.*
Yn *Add. MS.*, 14,964, y mae y drydedd llinell yn ail, a'r ail yn drydedd.

4 Wrth y "pumoes," yn ol *Robert Jones*, y golygir y " pum' cyfnod " mewn duwinyddiaeth oedd wedi myned heibio cyn ymddangosiad Crist. Ond ni ddywed pa gyfnodau oeddynt.

5 " Er dy greulon groes."
*Add. MS.*, 14,964.
" Er dy greulon loes."
*Glan. MS. K.*

6 " Bumustl xwerwedd."
*Add. MS.*, 14,964.
" Bumistl egrwedd."
*Glan. MS. C.*
" Bumlost chwerwedd."
*Glan. MS. K.*
" P um y stl chwerwedd."
*Y Cymmrodor.*
Cyfeiriad at y cwpan a roddwyd i Grist pan ar y groes. "Bumustl," yn ol *R. J.*, yw *hemlock*, *oxbane.*

7 " A'th frathodd elfydd."
*Add. MS.*, 14,964 ; ac *R.J.*
" A frathodd yr efrudd."
*Glan. MS. C.*
" Ith frathedd yr efrydd."
*Glan. MS. K.*
" A wan tryferydd."
*Y Cymmrodor.*
Diau mai " efrydd " (=*maimed*) sydd gywir; ond nis gwyddom a oedd gan y bardd sail dros ddyweyd mai picell bres (=efydd) oedd yr un a ddefnyddiwyd i drywanu Crist.

8 " Dan dy fron ddofydd."
*Add. MS.*, 14,964 ; ac *R.J.*
" Dan ddwy fronn dofydd."
*Y Cymmrodor.*
" Dofydd "=Arglwydd.

9 "Ddwyfawl"—*Add. MS.*, 14,964, ac *R. J.* ; "dwyfol"— *Glan. MSS C.* a *K.*, a'r *Cymmrodor.*

| | |
|---|---|
| Er dy weliau<br>Klyw fyngweddiau<br>Er dy grau angau | ing /y[1]/ diwedd |
| Er dy farw loysion[2]<br>gan ddurawl hoylion[3]<br>Er dy ddrain goron[4] | dy drugaredd |
| Er dy gyfodi<br>Wedi/r/ pum gweli<br>Krist keli fy rhi | or rhwym faensedd[5] |
| [6]Ath falch ddyrchafiad[7]<br>Ar ddeau dy dâd<br>dod ym gyfraniad[8] | oth wlad ath wledd |

Iolo Goch : a ⁚ k :

[1] "Yn y"—*Add. MS.*, 14,964; *Glan. MS. C.*, ac *R. J.*; "yny"—*Glan. MS. K.*

[2] "Loesion" yn y llyfrau ereill.

[3] "Gan ddurawl hoelion." *Add. MS.*, 14,964; ac *R.J.*
"Arithrawl hoelion." *Glan. MS. C.*
"Gan ddur a hoelion." *Glan. MS. K.*
"Gan dduriawl hoelion." *Y Cymmrodor.*

[4] "Er y drain Goron"—*Add. MS.*, 14,964; *R.J.*, a'r *Cymmrodor.*

[5] Y darlleniad yn ol *Add. MS.*, 14,964, ydyw:—
"Er dy bum weli
Er dy gyfodi
Crist celi a'th fersi
rhwym fi i'th orsedd."
Y "pum weli" oeddynt yr archollion a gafodd yn ei ddwylaw, ei draed, a'i ystlys.

[6] Yn blaenori y pennill hwn ceir yr un a ganlyn yn *Glan. MS. C.*:—
"Ag er goresgyn
vffernawl derfyn } di ymgeledd"
fyddin pobgelyn

[7] "Er dy ddigoniad." *Add. MS.*, 14,964; ac *R.J.*
"Er dy eisteddiad." *Glan. MS. C.*
"Er dy fawr ddigoniad." *Glan. MS. K.*

[8] "Dyro im gyfraniad." *Glan. MS. C.*

## LIV.

### * CYWYDD I'R DRINDOD.

---

*(O "The Works of Iolo Goch," gan R. Jones, tudal. 17).*

Y mae y cywydd hwn i'w gael hefyd yng *Ngorchestion Beirdd Cymru* ac yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 8; ac o'r blaenaf y copïwyd ef gan Robert Jones. Ni ddygwyddodd i ni ei weled yn cael ei briodoli i Iolo Goch mewn unrhyw ysgriflyfr; ond mewn ysgriflyfr a gopïwyd oddeutu dechreu y ddeunawfed ganrif, ym meddiant Mr. Edward Griffith, Springfield, Dolgellau, priodolir ef i Edwd. ab Rhees, lle y ceir 100 o linellau. Ceir ef hefyd yn "Llyvr Huw Lleyn" (*Add. MS.*, 14,967, fol. 1.), gydag "Edwart ap Rys ai Kant" ar ei ddiwedd. Dywedir (*Enwogion Cymru*, Foulkes, tudal. 270) fod Edward ab Rhys Maelor yn byw tua chanol y bymthegfed ganrif. Ac y mae y ffaith ei fod yn cael ei briodoli iddo ef yn *Llyvr Huw Lleyn* yn lled gryf o blaid y dywediad mai efe oedd yr awdwr. Pa fodd bynag, y mae yn amlwg oddi wrth yr arddull mai nid Iolo Goch a'i cyfansoddodd; ac y mae yn ystwythach na'r un a wnaeth Iolo. Fel hyn y dywedir am y cywydd mewn nodyn rhagarweiniol, gan y golygydd, yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*:—

"Wrth ddarllen y cywydd isod, ac ystyried fod yr hen Fardd yn ei flodau tua phum can mlynedd yn ôl, yn mhell cyn y diwygiad Protestanaidd; fe'n synir mor ysgrythyrol a chywir ei olygiadau am Dduw; ac mor goeth ac eglur yw yr iaith a ddefnyddia yn ei gyfansoddiad. O'n rhan ein hunain, fe'n tueddir i farnu i'r cywydd hwn gael ei gyfansoddi ganddo yn ei hen ddyddiau, pan wedi cyrhaedd llawer o aeddfedrwydd barn, a phurdeb chwaeth: ac y mae yn lled debyg fod y ganwyll a oleuasai Wickliffe a'r Lolardiaid

yn yr Ynys hon, wedi cyffroi sylw 'Arglwydd Llechryd' at yr Ysgrythyrau, ffynonell gwybodaeth gywir am Dduw; canys yn mhen ychydig flyneddoedd ar ol hyn, cawn fod yr Arglwydd Cobham, yr hwn oedd yn ddysgybl enwog i Wickliffe, yn cael achles yn Aber Tanad, yn agos i Sycharth llŷs yr enwog Owain Glyndwr, lle yr arferai ein Bardd dreulio llawer o'i amser yn ei hen ddyddiau. Ac y mae lle cryf i gasglu fod y gwron hwnw ei hunan wedi yfed yn lled helaeth o ysbryd y Lolardiaid cyn diwedd ei oes."

Yr ydym yn lled barod i gydnabod fod y cywydd yn un rhagorol; ond nid ydyw yn profi mewn un modd fod a wnelo Iolo o gwbl â'r Lollardiaid, *a chaniatau* mai efe oedd ei awdwr. O blegid, yr oedd pob Pabydd deallgar yn credu yn athrawiaeth y Drindod yn gystal ag yr oedd y Lollardiaid. Ac am Arglwydd Cobham (Syr John Oldcastle), yr hwn a roddwyd i farwolaeth yn 1417, ar ol iddo fod tua phedair blynedd yng Nghymru, y mae yn amlwg, oddi wrth yr amseriadau, nas gallasai efe fod wedi dylanwadu dim ar Iolo Goch.

Duw, Ior y duwiau eraill,
Dofydd a Llywydd y llaill;[1]
Dawn llawn—Duw yw'n llawenydd—
Duw a weddïwn bob dydd.
Dawn[2] yw gweddïo Duw Naf,
Duw byth, nis diobeithiaf![3]
Heb Dduw ym' dysg, heb ddim dawn;
A Duw agwrdd,[4] a digawn[5]

[1] "Ereill" a "lleill" ydynt y terfyniadau yn *G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

[2] Sylwa *R.J.* fod "dawn" yn llin. 3 yn golygu *rhodd*, neu *anrheg*; ond ei fod yn llin. 5 yn golygu y gallu i gyflawni unrhyw weithred feddyliol, megys "dawn llefaru," "dawn gweddio," &c.

[3] Yn ysgrifllyfr Mr. Edward Griffith ceir y ban a ganlyn ar ol llin. 5:—

"Dyn buw gweddied 'n bêr
Duw naf ag nid iw n ofer."

[4] "Agwrdd"=galluog.

[5] Yn y ban uchod ceir yr hen ddihareb Gymreig:—"Heb Dduw, heb ddim—Duw a digon."

Mwyaf yw pwys fy mywyd,
Ar Dduw byth, nag ar dda'r byd.
Rhodd yw, rhai addewynt,[1]
Rhaid yw ym'[2] wybod ar hynt;
Pwy ddeil gof ?[3] pa ddelw y gwn ?[4]
Pa Dduw ? pwy a weddïwn ?
Pybyr Greawdr[5] pob hoywbeth,
Pob rhai byw, pob rhyw o beth.
Pwy a wnaeth y nef hefyd ?
Pob rhyw, feirw a byw, a byd ?
Pwy sy'n cynnal, grwndwal[6] grym,
Llawr yr adail lle'r ydym ?
Pwy a oedd Dduw ? pwy a ddaw ?
Pwy sydd piau sy eiddaw ?
Tri'n y nef a gartrefan'—
Tadwys,[7] Mab, Yspryd glwys Glân.
Tri Pherson, undôn Unduw,
Ag nid un, onid un Duw.[8]

[1] "Rhodd yw, y rhai addewynt." *G. B. C.*
"Rhodd yw, rhai a addewynt." *C. Ll. G.*
"Rhodd ydyw rhai addywedynt
A rhaid ym wybod ar hynt." *Griffith's MS.*

[2] "Im'."—*G. B. C.*

[3] Pwy a ddichon roddi cyfrif ? —neu amgyffred ?

[4] Pa fodd y gwybyddaf ?

[5] "Greawdwr" a geir yn *G. B. C.*; ond y mae y ffurf hono yn gwneyd y llinell yn rhy hir. Sylwa *R. J.* fod "Greawdr" yn well na "Greawd*wr*" am nad yw yn briodol cyssylltu *gwr* â'r Duwdod. Pa fodd bynag, *greawdr* neu *greawdyr* oedd y ffurfiau hynaf; a chredwn mai anaml y ceir "creawdwr" mewn cyfansoddiadau boreuach na'r eilfed ganrif ar bymtheg.

[6] "Groundwal."—*C. Ll. G.* Ai nid gair o darddiad Anglo-Sacsonaidd yw hwn ? Ei ystyr ydyw *syljaen*, neu *sail.* Defnyddir ef gan Deio ap Ieuan Du (*Gorch. Beirdd Cymru*, tudal. 165):—
"A grwndwal pob iaith,
Yn weithredodig."
Ceir y gair amryw weithiau yn Nhestament Salesbury, megys:—
"A'c, Tydi yn y dechreuad, arglwydd, a *g*roundwaleist y ddayar" (Heb. i., 10).

[7] "Tadwys" (*fatherhood*); fel y sylwa *R. J.*, defnyddir y ffurf ddansoddol (*abstract*) yn lle y gyfansawdd (*concrete*)—tad.

[8] Anhawdd iawn, feddyliem, fyddai rhoddi mynegiad eglurach o Athrawiaeth y Drindod mewn mor lleied o eiriau ag a wneir yn y llinellau uchod.

Nid oes fry, yn eu dwys frawd,[1]
Ond yr Unduw a'r[2] Drindawd.
Trindawd yr Unduw ydynt;
Ag un Duw—gogoned ynt.
Un feddiant yn eu glândy,
Un gadernyd, un fryd fry;
Un fraint, un feddiant, un frys,[3]
Un allu, un ewyllys;
Un dôn,[4] un wath,[5] da'n un wedd,
Un Duw ynn'[6] yn y diwedd.
Gair oedd yn y Goreu-dduw,
A'r Gair a ddaeth o'r gwir Dduw.
Gwnaethpwyd o'r Gair gwenith-bwys[7]
Gnawd glân, Mab gogoned glwys;
Ag o ryw y Goreuair
Y ganed Mab o gnawd Mair;
Ym Methlem o'i fam wythlwys[8]
Y ganed ef, Fab gwyn dwys:
A'i eni'n Fab, anian fwyn,
O'r wyryf Fair, wir forwyn.

[1] "Nid oes fry enw dwys frawd
Ond yr un Duw yn Drindawd."—*Griffith's MS.*

Golyga "frawd" yma yr un peth a *gorsedd*, neu *frawdle*.

[2] Gwell, yn ein tyb ni, ydyw darlleniad *G. B. C.* :—"Ond yr Unduw yn Drindawd;" o blegid yn ol y testyn y mae yr *Unduw* a'r *Drindawd* yn cael eu dadgyssylltu.

[3] Nid oes genym well eglurhad nag a rydd *R. J.* ar y gair "frys" = parodrwydd, neu gyflymder.

[4] Yr un ymadrodd.

[5] Eglura *R. J.* y gair hwn fel y canlyn :—"*Gwath*, 'intent,' 'design'—a term not to be found in Dr. Owen Pughe's Lexicon." Ond pa ham na roddasai *R. J.* ei awdurdod? Tebycach genym mai gwall am "waith" ydyw :—

"Un dôn, un waith da'n un wedd."—*C. Ll. G.*

[6] Ymddengys i ni hefyd mai gwall yw "ynn'" am "ynt," ac felly y ceir yn *G. B. C.*

[7] "Gwenith-bwys" = pur. "A'r Gair a wnaethpwyd yn gnawd," &c.—Ioan i., 14.

[8] Credwn fod *R. J.* yn gywir pan y dywed mai meddwl y gair "wythlwys" ydyw yn *brydferth wythwaith*, ond y darlleniad yn *Griffith's MS.* yw :—

"Y methelem oi fam iaithlwys
i ganed ef fab gwyn dwys,"

Nid o natur dyn yttoedd,
Eithr o Dduw medd Athrodd oedd;[1]
Ag o radd y Goreudduw
A'r Ysbryd Glân buan, byw.
Graddau y Mab goreuddoeth
O allu Duw oll y doeth;[2]
Dau a gyssylltwyd mewn dawn,
Duw a dyn, diwyd uniawn.
Duw yn ein mysg,[3] dawn a'n medd
A dry gair, o'i drugaredd,
I'n dwyn i nef dan ei nawdd—
Ddofydd a ddioddefawdd.

[1] "Eithr o Dduw, medd athro, 'dd oedd."—*G. B. C.*

[2] "Y doeth"=y daeth. "Dôth" ydyw y ffurf a arferir yn awr yn Cemmaes, Sir Drefaldwyn.

[3] "A hwy a alwant ei enw ef Emmanuel; yr hyn o'i gyfieithu yw, Duw gyda ni."—Matt. i., 23.

# LV.

## I DDUW.

---

*(O Lyvr Huw Lleyn—Add. MS., 14,967, fol. 81b).*

Y mae y cywydd hwn i'w weled hefyd yn *Add. MS.*, 14,984. Ei benawd yn hwnw ydyw "Cowydd i dduw yn dangos daioni duw i ddyn ymhob peth." Ond nid ydyw y penawd hwn yn rhoddi amgen na syniad lled anghyflawn am ei gynnwysiad. Dechreua y bardd trwy gydnabod Crist yn y cymmeriad o Greawdwr y byd; cyfeiria at ei ddyndod, ei Dduwdod, a rhydd iddo ei le yn y Drindod Sanctaidd. Ond nid ydyw hyn amgen nag a geir yn amryw o'i gywyddau, y rhai a ddangosant fod Iolo, fel pob Pabydd arall, yn uniawngred can belled ag y mae athrawiaeth y Drindod yn y cwestiwn. Yna y mae y bardd yn myned rhagddo i sylwi ar ymddygiad Duw at ddyn yn ei ragluniaeth, trwy beri i'r ddaear ddwyn ffrwyth i'r hwn a'i llafuria, a thrwy ddwyn pysg y môr ac ehediaid y nefoedd i dalu teyrnged iddo. Er y daioni hwn o eiddo Duw, dengys y bardd nad oes greadur ar y ddaear mor anniolchgar i Dduw, ac mor elyniaethus i'w gydgreadur, a DYN. Ac yn olaf, y mae yn symmud ym mlaen i sylwi ar Ddydd y Farn, pan y bydd Duw yn ymddwyn at bawb yn ol eu haeddiant, gan gospi y drwg a gwobrwyo y da. Er nad oes yn y cywydd ond ychydig o'r awen farddonol, eto, y mae yn cynnwys cryn lawer o wirionedd; ac y mae yn werth i'w ddarllen, pe na byddai ynddo ddim ond adlewyrchiad o feddwl yr oes yng nghylch ymddygiad Duw at ei greaduriaid.

Kreawdr[1] mawr kreadur mwyn — croyw awdur
Krist grair mab i vair vorwyn — T. Wms.

[1] Yr oedd beirdd Cymreig y cyfnod hwn yn lled hoff o roddi lle amlwg i'r Ail Berson yn y Drindod fel creawdwr y byd. Dywed Sion Cent (*Iolo MSS.*, p. 285) fel y canlyn :—

Keli[1] vn mab duw kulwydd[2]
Klyw ni dduw tri ddatrwydd
Tad a gysbryd[3] kyd kadair
A gwir vab o vru gwyrf vair
Ysbryd wyd galon drwydoll
A Duw a dyn sydd daed[4] oll
dirvawr garriad heb dervyn
wir dduw a vwrriaist ar ddyn
pob march a ffob tywarchawr[5]
A ardd y maes wir dduw mawr
Bara os llavuria vo
I ddyn a gaiff o ddynno[6]
Kic o bysgod eigiawn
A ddaw i ddyn eiddaw ddawn[7]
Mawr vydd i obr os gobryn[8]
Maend[9] oll val i mynno dyn
Dir yw i bob y deryn[10]
dysgu anrrydeddu dyn
Gwyllt ac vchel i helynt
Gwalch kyn ebrwydded ar gwynt

"Crist, Rhion, Dafon difeth,
Creawdur
Cariadawl ei Achreth,
Mab Mair dianair Eneth,
Pab byd yn peri pob peth."

1 "Keli" yn gyssylltedig â "Krist" yn y llinell flaenorol—Crist o'r nef Defnyddir *Celi* hefyd fel enw ar yr Hollalluog.

2 Defnyddir "Culwydd," fel *Celi*, yn gyfystyr ag Arglwydd, neu fel arddodiad i *Arglwydd*, *Crist*, *Duw*, a *Celi*, megys fel y dywed Einion ab Gwgawn (*Myv. Arch.*, p. 225):—

"Kyuarch om naf om neuawl
Arglwyt
Krist keli kulwyt kwl y
ditawl."

3 Ac yspryd.

4 "Daed"=mor dda?

5 Gallem dybied fod y "tywarchawr" yn golygu yr un peth a *rhychawr*, sef yr ych a gerddai ar y rhych pan yr oedd dau yn tynu yr aradr ochr yn ochr. *Rhychawr a gwelltawr* y gelwid yr ychain hyn.

6 Oddi yno.

7 Tybiwn fod y llinell hon yn wallus. Ai nid "*ddau* ddawn" a feddylir?

8 "Gobryn" = haeddu — Mawr fydd ei wobr os yn haeddu.

9 Maent.

10 "Y deryn"=aderyn. Gwir yw y dysga pob aderyn anrhydeddu dyn, trwy gyfranu, gallem dybied, at ei gysuron.

I ddyn mau[1] i wedd ynno
Ar i law a ddaw yn ddo[2]
Dilys bod krwth neu delyn
Yn keisiaw dy huddaw[3] dyn
Dwys gred nid oes grayadur[4]
A wnaethost gorvuost gwir
Gymin[5] athwnel yn elyn
Egni dost ac i gwna dyn
Ith gorff i tyngant ath gic[6]
Ac ithelw wiw gatholic
Erraill yn dost athostwng[7]
I wad[8] dy vron don[9] a dwng
Mynych myn mair eurgrair oll
am herchi dy bum harcholl
Pam hevyd yny byd y bydd
pob dyn gelyn yw gilydd
Salw ywr byd mewn trymvryd trwch
Swyddau ni ad nos heddwch[10]
Ffoi a wnna kedyrn yn rrwydd
Er hir glod aur yw harglwydd
Ai addaw er blinaw r blaid
Ai gynull ar y gweiniaid[11]
Na roed neb kytundeb kall
Ar gwst[12] aur ar gost arall

[1] "Mau" = fel ei eiddo ei hun.

[2] "Yn ddo" = yn ddof.

[3] "Dyhuddaw" = boddhau.

[4] "Grayadur" = greadur.

[5] Gymmaint.

[6] Tyngu i gorff a chnawd Crist —cymmeryd ei enw yn ofer.

[7] Y mae dau air yn cael eu cysylltu mor fynych mewn ysgriflyfrau fel na ddeuem i ben pe dechreuem sylwi arnynt.

[8] "Wad," gwall am *waed*.

[9] "Don" = amlwg.

[10] Cyfeiriad at arferion pobl y byd yn trachwantu swyddau a budd-iannau eu gilydd.

[11] Gorthrymu y gweiniaid trwy eu trethu yn drwm, er cael arian i lwgrwobrwyo eu huwchafiaid.

[12] "Gwst" = blinder, neu drafferth —"Na roed . . . ar gwst, aur ar gost arall." Hyny yw, nid trwy orthrymu ereill yr ydym i ddangos ein haelioni.

Yn wysc[1] byr vydd yr hwysc yr hawc[2]
hwyl berw llif hael ber llafiawc[3]
A vo hael gavael gyvun
A hy[4] bid oi dda e hun
Anoff owdl oni ffeidir
Mor tawch[5] a dyr muriaur tir
Ar melld a lysc yr elldydd
Ar gwynt a ddadwreiddia r gwydd[6]
Oni ddel i ryvelu
Korn dydd brawd ar giwdawd gu
Yw dwyn val yn oed vnawr
Y dydd i benn mynydd mawr
Ac ynno wiw ogoned
Y bydd grist budd i gred
Yn dangos y tabl glos tau[7]
I luoedd dyweliau[8]
Yn derbyn llu gwyn in gwydd
Ithe heulaw[9] iaith hylwydd
A rraid i vedydd ar hynt[10]
Ith assw[11] am a wnaethessynt
Dyall gorthrwm ywr dial
Y dyn ai varn yni dal[12]

1 "Yn wysc . . . hwyl" = syrth y llwyddiant?

2 "Byr fydd y rhwysg yr hawg" = am dymhor byr y parha y rhwysg.

3 Nis gallwn ddyfalu beth a allasai fod meddwl y bardd yma.

4 A fo haul . . . . a hy, bydded o'i dda ei hun.

5 "Mor Tawch" = *German Ocean.*

6 Pa beth a allasai fod meddwl y bardd pan yn cyfansoddi llin. 51-54?

7 "Tabl glos tau,"—pa beth a feddylir, wys?

8 "Dy weliau" = dy archollion. Y mae arddull y bardd yn lled drwstan yma, gan ei fod yn son am Grist yn y trydydd person yn llin 60, ac yn ddirybudd yn newid am yr ail berson.

9 "Ithe heulaw" = i'th ddeheulaw.

10 A'r rhai difedydd ar hynt.

11 Aswy.

12 "Yni dal" = yn ei dâl. Y mae y gorthrymwr yn cael ei gospi trwy gael ei ddwyn i ymdeimlo o'i orthrwm ei hun.





Gwae ni haeddawdd dy nawdd ner
dy vendith drwy gyviownder
Gwyn i vyd kywir tiriawn
72 A gwae i gorff a vo geuoc[1] iawn

Iolo Goch ai kant.

[1] Hocedus.

# LVI.

## KOWYDD I DDUW.

---

Cymmerwyd y cywydd canlynol o ysgriflyfr a gopïwyd oddeutu'r flwyddyn 1620, yr hwn sydd ym meddiant Mr. Richard Williams, Celynog, Drefnewydd; ond methiant hollol fu ein hymgais i dd'od o hyd iddo mewn un man arall—yn ysgrifenedig nac yn argraffedig. Felly, yr ydym yn cymmeryd y cyfleusdra hwn i ddiolch i Mr. Williams am ei adysgrifenu i ni. Rhaid i ni addef ar y dechreu fod y cyfeiriadau at Llanbeblig (llin. 11) a St. Peblig (llin. 17) yn codi peth ammheuaeth parthed i'w awduriaeth. Naturiol fyddai gofyn, pa ham yr oedd Iolo Goch, os efe oedd yr awdwr, yn son am Lanbeblig, wrth dref Caernarfon, ac yntau yn byw yng nghanol Sir Ddinbych? Yr ydym eisoes ("Braslun," &c., tudal. 11 a 32) wedi sylwi i Iolo briodi merch ieuanc o deulu yn Lleyn, Sir Gaernarfon; ond nid ydyw hyny yn rhoddi nemawr gynnorthwy i ddadrys y dyryswch. O blegid os caniateir fod ei wraig yn enedigol o, ac wedi treulio ei thymhor morwynol yn, Lleyn—yr hwn a orwedd yn y rhan ddeheuol o Sir Gaernarfon, nis gallwn ddyfalu pa fodd y gall hyny roddi cyfrif dros fod y bardd yn myned i addoli i Eglwys Llanbeblig. Ond gan fod dygwyddiadau a helyntion bywyd Iolo Goch, yn gystal a'i symmudiadau o'r naill le i'r llall, yn anhysbys, y mae yn ammhosibl eu dwyn i brofi nac i wrthbrofi ei gyssylltiad â Llanbeblig. Pa fodd bynag, y mae yn amlwg fod yn rhaid i ni naill ai dyfod i'r casgliad mai nid efe oedd awdwr y cywydd, neu ynte iddo fod yn dal rhyw gyssylltiad â'r plwyf a nodir yn ystod rhyw ran o'i fywyd.

Pa fodd bynag, yn ein tyb ni, prin y meddyliwn fod arddull y cywydd yn cadarnhau yr haeriad mai Iolo Goch

oedd ei awdwr. Ond, pwy bynag ydoedd, y mae yn gyfansoddiad rhagorol. Dechreua gydag athrawiaeth y Drindod, gan symmud ym mlaen i ymdrin â marwolaeth a haeddiant iawnol Crist; yna ymdrinia, yn gyffelyb, ond gyda pheth gwahaniaeth, yn ol yr hyn a geir yn Cywydd Rhif LVII.—ar waith y Greadigaeth. Hefyd, y mae y gwahaniaeth a welir rhwng y ddau gywydd, o ran trefn a'r gwaith a briodolir i'r chwe' diwrnod, yn taflu peth ammheuaeth gyda golwg ar eu bod yn gynnyrchion yr un awdwr; eto nid ydyw hyny yn ddigon o brawf ynddo ei hunan. Gallasent fod wedi eu cyfansoddi gan yr un bardd ar wahanol adegau ar ei fywyd, ac iddo ganu y naill ar ol dyfod i deimlo diffygion a ffaeleddau y llall. Pa fodd bynag, hyd y gwyddom ni, nid oes unrhyw brofion dros ddyweyd mai nid Iolo Goch oedd ei awdwr.

Duw un a thri dawn iaith rydd
Duw tri ag un tragowydd[1]
Duw ar ddiwedd yngweddi[2]
Duw dod dy drigaredd di
Yna ith elwir yn unawr
Duw ddialedd a nowo-redd[3] mawr
Wedir loes ar groes y grog
Duw tragwrol trugarog
Duw yn dad dewin[4] didwyll
Duw fab duw ysbryd pob pwyll
I lan beblig[5] y leni
Uno ith royd yn un a thri

[1] Y mae y bardd, mewn iaith dlos a llithrig, yn dechreu y cywydd trwy roddi crynodeb cynnwysfawr o Athrawiaeth y Drindod; ar yr hon yr ymhelaetha rhagllaw.

[2] "Yngweddi" = fy ngweddi. Golyga "*diwedd* yngweddi" y prif destyn, neu eithafbwynt ei weddi —sef Duw.

[3] "Nowo-redd"—gwall am *mowredd*, mae'n debyg.

[4] Golyga "dewin" yma yr un peth a *proffwyd*—a chyfeirir yma at ragwybodaeth Duw.

[5] Ym mhlwyf Llanbeblig y saif tref Caernarfon. Y mae yr Eglwys yn gyflwynedig i St. Peblig, yr hwn, yn ol rhai, oedd fab i Macsen Wledig; ond yn ol ereill, i Owain Finddu.

Yn drindawd undawd iownder
Y ochel[1] i swydd ywch law r ser
Yn dad yn fab yn a berth[2]
Yn ysbryd kedernid[3] kerth
Peblig ddiddig dy addas[4]
Pardwn ar bob grwn[5] a gras
Duw athug[6] diaddug[7] don
yngwl[8] at i eyngylion
Tithe[9] a ddygest wyt ddoethaf
Fyw fymledd[10] attad fy naf
Yn dad yn frenin kadarn
Yn fab ysbryd yn farn[11]
Delwe uwch o aur dilin[12]
Dewr dy law duw ar dy lin
Ai grys o wayd ai groes wiw
Dy huddwr pawb duw heddiw
Gleni[13] gwawd ysbryd glan gwyn
Deirid[14] ar lun yderyn
Pedwar rryw pren mayn nefawl
Yn dy groes un duw grasawl
Sipris[15] si sy . . ws[16] prisiaw
Palma o li fa[17] law

[1] "Y ochel:" ai gwall am "uchel" ydyw hwn?

[2] "Aberth" a ddylai hwn fod.

[3] "Kadernid."

[4] "Dy addas"—h.y., tŷ addas, tŷ addoliad.

[5] "Grwn" = llain o dir—*a ridge*.

[6] "Athug" = a'th ddug.

[7] Tybiwn fod rhyw wall yma. Yn ol y geirlyfrau golyga "addug" yr un peth a *bwriad*; felly wrth "diaddug" y golygir yn *ddifwriad*.

[8] "Yngwl" (o *yn* a *cwl*) = mewn camwedd. Naill ai yr oedd Peblig yn Sant gwaeth na'r cyffredin neu y mae rhyw wall yma. Ond tybiwn mai "yngwyl" (= yn gyhoedd) a ddylai fod.

[9] Duw a feddylir yma.

[10] Hwyrach mai *symledd* a olygir.

[11] Gwell fuasai:—"Yn fab, yn ysbryd, yn farn."

[12] "Aur dilin" = *beaten gold, fine gold.*

[13] "Gleni"—Ai *gleini*, h.y., y *gleiniau* (*beads*) a feddylir?

[14] Deirid (Deiryd) = perthynol i = *to pertain.*

[15] Cypreswydden.

[16] Y mae yma goll llythyren a gwall—hwyrach mai "*a'r sydrws*" (h.y., cedrus = cedrwydden) a ddylai fod.

[17] "Olifia" = olew-wydden. Nodir yma y pedwar pren o'r rhai, yn ol traddodiad, y gwnaed Croes Crist.

Naw angel[1] hwynt a welir
Gyda thi ar goed a thir
Un o bob gradd yn adde
Rhwydd iach o Radde nef[2]
Pedwar kant pumil gwiliwn[3]
Un duw ar dy gorff yn dwn
A ffymtheg yngwaneg yn ghor
Rrwygaw a thrigain rragor
Dy ladd o fodd yn goddef
Dy nawdd un mab duw nef
Dy ladd o fodd yn goddef
Dy nawdd un mab duw nef[4]
Dywaid[5] a roist dros wyr
Dy oroyn[6] oll duw eryr
Brenin wyd bwriwy[7] mewn bedd
Bron hynod mewn brenhinedd

(Gwel "Awdl Gyffes y Bardd," tudal. 477). Ond ymddengys nad ydyw y beirdd yn cytuno gyda golwg ar y "pedwar pren."

1 "Naw angel." Tybiai yr hen dduwinyddion fod naw gradd o angylion yn y nefoedd. Ceir cyfeiriad i'r un perwyl gan Gutyn Owain (*Gorch. Beirdd Cymru*, tudal. 220), yr hwn a sylwa :—

"Heddyw ei lys o'i haddef,
A'i neuadd yw nawradd nef."

Y graddau hyn, meddir, ydynt Thronau, arglwyddiaethau, tywysogaethau, rhinweddau, galluoedd, cerubiaid, seraphiaid, archangylion ac angylion.

2 Naill ai fe ddylai "nef" gael ei ysgrifenu yn *ne*, neu ynte "adde," yn y llinell flaenorol, yn *addef*.

3 Yn ol fel y mae y rhifnodau a geir yn llin. 39, 41 a 42 wedi eu gosod ar lawr yma, y maent yn gwneyd y swm o (400 × 5,000) + 15 + 60 = 2,000,075; ond o bosibl mai y rhifnod a feddylir ydyw 5,475, sef rhif y blynyddoedd o'r greadigaeth hyd farwolaeth Crist. Nid ydyw y Dr. Hales, yr hwn a rydd 5,444, yn gwahaniaethu ond ychydig oddi wrth hyn. Ond fel y gwelir y mae yr amseryddiaeth a roddir yma yn gwahaniaethu yn lled fawr oddi wrth yr un a geir yn Cywydd Rhif LVII., llin. 65.

4 Fe welir fod y ban yn cael ei ailadrodd — bai y copïwr, yn ddiammeu.

5 "Dywaid" = dy waed ?

6 Orhoen = sirioldeb. Dyfyna y Dr. W. O. Pughe fan o waith Gwilym Tew, yr hwn a ddarllena fel y canlyn :—

"Duw, à garai dêg orhoen,
A droes y pumoes o'u poen."

7 "Bwriwyd," mae'n debyg.

Orogl badd[1] teg arglwydd wyt ti
Er gwledde i arglwyddi
Nid hendad wyd ith gadair[2]
Ond duw fab yn fab i fair
Unoyd[3] ywr ysbryd iownaf
Dy nawdd ydiw duw naf
Yn un duw yn Iawn ddell[4]
Yn dri ag un pen kyn kall
Drych haul fal ydrych hoyw len
Ssylldy[5] byd sy ywch dy ben
Un ywr haul leuer[6] hoyw lyw
I ti iach un a thri yw
Felly r wyd duw profwydi
Yn iaith roeg yn un a thri[7]
Dygest ath groes bumoes byd[8]
A ffoen uffern a ffenyd
Ymerodr wyd y moroedd
Awyr a thir oth wyrth oedd
Tydi a wnaeth mab maeth mair
Iowngost bob peth o ungair[9]
Duw sul i gwnaethost di son
Yngwyl nef ag yngylion[10]

[1] Ai nid "aroglaidd" a ddylai hwn fod?

[2] Nis gallwn ddyfalu gwell eglurhad ar y llinell hon a'r un sydd yn ei dilyn na thrwy dybied mai yr hyn a feddyliai y bardd oedd—fod hawl Crist i'w orsedd yn seiliedig nid ar ei hawlfraint gynhenid iddi fel Duw ond ar ei haeddiannau fel y Duw-ddyn.

[3] Un oed?

[4] Y mae yn amlwg fod y llinell hon yn wallus.

[5] Syllдy (*observatory*)? Ni wyddom am unrhyw adeilad o'r fath a allasai fod yn amser y bardd.

[6] "Lleuer" = goleuad.

[7] Ym mha beth y mae y bardd yn gweled tebygolrwydd yn yr iaith Roeg rhwng yr *haul* a *Duw*; ai yn nifer y llythyrenau? Ysgrifenir y naill yn ἥλιος, ac y mae yr enw *Sol* = duw yr haul, yn tarddu o σόλος = llafn crwn; ac ysgrifenir y llall yn θεός. Felly nid yn hyn y mae y tebygolrwydd.

[8] Yr oedd y beirdd yn y cyfnod hwnw yn lled barod i ddefnyddio yr ymadrodd hwn.

[9] Y gair "Bydded."

[10] Gwel Cywydd Rhif LVII., llin. 6.

Duw llun dayar i aros
Dro nawdd a dwr y nos[1]
Diffrost mowrth[2] mewn diffridd
Do lyssau prennau or pridd
Duw mercher ffer i werin[3]
Do haul do leuad a hin
Da ydoedd difie adar
A gwyllt ynifeliaid a gwar[4]
Duw gwener ner union
Adda ag efa gyfion[5]
Duw sadwrn eurdwrn[6] ir daith
Duw i gorffenaist dyr[7] waith
Taith ufudd doyth oddeg[8]
Taranau tyrnau[9] teg
Yntau a wnaethost y tad
Dwyn llewyrch dan y lleyad
A bod imi mewn byd mai
Dafod o dduriawn[10] ddifai

[1] Nid ydyw hwn yn cytuno ag adroddiad Moses nac ychwaith â Cywydd Rhif LVII.

[2] Y mae y gwaith a briodolir i ddydd Mawrth yma, can belled ag y mae yn myned, yn cytuno â gwaith y *trydydd* dydd yn ol Moses.

[3] "Ffer i werin" = ffâr (o'r Seis. *fare* = ymborth) i'r bobl; ond pa ymborth a grewyd ar y diwrnod hwn? Dywed Cywydd Rhif LVII. mai ar ddydd Mercher y crewyd y pysgod a'r adar, ond y cywydd hwn a ddywed mai ar ddydd Iau, tra y dywed Moses mai ar y *pummed* dydd y crewyd hwynt.

[4] "Gwar" = dof.

[5] Y mae yr hyn a ddywed y bardd yma, yng nghylch creu dyn ar ddydd Gwener, a gorphen ei waith ar ddydd Sadwrn, yn cwbl gytuno ag adroddiad Moses.

[6] Pa beth a ddichon "eurdwrn" fod? Defnyddir *twrn* (o *turn*) yn rhai manau--sir Drefaldwyn er enghraifft — am gymmwynas = twrn da (*a good turn*); ac hwyrach mai *cymmwynas euraidd* a feddylir yma wrth "eurdwrn."

[7] Dy.

[8] "doyth oddeg" = doeth fwriad?

[9] "Tyrnau." Gwel nodyn 6 uchod.

[10] "Dduriawn" = ddur iawn?— tafod a allai ddal i glodfori Duw.

Hyd dydd barn pe bai arnaf
Ben pres[1] nes kuffes[2] nis kaf
Ni dderfydd i brydydd brau
Diwarth ddatgan dy wrthiau
Tragarawl wyt tragwrawl
Trigaredd dod hynod hawl
In ddigel fy nuw geli
Yn awr angau maddey imi

Iollo goch ai kant.

[1] "Ben pres." Y mae y gair hwn yn cadarnhau ein tybiaeth gyda golwg ar y "dafod o ddur."

[2] "kuffes" = cyffes

# LVII.

## *COWYDD YN DANGOS Y DYDDIE I CREAWDD DUW BOB PETH YNDDYNT A BWRIANT ADDA O BARADWYS IOLO GOCH AI GWNAETH.

*(O'r Add. MS., 14,984, fol. 179).*

Ceir y cywydd hwn, ond yn fwy ammherffaith fyth, yn *Add. MS.*, 15,007, gydag enw Iolo Goch wrtho. Ond ymddengys fod ei awduriaeth yn ammheus, o blegid, ceir ef hefyd yn *Y Brython*, cyf. iv., tudal. 429, dan y penawd "Cywydd o ddechreu'r Byd hyd Grist," lle y priodolir ei awduriaeth i Dafydd Ddu o Hiraddug. A dywed Gweirydd ap Rhys (*Hanes Llenyddiaeth Gymreig*, tudal. 117) ei fod yn cael ei briodoli i Sion Cent. Ceir ef hefyd yn *Add. MS.*, 14,966, gydag enw "Dafydd Ddu o Hiraddyg" wrtho; ac yn *Add. MS.*, 14,866, gydag enw "Doctor John y Kent." Pa fodd bynag, ni chawsom amser i gymharu ein hysgrif â'r darlleniadau hyn. Gan fod yma ansicrwydd, a bod enw Iolo Goch wrtho mewn dau ysgriflyfr o leiaf, rhoddwn ef yma ar y tir fod cymmaint o sail dros ei dadogi iddo ef ag un o'r lleill, ac yn wir, yn fwy felly nag i Dafydd Ddu o Hiraddug. Ni welwn y tebygolrwydd lleiaf ynddo i ddim a wnaeth y bardd hwnw. Credwn mai naill ai Sion Cent neu Iolo yw ei awdwr.

Yn anffodus, y mae yr ysgriflyfrau o'n blaen yn wallus i'r eithaf. Ond pwy bynag oedd awdwr y cywydd canlynol, a chan nad beth am y wisg dyllog a roddir am dano yma, rhaid cydnabod ei fod yn gyfansoddiad lled dda. Heb law rhoddi braslinelliad o'r greadigaeth, rhoddir ynddo le amlwg i'r cwymp yn Adda, a'r adferiad yng Nghrist. Y mae y gynghanedd, ac amryw o'r syniadau, yn gyffelyb i'r hyn a geir yng ngweithiau Iolo Goch. Nid ydyw ei hanes

o'r greadigaeth, fodd bynag, yn cytuno â'r adroddiad a rydd Moses, o ran trefn y dyddiau creadigol; ac nid ydyw ychwaith yn cytuno â'r drefn greadigol a geir yn Cywydd Rhif LVI.

1 Digam[1] i gwnaeth duw gymwyll[2]
dechrau byd diochyr[3] bwyll
2 Pob rhyw beth difeth ofeg
a greawdd duw mewn gradd deg[4]
3 Angylion nef yngwyl naf
ynt a wnaeth duw yn gyntaf[5]
4 Ar dduwsul arwydd oesoedd[6]
y gwnaeth hwynt ag uniaith oedd[7]
5 Duw llun i gwnaeth dduw yn llowydd
yr haul deg er hwyliaw yr dydd[8]
6 Ar wybyr loiw ar gowoedd[9]
ar ser[10] oll gorau Saer oedd
7 Diw morth gorau ddameg
y gwnaeth y tad gwriaith teg[11] gwrthay

[1] Hyny yw, yn uniawn.

[2] Cymhwyll = rheswm, myfyrdod.

[3] "Diochwr."—*Add. MS.*, 15,007.

[4] "Mewn gwiw radd deg."
*Add. MS.*, 15,007.

[5] "Engylion oll ynylan iaf
Dawn gynt awnayth duw yn gyntaf."
*Add. MS.*, 15,007.

[6] "Ai urddas oedd."
*Add. MS.*, 15,007.

[7] "Y gwnayth ef hwnt ag uniaith oedd."
*Add. MS.*, 15,007.

[8] "Duw llyn i gwnayth Dduw llowydd
yr haul deg er hwyliaw y dydd."—*Add. MS.*, 15,007.

Y mae yn amlwg nad ydyw y bardd yn dilyn trefn Moses wrth roddi cyfrif am waith y dyddiau creadigol. Ail ddydd y bardd yw dydd cyntaf Moses. Dywed Moses i *oleuni* gael ei greu ar y dydd cyntaf, ac iddo wneyd y "ddau oleuad mawrion" ar y pedwerydd dydd; ond yn ol y bardd, ar ddydd Llun (sef yr ail dydd, neu y cyntaf can belled ag y mae a fyno â'r greadigaeth *faterol*) y gwnaed yr *haul*. A ydym i ystyried hyn fel dysgeidiaeth y bedwaredd ganrif ar ddeg mewn perthynas i drefn y greadigaeth?

[9] "Louw arguoedd."—*Add. MS.*, 15,007.

"Ar gowoedd" = ar gyhoedd?

[10] "Syr."—*Add. MS.*, 15,007. Yr oedd "sŷr," yn gystal a "ser," yn cael ei arferyd fel lluosog am "seren."

[11] "Duw mowrth gore da dameg
i gwnaeth y tad gwrthay teg."—*Add. MS.*, 15,007.

"Gwrthay" = gwyrthiau.

8 Y moroedd yn gwroedd gall[1] gynt myroedd
ar tiroedd or tu arall
9 Duw mercher myfyr fy fu yr mab[2]
diarbed i gwnaeth duw eurbab[3]
10 Y pysgod, i, ddyfod i ddyn
pawb i dre[4] pob y deryn[5]
11 Difiaû y gwnaeth dyw ofydd
yr holl nifeilued[6] yn rhydd
12 Drud arfaeth drwy derfyn
ar trai[7] yn dda ir truan ddyn
13 Duw gwener yn deg uniawn
Adda a wnaeth yn addwyn iawn[8]
14 Ef a dynâodd fy nawdd naf[9]
iesyn[10] oedd asen Addaf
15 I wneuthur ai hoywbur law[11]
gorau i gwyddiad gwraig iddaw

[1] "Y moroedd gynt myroedd gall."—*Add. MS.*, 15,007. Nid oes gwahaniaeth ystyr rhwng "moroedd" a "myroedd"; ac y mae mwy o synwyr yn narlleniad *Y Brython* :—
"Moroedd a gwynt mawredd gall."

[2] Llinell hynod o wallus : y darlleniad yn ol *Add. MS.*, 15,007, ydyw :—"Duw mercher myfyr fur mab."

[3] "Duw eurbab,"—y mae y bardd yn lled hoff o gymhwyso yr enw *Pab* at Dduw a Christ ; ac y mae trwy hyny yn dangos ei barch i'w ben ysbrydol o Rufain.

[4] "I dir."—*Add. MS.*, 15,007.

[5] Tra y mae yr hyn a ddywedir gan y bardd am ddydd Mawrth, can belled ag y mae yn myned, yn cyfateb i'r gweithredoedd a briodolir Moses i'r ail ddydd ; yn y pummed dydd y gesyd Moses yr hyn a gyssyllta y bardd â dydd Mercher.

[6] "Anifeiliaid."—*Y Brython.*

[7] "I droi'n dda."—*Y Brython.*

[8] Yr ydym yn teimlo ein hunain yn gwbl analluog i gyssoni hyn â'r hanes yn Genesis. Y mae yn wir fod dydd Gwener yn *chweched* dydd yn ol cyfrif y bardd, ond gan fod ei ail ddydd ef yn cyfateb i ddydd cyntaf Moses, o ran natur y gwaith a wnaed, y mae yn ammhosibl eu cyssoni.

[9] "Duw a dynawdd a'i nawdd Naf."—*Y Brython*

[10] "Iesin."—*Y Brython.*

[11] "Gwnaeth yn iawn a'i loywddawn law."—*Y Brython*,

16 Duw Sadwrn kyn kyfrwn kawdd[1]
bran deg i bren digawdd[2]
17 A gosod pob negessydd[3]
oi gwiw dawd ef i gadw dydd[4]
18 Duw Sûl fu yr dewis hawdd
diffig sedd i gorffwysawdd
19 Pob rhyw ddim pairiaidd[5] oedd
iawn weithiau ar a wnaethoedd
20 Ag Adda duw ai gwyddiad[6]
ag Efa deg o gof dad
21 O fewn y gaer ni fynn gawdd
paradwys i priodawdd[7]

[1] "Cyn ymddwyn cawdd."
*Y Brython.*

Y meddwl yw—*cyn troseddu*: cyn cwymp ein rhieni cyntaf.

[2] "Buan deg i bendigawdd."
*Y Brython.*

[3] "Da gossod pob negessydd."
*Add. MS.*, 15,007.

[4] "Oi nef i gadw nydd."
*Add. MS.*, 15,007.

"A'i giwdawd ef i gadw dydd."
*Y Brython.*

[5] Peraidd?

[6] "Ag Addaf Duw ar gwydd-iad."—*Add. MS.*, 15,007.

"Duw a'i gwyddiad" (= a wyddai) sydd gywir.

[7] "Mewn ei gaer ni mynai gawdd
Paradwys lle'u priodawdd."
*Y Brython.*

Wrth gymharu y bardd gyda'r adroddiad yn Genesis i., cawn eu bod yn sefyll fel y canlyn o ran gwaith y gwahanol ddiwrnodau :—

| *Moses.* | *Y Bardd.* |
|---|---|
| | (1). *Dydd Sul.* Creu yr angylion. |
| (1). *Y dydd cyntaf.* Dygiad goleuni i fod, a'i wahanu oddi wrth y tywyllwch. | (2). *Dydd Llun.* Gwneyd yr haul. |
| (2). *Yr ail ddydd.* Gwneyd y ffurfafen fel canolfur rhwng y dyfroedd. | (3). *Dydd Mawrth.* Gwneyd y moroedd a'r tiroedd. |
| (3). *Y trydydd dydd.* Gwahanu rhwng y dyfroedd a'r tir; ac ymddangosiad bywyd llysieuol. | (4). *Dydd Mercher.* Gwneyd y pysgod a'r adar. |
| (4). *Y pedwerydd dydd.* Penodi yr haul a'r lleuad; a gwneyd y ser. | (5). *Dydd Iau.* Gwneyd yr anifeiliaid. |

22 Ni buant trig o bwynt iach
yn hoiw ymhaiach yno hayach[1]
23 Efa a wnaeth o fewn awr
ai dial kyn y dwyawr[2]
24 Prin i dug or pren dawn degwm[3]
afal troes yn ofal trwm
25 Ai gymryd gwedi yr gamraith
o angel duw yn gole yr daith
26 Ai gyrru hwy or gaer honn
yn ebrwydd i cynebron[4]
27 Ag Adda yn gynta' gawdd[5]
ai law fawr a lafuriawdd
28 A chaib lem gwell aniwyll
addail tost i ddial twyll[6]

| | |
|---|---|
| (5). *Y pummed dydd.* Ymddangosiad bywyd anifeilaidd, pysgod, ac adar. | (6). *Dydd Gwener.* Creu dyn. |
| (6). *Y chweched dydd.* Ymddangosiad bywyd llysieuol o radd uwch; creu dyn a'i fendithio. | (7). *Dydd Sadwrn.* Bendigo dyn. |
| (7). *Y seithfed dydd.* Duw yn gorphwyso. | (8). *Dydd Sul.* Duw yn gorphwyso. |

[1] Y mae y llinell hon yn hynod o wallus, ac nid oes angen am "ymhaiach" yn ei chanol. Y mae darlleniad *Add. MS.*, 15,007, o'r ban hwn gryn lawer yn well :—

" Ni byant hwy o bwynt iach
yn huawdl yno hayach."

Gwelir nad oedd y bardd o'r farn i Adda ac Efe fod yn hir yng Ngardd Eden cyn pechu.

[2] " Kyn pen dwyawr."—*Add. MS.*, 15,007.

[3] Y mae y llinell yn rhy hir yn y testyn. Y darlleniad yn ol *Add. MS.*, 15,007, ydyw :—

" Prin i dyg or pren degwm."

Ystyriai y bardd ffrwyth y pren gwaharddedig fel degwm i Dduw; ac fe allai ei fod yn olrhain tarddiad y sefydliad degymol yn ol mor foreu a hyn.

[4] Defnyddir *cynhebrwng* mewn rhai parthau o Gymru yn lle "claddedigaeth"; ond y meddwl yma ydyw anfon, neu ddilyn, yn y cymmeriad o osgordd neu gydymaith. Yn yr ystyr hwn y defnyddir y gair yn Nhestament Salesbury (Act. xx., 38) :—" Ac wy a'i cynhebryngesant i'r llong."

[5] " Gawdd " = droseddodd.

[6] " A gaib lum gwbwl am wyll
ddelw tost i ddial twyll."
*Add. MS.*, 15,007.

Fe welir fod y bardd wedi d'od o hyd i gaib yn rhywle i Adda.

001

29 Deng mlynedd dduedd ddall
ar hugain y bû yn rhygall
30 A nowcant moliant milwr
befr i gorff i bu fyw yr gwr[1]
31 A chwedi bradychu brad
marw Adda mawr arwyddiad
32 Bu yn vphern figyn wern fodd[2]
bedeir mil bowyd or modd
33 A chwechant ni haeddiant hedd[3]
yn flin Adda o flynyddoedd[4]
34 A ffedair[5] och na ffeidiwn
mlynedd hijr fû orwedd hwn[6]
35 Y doeth Crist didrist oedd
dan yr rhaff i dynir yr oesoedd
36 Darfu ir mai difai fu yr modd[7]
ddiystyru da iawn i dyscodd
37 I gymryd diwyd deuair
gnawd i fam ganaid fair

[1] "Fawr gor i by fyw /r/ gwr."
*Add. MS.*, 15,007.

Rhwng y ddau ddarlleniad yr ydym yn casglu mai rhywbeth yn debyg i hyn a ddylai fod :—

"Fawr ei gorff bu fyw yr gwr."

[2] "Byn /n/ yffern fignwern fodd."
*Add. MS.*, 15,007.

Yn y llinell hon, a'r rhai dilynol, rhoddir ar ddeall i ni i Adda fod yn uffern o'i farwolaeth hyd ddyfodiad Crist.

[3] "A chwechant kyn tyfiant hedd."
*Add. MS.*, 15,007.

[4] "Flin addaf o flenyddoedd."
*Add. MS.*, 15,007.

Gwelir yma dwyllodl.

[5] Y mae y bardd yn gosod 4,604 o flynyddoedd rhwng marwolaeth Adda ac ymddangosiad Crist. O bosibl nad oedd yn dilyn yr amseryddiaeth a dderbynid yn ei oes. Rhydd yr Archesgob Usher (*Annales Veteris et Novi Testamenti*, 1650-54) o farwolaeth Adda hyd Grist yn 3,074 o flynyddoedd ; a'r Dr. William Hales (*A New Analysis of Chronology*, 1809-14) yn 4,481 o flynyddoedd. Ond fe ein hysbysir gan De Vignoles, yn ei ragymadrodd i'w *Chronology of Sacred History*, iddo gael fod y gwahanol amseriadau a roddir o'r Greadigaeth hyd Grist yn dros ddau cant—y byraf yn 3,483, a'r hwyaf yn 6,984, o flynyddoedd. Felly byddai yn orchwyl anhawdd penderfynu pa amseryddiaeth a ddilynir yn y cywydd hwn.

[6] "Blynedd hir fur gorwedd hwn."—*Add. MS.*, 15,007.

[7] Yr oll a wyddom am y llinell hon ydyw ei bod yn rhy hir.

38 Gwirion oedd gwarchau a wnaeth
y bel ynni fabolaeth
39 Deuddeg mlynedd iownwedd ior
ar higain gynt a rhagor
40 Y bû yr gwr *gynt* a garwn[1] bur a garwn
bowyd teg[2] yn y byd hwn[3]
41 Ana fû tyn hyn o bwynt
waed erchyll wedi i orchwyl[4]
42 Ni ffrynn ef Crist didrist daith
waed ebinweddwech[5] yr unwaith
43 Diddig y bu yn ddiodde
duw ai gnawd an dug i ne

Iolo Goch[6]

[1] "Y bur gwr byw a garwn." *Add. MS.*, 15,007.

[2] "Hir."—*Add. MS.*, 15,007.

[3] Yn dilyn llinell 80, ceir a ganlyn, fel diweddawd, yn *Add. MS.*, 15,007; gan adael allan amryw o'r llinellau yn ein testyn:—

"Diddig i gwnaeth Duw oddef
Duw ai gnawd an dwg i nef
Gwnawn nine fyw gan iawn fodd
ar y pren er an prynnodd
ni phryn Krist didrist ywr Iaith
gwaed winwedd gwedir vnwaith
ag nid oes gwedi foes fo
mab brenin mwy an pryno."

[4] Y mae y ban hwn yn rhy wallus i ni gynnyg unrhyw sylw arno.

[5] O bosibl nad ydyw darlleniad *Add. MS.*, 15,007, yn agos yn gywir yma, ond hwyrach mai
"gwaed rinwedd gwedir unwaith"
a fyddai oreu. Y meddwl, yn ddiau, ydyw, mai *un* waith yn unig y bydd Crist farw.

[6] Y mae y cywydd hwn yn *Add. MS.*, 15,007, wedi ei arwyddo "Iolo Goch ai kant—1400"; ond y mae yr amseriad "1400" mewn llaw ddiweddarach na'r cywydd. A chan y tybiwn mai oddeutu canol yr eilfed ganrif ar bymtheg yr adysgrifenwyd yr ysgriflyfr, nis gall amseriad mewn llaw mor ddiweddar fod o'r gwerth lleiaf tuag at benderfynu amseriad y cywydd ei hun.

# LVIII.

## *COWYDD I DDUW AG IR BYD.

(*O'r Add. MS., 14,966, fol. 25*).

Fel y gwelir ar ei ddiwedd, fe briodolir y cywydd hwn hefyd i'r Dr. Sion Cent—yr hwn oedd gydoeswr â Iolo Goch. Ac, o ran ei gynghaneddion, y mae yn llawn mor debyg i waith Sion Cent ag ydyw i waith Iolo. Ond, gan y priodolir ef hefyd i'r olaf, rhoddwn ef yma. Pwy bynag ydoedd yr awdwr, tybiwn y deil i'w gymharu â'r farddoniaeth dduwinyddol a gynnyrchid yn gyffredin yn yr oes hono.

Yn *Y Ffydd Ddi-ffuant*, gan Charles Edwards, arg. 1811, tudal. 393, ceir "Cywydd Marwolaeth, Allan o waith Sion Cent," yn cynnwys 162 o linellau; ac y mae rhanau o'r cywydd hwn, er wedi eu cyfleu yn wahanol, yn y cywydd hwnw. Dechreua hwnw fel y canlyn:—

"Afraid i ddyn derfyn dig
Ei rwyf na'i ormod rhyfig."

A diwedda fel hyn:—

"Er neb ni throes Iesu
Ei lan gyfeillach â'i lu."

Gwyn i fyd nid er gwnfydy[1]
i dyn cyn gloes ange dy[2]
a fedro weddio yn dda
er ynill bod wŷr Anna[3]
barn iawn a bwrw vnawr
yn llwyth bechode ir llawr

[1] Gwynfydu.

[2] Y dyn cyn gloes angeu du.

[3] "Wyr Anna" oedd Crist; o blegid Anna, yn ol y traddodiadau, oedd mam Mair, mam Crist. Felly, "ŵyr Anna," ac nid "wŷr Anna," a ddylasai fod yn y testyn.

a rhoi /n/ bryd i gyd ar gael
ir avr iessin or Israel
a chael awr dirfawr derfyn
dda cyn diodde o ddyn
a chael corff Crist uchelair
a chyffes o fynwes fair
a chael olew nefolydd[1]
a rhoi y meddiant yn rhydd
a chael dodi /n/ corff o chaid
yn deg mewn tir bendigaid[2]
a nawdd a grâs urddasol
a nef in eneidie yn ol
bob amser y dyle /r/ dyn
alw ar dduw rhag i elyn
ni wyr Cristion aflonydd
pa hyd yn y byd i bydd
heddiw /n/ arglwydd rhwydd mewn rhan
heno mewn bedd i hunan[3]
gwyd i bwyll a gwedi bo
vnawr yn y bedd yno[4]
ni ffraw gael serch ni fferchir
ni ffryn vn tyddyn or tir[5]
ni ddwg ran a fo gwannach
nid eiff ir wledd or bedd bach[6]
ni roi /r/ yn ol pob golyd
gwin mwy yn y genav mŷd[7]

[1] Ceir yma gyfeiriad at eneiniad y marw (*extreme unction*).

[2] Mynwent wedi ei chysegru.

[3] "Heddyw yn Arglwydd rhwydd rhan,
Heno mewn bedd ei hunan."
*Y Ffydd Ddi-ffuant.*

[4] "Gwae ydyw 'i bwynt gwedi bo
Unawr dan y pridd yno."
*Y Ffydd Ddi-ffuant.*

[5] "Ni wyl serch, ni pherchir,
Ni phryn un tyddun o'r tir."
*Y Ffydd Ddi-ffuant.*

[6] "Ni ddwg ran a f'o gwannach,
Ni ddaw i'r wledd o'r bedd bach."
*Y Ffydd Ddi-ffuant.*

[7] "Nid a yn ol, ni chais olud,
Na gwin mwy yn y genau mud."
*Y Ffydd Ddi-ffuant.*

ni a vn cam i dramwy
nid ysgig[1] er meddig mwy
ni wisg sidan am dano
mewn llann ond gravan a gro[2]
ni wyl vn fry gwedi gwin
oi ddeiliaid yn i ddilin[3]
ni rydd ordderch o ferch fain
ei llaw dan yr vn lliain[4]
ni ddeil i serch yn ddilis
ni orfedd ar i fedd fis
pan el enayd dyn playdfawr
pair dan wg ir pvrdan mawr[5]
cas llid ni ddaw cwrs llydan
or tir i ddiffoddi /r/ tan
ni wnel or gradde ne /r/ grym
siessws[6] o lwyth Siohasym
chwi am dygoch dan oddef
a nyth Pilatws ir nef
chwi an pâr mab Marîa
i drigaredd diwedd da
tydi a fydd pan nad dedwydd
yn barnv a fv ag a fydd
eiriol ir wy mwy na maint
erfyn dduw ar faddeiant
madde /r/ balchder camweddys
a madde /r/ holl bechod rhus
madde yn ddilin ffolineb
ennyd awr yn anad neb

1 Nid ysgoga.

2 "Ni wisg sidan am dano
Yn y llan, ond gruan a gro."
*Y Ffydd Ddi-ffuant.*

3 "Ni wyl obry wedi gwin
Un o'i ddeiliaid i'w ddilin."
*Y Ffydd Ddi-ffuant.*

4 "Ni ddyd gordderch o ferch fain
Ei llaw dan gwrr y lliain."
*Y Ffydd Ddi-ffuant.*

5 Os Sion Cent oedd yr awdwr, gwelir ei fod, pan gyfansoddodd y cywydd hwn, o leiaf, yn credu yn y ddysgeidiaeth Babyddol am y Purdan.

6 "Siesswws" = Jesus.





madde fyngham ddrwg amwyll
am taer ddychmygion am twyll
madde y geirie gwirion
64 a maddav y masweddav sôn
madde mab Mair ddiwair wen
a fegais o gynfigen
madde a wneythym bym bŵl
68 a madde 'mhechod meddwl.[1]

Dr Sion Kent ai Cant
Iolo Goch medd eraill.

[1] Yng nghanol "Cywydd Marwolaeth" Sion Cent ceir :—

"Maddeu weithred, a meddwl
Ymwrthod a'r pechod pwl."

# LIX.

## *IR BYD.

---

*(O'r Add. MS., 14,971, fol. 109).*

Hyd y gwyddom, nid ydyw y 48 llin. dechreuol o'r cywydd hwn mewn unrhyw le arall; ond y mae y rhan olaf o hono i'w gael yn *Add. MS.*, 14,879, dan y penawd "Cowydd y Saith bechod marwol. o waith Iolo Goch," ac y mae i'w weled, hefyd, yn *Add. MS.*, 14,984; a cheir y rhan olaf, hefyd dan y penawd "Cywydd i'r Byd," yn argraffedig yng *Ngorchestion Beirdd Cymru*, tudal. 112, yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 7, ac yn *The Works of Iolo Goch* (gan R. Jones), p. 21. Yn *Jes. MS.* E., 140, ceir "Sion i Kent ai Kant" ar ei ddiwedd. Felly, rhaid rhestru hwn eto ym mhlith y cyfansoddiadau ammheus. Dechreua y cywydd yn yr oll o'r llyfrau uchod gyda'r ban canlynol, yr hwn nid ydyw i'w gael yn yr ysgriflyfr sydd genym yn destyn :—

"Yr un bai ar ein bywyd
Ar bawb a hudol yw'r byd."

Yna fe eir ym mlaen i'r diwedd, gan ddechreu yn llin. 49 o'r cywydd hwn. Y mae "I'r Byd" yn eithaf penawd i'r rhan gyntaf; ac er fod ychydig o linellau ynddo yn ymwneyd â'r "Saith bechod marwol," nid ydynt yn ddigonol i gyfiawnhau y cyfryw benawd. Rhoddir mwy o le i'r pechodau hyny yn "Awdl Gyffes y Bardd" (Rhif LIII.) nag a wneir yn hwn. Ond nid ydyw y naill benawd na'r llall yn rhoddi meddylddrych cyflawn am gynnwysiad y cywydd. Ar ol ymdrin â'r byd a'r drygioni sydd ynddo, y mae y bardd yn symmud ym mlaen at ddyoddefaint Crist, ei adgyfodiad, y farn ddiweddaf, eiriolaeth Mair, a'r cyffelyb.

Ceir ynddo rai llinellau rhagorol; ond y mae yr arddull gan mwyaf yn wasgarog. Nid ymddengys fod y bardd wedi tynu iddo ei hun unrhyw gynllun, ond yn hytrach, yn cyssylltu llinellau wrth eu gilydd fel y deuent i'w feddwl. Y mae y cywydd hwn, hefyd, fel pob un arall o waith yr awdwr, yn cynnwys amryw o ymadroddion tywyll. Nis gellir priodoli hyny bob amser i'r ffaith ei fod yn aberthu synwyr er mwyn cynghanedd, o blegid, nid oedd Iolo mewn un modd yn ofalus am gynghanedd, ac nid anfynych yr anurddir ei linellau gan *dwyllodl.*

Y byd wrth i bedwar bann[1]
twyllodrus tywyll oedran
Pel o blwm yn drwm a dry[2]
4 pa beth wyd pawb ath edy
Ai herod twyll hiroed dydd
ai hudol ai llamhidydd[3]
Ai bro Adda ai breuddwyd
8 ai brwydr oer ai bradwr wyd
Ai /r/ gau dduw argyoedd wr
ai pwy yntau ai paintiwr
Anwadal dwysg yn rhwysg rhod
12 anaf gasgl ai nef gysgod

[1] Pedwar chwarter y byd. Y mae "pedwar ban y byd" erbyn hyn wedi myned yn ymadrodd cyffredin; ond hon ydyw yr enghraifft gyntaf a welwyd genym ni. Pa fodd bynag, gwelwn fod Lewis Glyn Cothi (*Gwaith*, tudal. 207)—yr hwn a flodeuai ryw hanner canrif yn ddiweddarach—yn ei ddefnyddio:—

"A'i rhyvedd yw rhoi hevyd
O Vorgan bedwar bàn byd."

[2] Gallem dybied fod y bardd yn myned i gymhwyso plymlin (*plummet*) at y byd, er cael gweled pa mor wyrgam ydoedd. Nis gallwn weled unrhyw ystyr arall i "Pel o blwm."

[3] Mor-fochyn = *porpoise.* Yr ydym, ar ol cryn lawer o ystyriaeth, yn methu a gweled pa briodoldeb sydd yn amryw o'r ffugyrau hyn. Gallwn dybied mai ei amcan ydyw dangos fod y byd yn ymrithio dan gynnifer o agweddau fel y mae yn dwyllodrus ac yn anhawdd i'w adnabod. Gofyna, Pa beth wyd—ai herod, ai hudol, ai llamhidydd, ai bro Adda, ai breuddwyd, ai brwydr oer, ai bradwr, ai gau-dduw, ai paintiwr?

Arodig[1] phol rhol yr wyd
oth dro oll ith droellwyd
Anawdd dy goelio unawr
o rhoi ti ai dygi yr awr[2]
I dlawd teg yw dolud ti
aed oludog i dylodi
Ar golud byd a heb au[3]
bid yngod bywyd angau[4]
Ddydd angau ni ddiengir
duw ni ad un dyn yn wir
Yr enaid ni wyr yna
ba du ar ol byd yr a
Heb swydd heb gyfarwyddyd
heb ddayar bann heb dda /r/ byd
Heb fonedd heb dromfedd[5] draw
heb dudded[6] heb dy iddaw
Nid oes eithr y saith weithred[7]
i ddyn a ymreiddyn i gred

[1] Y gair tebycaf i hwn a gawn yn *Geir. Cymraeg* Silvan Evans yw — "Arodi = to make a speech; to speak; to pray." Ac os ydyw i'w gyssylltu â llin. 15, gellir tybied mai yn yr ystyr hwnw ei defnyddir yma.

[2] Cyfeirir yma at ansefydlogrwydd pethau daearol—y cyfoethog yn myned yn dlawd, a'r tlawd yn gyfoethog.

[3] Ai rhywbeth tebyg i hyn a feddylir yn y llinell ryfedd hon?— "A golud y byd, heb os, a ddiflana."

[4] Yr ydym mewn cryn anhawsder gyda'r llinell hon. Os cymmerwn y gair cyntaf—"bid"—fel y ffurf arferol o'r gair *bod* yn y modd gorchymmynol, yr ydym yn cyfarfod â'r wrthddadl mai nid priodol a fuasai i'r bardd orchymmyn y fath beth. Nid ydyw y gair "yngod" i'w gael ychwaith yn ein geirlyfrau; ond tybiwn fod rhyngddo berthynas â'r rhagferf "*yngo*" = yn ymyl. Ac os ydyw ein tybiaeth yn gywir, awn rhagom i dybied mai gwall ydyw "bid" am *byd*, ac mai meddwl y llinell ydyw—"Byd, bywyd yn ymyl angeu."

[5] Heb feddfaen mynor?

[6] "Tudded" = gorchudd; golyga "amdo," o bosibl, yn y fan hon.

[7] Tybiwn mai y "Saith Sacrament" arferedig yn yr Eglwys Babaidd a feddylir yma, y rhai (yn ol *Allwydd neu Agoriad Paradwys*, tudal. 10) ydynt:--

"1. Bedydd. Matth. 28. 29.
2. Conffirmatiwn. 2 Cor. 1. 22.
3. Ewcharist. Matth. 28.
4. Penyd. Jo. 20. 23.
5. Olew olaf. Jac. 5.
6. Vrddeu. Matth. 26.
7. Priodas. Matth. 19.'

A gras y tad or gadair
  ar mab a gweddio mair[1]
Saith elyn i ddyn a ddaw[2]
  i ymdynnu am danaw
Pwyssaw /n/ drwm ir kwm i kaid
  yn y dafl[3] a wna dieflaid[4]
Kael i minnau klaim[5] uniawn
  baderau Mair lu drwm iawn[6]
A phwys i wneuthur i hin
  oi llafur ai llaw Iessin[7]
Y byd tra mawr be trymach
  a bwyssai benn i bys bach
Y dydd y rhifer deuddeg[8]
  i farnu dan Iessu deg
Mair a ddel rhag trafel trwm
  meddyges y kam ddegwm
Eiriolwn honn erlyn hir
  ai heiriol yn diheurir[9]

[1] Ceir amryw weddiau arbenig ar Fair yn y gwasanaethlyfrau Pabaidd.

[2] Y Saith bechod marwol?

[3] Taflan = clorian (= *scale*).

[4] Diafliaid.

[5] "Klaim"—Cymreigiad o *claim* = hawl.

[6] Credai y bardd ond iddo gael digon o "baderau Mair" y byddai iddynt droi y glorian, ar ddydd y farn, yn ei ffafr ef. Mewn nodyn o flaen y rhan olaf o'r cywydd hwn yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*, sylwa golygydd y gwaith hwnw fel y canlyn:—"Y mae yn dra dymunol gweled mor lân oddi wrth gyfciliornadau Eglwys Rhufain ydyw Cyfansoddiadau ein hen Fardd, hyd yn nod pan oedd Pabyddiaeth yn ei rhwysg uchaf yn yr ynys hon. Nid oes yma unrhyw awgrymiad am gyfryngaeth Mair, na neb o'r saint, na chyfeiriad at benydiau na phurdan; ond y mae ei Dduwinyddiaeth mor iachus a phe y canasai yn y ganrif hon, yn lle yn y bedwaredd ganrif ar ddeg." Ond yr ydym yn ammeu pe buasai y golygydd wedi gweled y rhan hon o'r cywydd y buasai ei ganmoliaeth mor wresog.

[7] Iesin = teg (= *fair*)—llaw deg.

[8] Cyfeiriad at y dybiaeth y bydd y deuddeg apostol yn cynnorthwyo Crist i farnu y byd. Dywed Goronwy Owen yng "Nghywydd y Farn":—

"Mab Mair ar gadair a gaid,
Iawn Naf gwyn o nef gannaid,
A'i osgordd, welygordd lân,
Deuddeg ebystyl diddan."

[9] "Yn diheurir" = a'n diheurir = a'n hesgusoda, neu a'n hamddiffyna.

[1]Hud ar ddyn hyder o dda[2]
hud hudawl noddfawl noddfa[3]
Malu y Sul[4] melys[5] son
marwol bechodau mowrion[6]
Balchder yw yn[7] arfer ni
digio kybydddra[8] diogi
Kenfigen[9] bursen[10] heb rodd
godineb gwarth ai dwaenodd[11]
Glothineb[12] y glwth enau
nid mwyn mi a wn nad mau[13]

[1] Yn blaenori y llinell hon yn y llyfrau ereill, ceir y ban a ddyfynasom eisoes :—

"Yr un bai ar ein bywyd
Ar bawb a hudol yw'r byd."

Ond pa un bynag a ydoedd y rhan flaenaf yn perthyn i'r cywydd hwn ar y cyntaf ai peidio, y mae yn amlwg fod yma, a defnyddio ymadrodd cerddorol, drawsgyweiriad.

[2] "Ar dda"—*G. B. C.*, *C. Ll. G.*, ac *R. J.*; a thebyg mai "ar" sydd gywir.

[3] "Hudol anneddfol noddfa"—*G. B. C.*, *C. Ll. G.*, ac *R. J.* Yn *Add. MS.*, 14,879, ceir :—

"Hud hudawl naddfawl noddfa."

[4] "Malu y Sul :" Nid oes genym well eglurhad ar yr ymadrodd hwn na'r un a gynnygir gan *R. J.*—gweithio yn galed.

[5] "Melus"—*G. B. C.*, *C. Ll. G.*, ac *R. J.*

[6] "Mawrion"—*G. B. C.*, *C. Ll. G.*, ac *R. J.*

Am y "Pechodau marwol," gwel *Awdl Gyffes y Bardd* (Rhif LIII).

[7] "Ein"—*G. B. C.*, *C. Ll. G.*, ac *R. J.*

[8] "Cybydd-dra"—*G. B. C.*, *C. Ll. G.*, ac *R. J.*

[9] "Cenfigen"—*G. B. C.*, *C. Ll. G.*, ac *R. J.*

[10] "Bresen"—*Add. MS.*, 14,879, *G. B. C.*, *C. Ll. G.*, ac *R. J.*

Diammeu mai "pressen," ac nid "pursen," sydd gywir. Ond beth yw "presen?" "Presaidd, neu ddigywilydd," yn ol golygydd *Cein. Llen. Gymreig*; ond credwn fod *R. J.* yn fwy cywir wrth osod *present* (=presennol) fel yn gyfystyr. Eto, nid ydym yn canfod nemawr o briodoldeb yn y naill na'r llall yn y fan hon.

[11] "Godineb, gwae ai 'dwaenodd."—*Add. MS.*, 14,879.
"Godineb, gwae adwaenodd."
*G. B. C.*, *C. Ll. G.*, ac *R. J.*

[12] "Glythineb"—*G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

[13] "Nid mwyn ni awn nad mau."
*Add. MS.*, 14,879.
"Nid mwyn, mi a wn, nid mai."—*C. Ll. G.*

Nis gall y blaenaf o'r darlleniadau hyn fod yn gywir.

Nid trom[1] fawr nid trwm i fod
nid baich onid o bechod[2]
naw pwys rhyfel yn gelyn[3]
yw /r/ naw poen[4] a wyr neb hyn
Del im kof adail am kudd[5]
dioddefaint Duw Ddofudd[6]
Duw ir hawl a da yw rhom[7]
a drwssiodd mab mair drossom[8]
Mawr gur a gafas mawr gwyn
mawr farw un mab mair forwyn
Ai boen ar wener y[9] bu
ar un prenn[10] er yn[11] prynu
I[12] nef yr aeth yn ufydd
at y Tad deugeinfed dydd

[1] "Trem"—*G. B. C.*, *C. Ll. G.*, ac *R. J.*

Tebyg mai "trem" sydd gywir, wrth yr hyn y golygir *edrychiad*, yn ol *R. J.*—"trem fawr" = "lofty look, the look of pride." Ond yr ydym ni yn analluog i ganfod unrhyw synwyr yn y llinell.

[2] "Nid baich ond baich o bechod."—*C. Ll. G.*

[3] "Naw pwys ryfel ein gelyn." *G. B. C.*, *C. Ll. G.*, ac *R. J.*

[4] "Pwys"—*G. B. C.*, ac *R. J.*; "pwn"—*C. Ll. G.*

Dywed *R. J.* mai y "naw pwys"—y rhai sydd yn myned yn "naw poen," neu yn "naw pwys," neu yn "naw pwn"—ydyw y naw pechod y crybwyllwyd am danynt yn y llinellau blaenorol—bydolrwydd, tori'r Sabboth, balchder, digofaint, cybydd-dra, diogi, cenfigen, godineb, a glythineb, y rhai ydynt yn llethu y milwr ysbrydol.

[5] "Dêl i'w cof adail a'u cudd." *G. B. C.*, ac *R. J.*

"Del i'w cof, adail a'i cudd." *C. Ll. G.*

[6] "Ddofydd"—*G. B. C.*, *C. Ll. G.*, ac *R. J.*

Pan y mae y "naw pwys" yn llethu y bardd, y mae aberth iawnol Crist yn dyfod i'w gof, y ffaith fawr am yr hwn oedd wedi myned o'i olwg am yspaid, o herwydd y bydolrwydd oedd wedi ymdaenu am ei enaid. Credwn mai hyn a feddyliai.

[7] "Duw i'r hawl, a da yw rh'om." *G. B. C.*

"Duw i'r hawl, a da y rho'm." *C. Ll. G.*, ac *R. J.*

[8] Yn y copïau argraffedig un *s* a geir yn "drwssiodd" a "drossom."

[9] "I."—*Add. MS.*, 14,879.

[10] "Pren"—*G. B. C.*, *C. Ll. G.*, ac *R. J.*

[11] "Ein"—yn y copïau argraffedig.

[12] "Ir."—*Add. MS.*, 14,879.

Yn dad yn fab bab y byd[1]
  yn oesbraff glan yn ysbryd
Yn un nifer henafiaeth
  ac yn un gnawd gwn in gwnaeth[2]
Duw n kyfoeth dawn an kyfyd
  y dydd y bo diwedd byd[3]
Dydd a bair ofn fydd dydd brawd
  dydd trillu diwedd trallawd
Diau fydd drwg a da fo
  ufydd[4] iawn a fydd yno
Ar dyfyn[5] ar wyr dofydd
  a fu ag etto[6] a fydd
Yn rhagor in rhywiogaeth
  yn nef a'r bressen[7] a wnaeth

[1] Sylwa *R. J.* fod y bardd yn amlygu ei deyrngarwch i'w dad ysbrydol trwy osod yr enw "Pab" ar Grist.

[2] "Gwnn in gwnaeth"—*Add. MS.*, 14,879; "gwn yn gwnaeth"—*G. B. C.*; "Gwn y'n gwnaeth"—*C. Ll. G.*; "gwn i'n gwnaeth"—*R. J.*

[3] "Duw'n cyfoeth, daw a'n cyfyd,
  y dydd y bo diwedd byd."
   *G. B. C.*
"Duw'n cyfoeth, dawn a'n cyfyd,
  y dydd y bo diwedd byd."
   *C. Ll. G.*, ac *R. J.*

Bron na feddyliwn fod Goronwy Owen wedi darllen y cywydd hwn cyn iddo gyfansoddi "Cywydd y Farn." Ceir ynddo y llinellau a ganlyn :—

"Goddau f'armerth o'm nerthyd
  Yw Dydd Barn a diwedd byd ;
. . . . . . .
. . . . . . .
  Try allan ddynion tri-llu—
  Y sydd, y fydd, ac a fu,
. . . . . . . .
. . . . . . . .
  Un llith o fendith i fad,
  A'r diles air deoliad.
  Duw gwyn i le da y gyr
  Ei ddeiliaid a'i addolwyr."

Ond nid ydyw Iolo Goch, wedi'r cyfan, yn deilwng i'w gymharu, o ran ystwythder ei linellau a bywiogrwydd ei awen, â Goronwy Owen. Ac ni ddylid dysgwyl yn amgen, gan fod y mesur Cywydd Deuair Hirion yn ei fabandod yn amser Iolo.

[4] "Ufudd"—*Add. MS.*, 14,879, *G. B. C.*, *C. Ll. G.*, ac *R. J.*

[5] Yn cael eu gwysio i ymddangos.

[6] "Ac eto"—*G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

[7] "Bresen"—yn y llyfrau ereill. A ydyw "bresen" yma yn golygu *presennol*? Os felly, o bosibl nad ydyw y bardd yn ei osod yn gyfystyr â'r ddaear a'i chynnwysiad—y nefoedd a'r ddaear.

Pum harcholl in arfoll ni
pum haelod y pum hweli[1]
An rhoi yn iach yn rhan oedd
wnai Siessus yn oes oessoedd[2]
Bid yn wres[3] bod yn rassol
bid yn nef bod yn i ol
Er i gof ir i gyfyd
er i loes dros bumoes byd[4]
Ir i lun ar oleuni
er a wnaeth ai roi i ni[5]

[1] "Pum' archoll i'n arfoll ni,
Pum aelod y pum' weli."
*G. B. C.*, *C. Ll. G.*, ac *R.J.*

Y mae y Pabyddion, fel y sylwa *R.J.*, yn lled fanwl mewn perthynas i ddyoddefiadau Crist, ac yn son yn fynych am yr archollion a gafodd ar y groes. Ond nid oes unrhyw ddrwg yn hyny; ac y mae y Protestaniaid yn son am danynt yr un modd, ond fod y Pabyddion yn eu rhifo ac yn eu cofnodi yn fwy manwl. Ym mhlith ereill o'r beirdd sydd yn defnyddio ymadrodd cyffelyb gellir nodi Dafydd Benfras (*Myv. Arch.*, p. 221), yr hwn a ddywed :—

"Gorug dduw gwener rhwydd-der rhadau
Goddef pum harcholl o archollau."

[2] "An rhoi yn iach yn rhann oedd
a wnai Siesus yn oes oessoedd."—*Add. MS.*, 14,879.

"A'n rhoi yn iach, ein rhan oedd,
Wnai Sieswsyn oes oesoedd."
*G. B. C.*, *C. Ll. G.*, ac *R. J.*

"Siessus" (Jesus) = Iesu.

[3] "Yn eures."
*Add. MS.*, 14,879.

Yr ydym yn methu a gweled y fath air ag "eures" yn ein geirlyfrau; ac "yn wres" a geir yn yr holl gopïau ereill. Eglurhad *R. J.* yn y lle hwn ydyw — "Bydded caffaeliad o'i ras yn wrthddrych ein hymegnïad gwresocaf; a'n nefoedd a fyddo ei ddilyn ef."

[4] "Er i gof er i gyfyd
er i loes dros bumoes byd."
*Add. MS.*, 14,879.

"Er ei gof hir a gyfyd,
Er ei loes dros bumoes byd."
*G. B. C.*, *C. Ll. G.*, ac *R. J.*

Dywed Dafydd Benfras (*Myv. Arch.*, p. 219), hefyd, fel y canlyn:—

"Achos pumoes byd ybu iddaw
Uchelwr mirain bêr drain drwyddaw."

[5] "Er ei lun ar oleuni
Er a wnaeth a'i roi i ni."
*G. B. C.*, a *C. Ll. G.*

"Er ei lun a'r oleuni
Er a wnaeth a'i roi i ni."
*R. J.*

Ai nid "a'i oleuni" a feddyliai y bardd?

Er i wyneb ar wener[1]
er i boen fawr ar y ber[2]
Ir yn gwedd er yn gweddi
y nef a brynodd i ni[3]
Y marw ni wyr ymorol
am a wnaeth y mae yn ol
Nid 'edwyn yn nodedig
nai phlaid trwm na phle y trig[4]
Ni chyrredd yn iach arian
nid oes ond a roes o rann[5]
llaswyr fair yn llaw Iessu
lle tydd erbyn y dydd du[6]
Umpryd wener opheren
on dig byth an dwg i ben[7]

[1] Y dyoddefiadau oedd o'i flaen ar y dydd Gwener y bu farw.

[2] Y mae y "bêr" yma yn golygu y groes, yn ddiammeu.

Nid ydyw llin. 97-98 yn *C. Ll. G.*

[3] "Er yn gwedd er yn gweddi
y nef a brynnodd i ni."
*Add. MS.*, 14,879.

"I'r un gwedd, er ein gweddi,
Y nef a brynodd i ni."
*G. B. C.*, ac *R. J.*

Nid ydynt yn *C. Ll. G.*

[4] "Nid edwyn y nodedig
na i fflaid trwm na ffle trig."
*Add. MS.*, 14,879.

"Nid edwyn yn nodedig,
Na'i phlaid trwm, na ph'le y trig"—yn y copïau argraffedig.

Y mae y llinellau hyn a'r ddwy sydd yn eu dilyn yn hollol dywyll i ni.

[5] "Ni chyrredd yn iach arian
nid oes ond arob o rann."
*Add. MS.*, 14,879.

"Ni chyraedd yn iach arian,
Nid oes ond a roes o ran"—
yn y copïau argraffedig.

[6] "Llaswyr fair yn llaw Iessu
lles fydd erbyn y dydd du."
*Add. MS.*, 14,879.

Ymddengys i ni mai hwn yw y darlleniad cywir. Y mae y copïau argraffedig, yr un modd a'n testyn, yn rhoddi "lle" yn lle "lles" yn nechreu yr ail linell. Ond y mae yn amlwg mai gosod allan yr oedd y bardd y *lles*, neu'r buddioldeb, a ddeilliai o "Llaswyr Mair" yn awr angeu. Nid ydyw "Llaswyr," mwy na Sallwyr, ond llygriad o Psallwyr, ac y mae yn gyfystyr yma â Gwasanaeth Mair. Defnyddir y gair gan amryw o'r beirdd; ac, yn eu plith, gan Lewis Glyn Cothi (*Gwaith*, tudal. 105):—

"Arver mae Annes o Baderau,
Arver eiliw ser â Llaswyrau;
O'r galon y rhy'r Gwyliau am Sallwyr,
O law a synwyr, elusenau."

[7] "Vmpryd wener yfferen
ond dig byth an dŵg i benn."
*Add. MS.*, 14,879.

"Unpryd wener offeren
o'n dig byth an dwg i ben"—
yn y copïau argraffedig.

Am gwlad fyth an[1] golud fo
iw ymgeledd Duw am galwo
Doed y gair deued i gof
trwssied i law[2] Dduw trossof
Er i[3] fedd ai chwerwedd chwys
ar anfad farn ar enfys
Vn doeth rwysg[4] un Duw a thri
un Duw del in didoli[5]

Iolo Goch ai kant.

Yn ol *Allwydd neu Agoriad Paradwys*, tudal. 2, dywedir mai y rhai a ganlyn ydynt "Y Dyddiau Ympryd" ym mhlith y Pabyddion :—

"Pob dydd o'r Garawys. Y Catgoriau. Noswyl-Natalic. Noswyl Sulgwyn. Noswyliau Puredigaeth, Cyfarchiad (oddieithr pan ddelo yn wythnos y Pasc) Asswmption, Genedigaeth ac Ymddwyn ein Hargl. fend. Mair forwyn. Noswyl Holl-Sainct. Noswyliau y deuddeg Apostolion (onid S. Joan Evangylwr a S. Philip & S. Jacob) Noswyl S. Joan Fedyddiwr. & S. Lawrens. Yr holl ddyddiau gwener trwy'r flwyddyn, ond oddy Natolic hyd yr Ystwyll ac yn wythnos y Pasc. Y dydd-Llun a'r dydd-Mercher oflaen dydd Joy Dyrchafael.

"Nid ydyw arfer ymprydio yn rhai o leoedd rhwng Dydd-Pasc a'r Dyrchafael, hynny yw tra fo'r Priodfab gyda ni. Mat. 9. 15.

"Yr ydym yn rhwymodig i ymwrthod a chig ar yr holl ddyddiau Satwrn trwy'r flwyddyn, ar yr holl Suliau yn-y Garawys, ar ddyddgwyl S. Marc (ond pan ddelo yn wythnos y pasc) ac ar ddy-Mawrth o flaen dydd-Joy Dyrchafael.

"Dymma'r Gwyliau a'r Ympryd-ddyddiau gorchymmynedig a chynnefinaf i'w cadw : ond oblegid fôd amryw arferau yn amryw Wledydd, dilyned pob vn gyngor y rhai dyscedig a'r rhai duwiol lle bo yn byw."

1 "A'm"—yn y llyfrau ereill.

2 "Trwsied o law"—*G. B. C.*; "Trwsiad o law"—*C. Ll. G.*, ac *R. J.*

3 "ei"—yn y copïau argraffedig.

4 "Gwysc."—*Add. MS.*, 14,879.

5 "Dydoli."—*C. Ll. G.*

# LX.

## *CYWYDD I'R BYD.

---

*(O Lyvr Huw Lleyn—Add. MS., 14,967, fol. 101).*

Ymddengys fod awduriaeth y cywydd hwn yn aros yn ammhenderfynol. Priodolir ef i "Dr. John Kent" yn *Add. MS.*, 14,889; a cheir ef hefyd yn *Add. MS.*, 14,900, gyda'r enw "Doctor John Kemp" [*sic*] wrth ei waelod. Ac fel nodyn ar ei ol yn adysgrif Iolo Morganwg, a geir yn *Add. MS.*, 14,970, y mae yr hyn a ganlyn:—

"Iolo Goch ai cant, medd Llyfr D. E., ond Sion Cent ai cant medd y rhan fwyaf o lyfrau a welais i erioed. Y mae awdwr Hanes y Ffydd hefyd yn rhoi pigion o'r cywydd hynn i Sion Cent, ag yn wir y mae dull yr iaith yn dangos yn amlwg mai gwr o'r Deheudir a wnaeth y cywydd, ag y mae dull y meddyliau yn dadlu'n gadarn mai Sion Cent ai cant. Iolo Morganwg."

O'r ochr arall, priodolir ei awduriaeth i Iolo Goch yn *Add. MSS.*, 14,886; 14,936; 14,964; 14,967; 14,970, a 14,984; yn *Glanyrafon MS. A.*; *Ceinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 15; ac yn *The Works of Iolo Goch* (gan R. Jones), tudal. 25. Ac mewn perthynas i'r hyn a ddywed Iolo Morganwg, gallwn grybwyll i ni fethu d'od o hyd i ddyfyniadau o'r cywydd yn y *Ffydd Ddi-ffuant*, gan Charles Edwards, o gwbl. Ceir ar ddiwedd y llyfr hwnw gywydd o waith Sion Cent, yr hwn a ddechreua:

"Afraid i ddyn derfyn dig
Ei rwyf na'i ormod rhyfig."

Ond yr ydym yn methu gweled unrhyw debygolrwydd neillduol rhyngddo â'r cywydd canlynol. A phe buasai Charles Edwards yn dyfynu y cywydd dan sylw ac yn

priodoli ei awduriaeth i Sion Cent, ni fuasai hyny mewn un modd yn profi y mater; o blegid, y mae amseriad llyfr Charles Edwards yn ddiweddarach agos i ddau can' mlynedd na'r ysgriflyfr o'r hwn y cymmerasom ni y cywydd a ganlyn. Da fuasai genym pe cyfeiriasai Iolo Morganwg at ryw enghreifftiau neillduol yn *null yr iaith* ag sydd "yn dangos yn amlwg mai gwr o'r Deheudir" a'i gwnaeth, neu at rywbeth yn *null y meddyliau* ag sydd "yn dadlu'n gadarn mai Sion Cent ai cant."

O'n rhan ein hunain, er na theimlem ronyn yn fwy anesmwyth ein meddwl pe profai rhywun i sicrwydd mai Sion Cent oedd yr awdwr, eto, nid ydym yn canfod yn y cywydd unrhyw brofion pendant yn erbyn y dybiaeth mai Iolo Goch ydoedd. Nid ydym yn rhoddi llawer o bwys ar yr hyn a ddywed Iolo Morganwg, o blegid gwyddom mai un o'i wendidau ef oedd priodoli bron bob peth, profion neu beidio, i feirdd y Deheudir. Ond, gan fod hwn yn cael ei briodoli gan gymmaint i Iolo Goch, rhoddwn ef yma.

Yng nghylch penawd y cywydd, nid ydyw yr ysgriflyfrau yn cytuno. Yn rhai ohonynt, megys *Add. MS.*, 14,964, y penawd yw "Cywydd i Dduw;" ond "Cywydd i'r Byd" ydyw y penawd mwyaf cyffredin. Y penawd yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig* yw:—"Cywydd ar yr Ystyriaeth o Enedigaeth Dyn;" ond hwyrach mai yr un sydd yn rhoddi y drychfeddwl cyflawnaf o'i gynnwysiad ydyw y penawd a geir yn *Add. MS.*, 14,984; yr hwn sydd fel y canlyn:—

"Cowydd yn dangos mai marwol yw dyn ag na ddylam, i, gredu i ddim ond i dduw, ag mai yr Iessu a farn y byd pan ddel dydd farn."

Pa fodd bynag, nid ydym i dybied oddi wrth y penawd hwn nad oedd y bardd—pa un bynag ai Sion Cent, Iolo Goch, neu rywun arall ydoedd—yn gwarafun credu yn Mair, o blegid cyfeiria ati fwy nag unwaith mewn geiriau parchus; ac yn y llinell olaf o'r cwbl awgryma o'r bron na fyddai y nefoedd yn nefoedd iddo ef heb bresennoldeb

Mair. Yr hyn a waherddir gan y bardd ydynt yr ofergoelion hyny a fuont unwaith yn uchel eu bri—megys credu mewn ceiliogod yn canu, y frân yn croesi y ffordd, dewinio, swyngyfareddu, a'r cyffelyb. Ac yr ydym bron yn synu fod neb yng Nghymru wedi cyrhaedd y fath safon fel ag i allu ammeu a diystyru y cyfryw ofergoelion mewn oes mor dywell a'r bedwaredd ganrif ar ddeg. Tybiwn, felly, fod y bardd ym mhell o flaen ei oes, o leiaf, yn hyn o beth.

Myvyr wy yn ymovyn
O Dduw beth orre i ddyn[1]
Ai eni[2] er llennwi[3] llid
Naws gwiwnoeth[4] ai nas genid
Wrth ddyall[5] araith[6] ddiwyd
O bregeth rruw beth[7] ywr byd
Brevola braw i elyn[8]
Dim ar y ddayar yw dyn[9]

[1] "Mwyfwy yr wy'n ymofyn
O Dduw beth sy orau i ddyn."—*Add. MS.*, 14,970.
"Myfur irwy' nymofyn
O Dduw beth orau i ddyn."
*Add. MS.*, 14,964.
"Myfyr yr wy yn ymofyn
o dduw beth ore i ddyn."
*Glan. MS.*
"Myfyr yr wy'n ymofyn
I Dduw beth orau i ddyn."
*C. Ll. G.*
"Myfyr wyf yn ymofyn,
O Dduw, beth orau i ddyn."
*R. J.*

[2] "Ei eni."—*R. J.*

[3] "Llenwi"—yn y llyfrau ereill.

[4] Tybiwn mai "gwywnoeth" (= *to wither*), yn ol *R. J.*, sydd gywir.

[5] "Ddeall"—*Add. MS.*, 14,970, a *C. Ll. G.*; "ddeallt"—*Add. MS.*, 14,964, ac *R. J.*

[6] "Araeth."—*Glan. MS.*

[7] "Rhyw beth"—*Add. MS.*, 14,970; "ne beth"—*Add. MS.*, 14,964.
"Pregeth oer, beth ydyw'r byd?"
*C. Ll. G.*
"O bregeth? neu beth yw'r byd?"—*R. J.*

[8] "Da'r olau pa ryw eilyn."
*Add. MS.*, 14,970.
"Pur olaf, pa riw eilyn."
*Add. MS.*, 14,964.

[9] Y darlleniad yn ol *Add. MS.*, 14,964, ac *R. J.* yw:—
"Diana'r ddaear yw dyn";
ac y mae yr olaf yn sylwi:—
"*Diana*. The text of this poem is very inaccurate. What the poet means we can but conjecture." Ond y mae ein testyn ni yn ddigon amlwg ar hyn. Ymddengys fod *R. J.* yn cymmeryd *Add. MS.*, 14,964, fel testyn y cywydd hwn ond ni ddilynodd ef yn fanwl.

Oi varn pann vo kadarna[1]
Oi lys rrydd ai les y rra[2]
Angav a ddaw distaw don[3]
Iw ddwyn o vysc i ddynion[4]
Gwedi r loes a gado r wledd[5]
Ai varw er maint i vowredd[6]
rruw gyvle rrew gayavloer[7]
rraw a chaib dyfna[8] rrych oer
Ac ynno yn ol dolef[9]
Byr ywr oed i bwrir ef[10]
Ai sathru mewn grayanblu gro[11]
Ner addwyn annair[12] iddo

[1] "I farn pan fo cadarnaf." *Add. MS.*, 14,970.
"I'r farn pan fo gadarna." *Add. MS.*, 14,964.
"O'i farn pan fo cadarna." *Glan. MS.*
"O'i farn pan fod gadarnaf." *C. Ll. G.*
"I'r farn, pan fo gadarnaf." *R. J.*
Tybiwn mai y darlleniad—"Ir farn pan fo gadarna" ydyw y goreu.

[2] "O'i lys rhydd ai les ir a." *Add. MS.*, 14,964.

[3] "Angau daw distaw ei don." *Add. MS.*, 14,970.

[4] "Iw ddwyn o blith ei ddynion." *Add. MS.*, 14,970.
Dysgrifir angeu yn dyfod yn ddystaw a lladradaidd i ddwyn dyn o fysg ei gyfeillion a'i gydnabod.

[5] "Ac wedi'r loes rhaid cadw'r wledd."—*Add. MS.*, 14,970.
"Gado'r wlad i gyd a'r wledd." *Add. MS.*, 14,964, ac *R. J.*
"Gwedi'r loes a gadaw'r wledd."—*C. Ll. G.*

[6] "A marw er maint y mawredd." *Add. MS.*, 14,970.

[7] "Gyfaeloer" — *Add. MS.*, 14,964; "gafaeloer"—*R. J.* Tebygol mai *gafaeloer* ac nid *gauafloer* ydyw y cywiraf.

[8] "A wna"—*Add. MS.*, 14,970, a *Glan. MS.*; "a wnae"—*Add. MS.*, 14,964; "a wnai"—*R. J.*; "a dyna" — *C. Ll. G.* Rhaw a chaib i dori bedd a feddylir.

[9] "Ac yno'n ol ei oddef." *Add. MS.*, 14,970.
Y darlleniad mwyaf cyffredin ydyw "dolef" = dolefain = galaru; anhawdd deall beth a feddylir wrth "oddef," os nad goddef y corff yn y tŷ hyd y claddedigaeth. Ond gwell genym ni "dolef."

[10] "Berr yw'r oes i bwrir ef." *Add. MS.*, 14,964.

[11] "Ai gladdu graianddu gro." *Add. MS.*, 14,970.
"Ai gladdu graean gru gro." *Add. MS.*, 14,964.
"Ai sathru mewn arw blu gro." *Glan. MS.*
"A'i sathru mewn graiandy gro."—*C. Ll. G.*
"A'i gladdu dan graian gro." *R. J.*

[12] "A wneir"—*Add. MS.*, 14,970, a *C. Ll. G.*; "a wnair"—*Add. MS.*, 14,964.

Ai genedl oi digoniant[1]
Ervai gun ai arvau gant[2]
Oes gwirion oes o garriad[3]
Oes dim ondi Iessu dad[4]
Gwayr neb ir kwbl oi vebyd[5]
Byth amddiretto[6] ir byd
Gwaen ennw llid gwae anel llys[7]
Vry yn ol ar vro anilys[8]
Gwae a gollo naw bro[9] ner
Duw nef er donie o ver[10]
Gwae a gred vwch kaledlawr[11]
I ddim oll[12] ond i Dduw mawr
Y gwr a ddichon i gyd
O vair wyry i vawr wryd[13]

[1] "Ei genedl ai ddigonant."
*Add. MS.*, 14,970.
"Ai genedl ai digoniant."
*Add. MS.*, 14,964, a *C. Ll. G.*

[2] Yn ol darlleniad y testyn, y meddwl yw y bydd ei deulu yn cael ei "arfau," h.y., ei eiddo, ar ei ol. Ond y mae y darlleniadau yn amrywio:—
"Iw siccrhau ei gau a wnant."
*Add. MS.*, 14,970.
"Ai arfau oedd gynau gant."
*Add. MS.*, 14,964.
"Er a fu gu ai arfau gant."
*Glan. MS.*
"Er fu'r gwr ei arfau gant."
*C. Ll. G.*

[3] "Os gwirion sy o gariad."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*
"Os or gwirion sy o gariad."
*Glan. MS.*

[4] "Oes dim onid Iesu dâd."
*Add. MS.*, 14,970.
"Oes dim ond Iesu ai dad."
*Glan. MS.*

[5] "Gwae'r neb er cwbl oi febyd."
*Add. MS.*, 14,970, a *C. Ll. G.*
"Gwae'r neb or cwbl a fegid."
*Add. MS.*, 14,964.

[6] "Ymddirietto"—*Add. MS.*, 14,970; "ymddiriedo"—*C. Ll. G.*

[7] "Gwae enw llid o gwnai y llys."—*Add. MS.*, 14,970.
"Gwae'n enw llid a wnel llys."
*Add. MS.*, 14,964, *C. Ll. G.*, ac *R. J.*
"Gwnelw llid gwae a wnel llys."—*Glan. MS.*

[8] "Fry'n ol i'r fro annilys."—*R. J.* Tybia *R. J.* fod cyfeiriad yn y llinellau hyn at y Purdan.

[9] "Nawfro."—*Add. MS.*, 14,970.

[10] "Doniau ofer"—yn y llyfrau ereill. Pleserau y byd, yn ddiammeu.

[11] "Colledlawr"—*Add. MS.*, 14,970; "caledlawr"—*Glan. MS.*
"Caledlawr" (=*terra firma*) ydyw y tebycaf i fod yn gywir.

[12] Mwy cynghaneddol ydyw y darlleniad yn *Add. MS.*, 14,964:—
"I ddim mwy ond i Dduw mawr."

[13] "O Fair wiwryw fawr wryd."
*Add. MS.*, 14,970.

Gistwng[1] y gwynt hynt hynod
A chilio glaw vchel glod[2]
A meirw i vyw ymaros
A dydd onnewydd a nos[3]
Nid oes yn onid Iessu
Na Brenin gorllewin llu[4]
Ef biavr byd kyd kadneth[5]
A ffiau pawb a ffobeth[6]
Kredwn ir tad kad kydrnerth[7]
Ar mab ar ysbryd kyd kerth[8]
Kredwn yn bod yn ddioc[9]
I varw Grist a vu ar groc[10]

"O Fair wyry fawr ei wryd." *Add. MS.*, 14,964.
"O Fair wyr a fawr weryd." *Glan. MS.*
"O Fair wyryf a'i fawr wryd." *C. Ll. G.*
"O Fair wyryf, fawr wryd." *R. J.*

Gwryd (=dynoliaeth) yr Arglwydd Iesu sydd gan y bardd mewn golwg.

1 "Gostwng" — yn y llyfrau ereill. Mewn amryw fanau yng Ngogledd Cymru, dywedir "gistwng" ar lafar gwlad.

2 Ar ymyl y ddalen gyferbyn â'r llinell hon yn *Add. MS.*, 14,970, ceir :—"Cilio, active as in Sil. cilio ysgyfarnog, &c. I. M."

Y darlleniad gan *R. J.* ydyw :—
"A phaidio, pan fynno fod."

3 "A meirw i fyw o' maros
A dydd o newydd a nos." *Add. MS.*, 14,970.

4 "Nid oes Arglwydd ond Iesu
Na Brenin Gorllewin llu." *Add. MS.*, 14,970.

Nid ydyw o llin. 37 hyd llin. 51 yn *Add. MS.*, 14,964, nac *R. J.*

5 "Fe piau'r byd cyd cydwaith." *Add. MS.*, 14,970.
"Ef bio y byd hyd hoew dreth."—*Glan. MS.*

6 "A phiau bawb a phob iaith." *Add. MS.*, 14,970.
"A ffio y byd a ffob peth." *Glan. MS.*

7 "Credwn i'r Tad cad cydnerth."—*Add. MS.*, 14,970.
"Credwn ir hen dad cadarnnerth."—*Glan. MS.*

8 "Mab a'r Yspryd cynfyd certh."—*Add. MS.*, 14,970.

9 Y mae yn eglur fod y darlleniad hwn yn wallus: ond pa un o'r ddau a ganlyn a ddewisir yn ei le? —
"Credwn fod yn odidog." *Add. MS.*, 14,970.
"Credwn ni na bom ddiog." *Glan. MS.*

Ai "Na b'om ddiog (=hwyrfrydig) i gredu" a feddylir?

10 "Fawr Grist a fu ar y grôg." *Add. MS.*, 14,970.
"Farw Crist a fu ar y grog." *Glan. MS.*

[1]Kredwn hevyd kyd kadair
In harglwydd Bab a mab mair[2]
I daw megis y dyvawd[3]
Iessu i varnu ddydd vrawd[4]
[5]Nid kredu hevrru hiraint[6]
I goel nev swyn gelyn saint[7]
Nev gredu ymyru maith[8]
I vreuddwyd gwrach avrwyddiaith[9]
Nev gredu ymlu amlwc[10]
I lais y dryw am les drwc

1 Yn blaenori llinell 47 yn *Add. MS.*, 14,970, ac yn *C. Ll. G.*, ceir y ban a ganlyn :—
"Credwn i'r Eglwys lwys lwyth
Gatholig ag i'w thylwyth."

2 "I'r Arglwydd Bab a mab Mair."—*Add. MS.*, 14,970.
"Yn Arglwydd Bab, a Mab Mair."—*C. Ll. G.*

3 "Y daw megis y dywawd." *Add. MS.*, 14,970.
"I daw megis i dyfawd." *Glan. MS.*
"Y Duw megis ei dywawd." *C. Ll. G.*
Neu yn fwy eglur—"Fe ddaw megys y dywed y daw."

4 "Iesu i'n barnu dydd brawd." *Add. MS.*, 14,970.

5 Yn blaenori llin. 51 ceir y ban a ganlyn :—
"I bawb o'r graddau y bo
Rhoddir megis yr haeddo." *Add. MS.*, 14,970.
"I bawb or fuchedd i bo
i rhodd megis ir haeddo." *Glan. MS.*
"I bawb o'r fuchedd y bônt
Y rhydd megis yr haeddont." *C. Ll. G.*

6 "Haeru hiraint"—*Add. MS.*, 14,970, a *C. Ll. G.*; "heuru hiraint"—*Glan. MS.*; "haenu henaint"—*R. J.* Y mae yn amlwg fod y bardd, pwy bynag ydoedd, yn anghymmeradwyo llawer o ofergoelion y credid ynddynt yng Nghymru hyd yn lled ddiweddar, os na wneir eto.

7 "I goel neu Swydd gelain Saint."—*Add. MS.*, 14,970.
"I goelau swynoglau Saint." *Add. MS.*, 14,964, ac *R. J.*
"I gael ne swyn gelyn saint." *Glan. MS.*, a *C. Ll. G.*
Yn ol *R. J.* swynoglau = *amulets*, *charms*; ond credwn mai y testyn sydd gywir, "swyn (= *fascination*) gelyn y saint," ac nid "swynoglau y saint." Ni fuasai Iolo Goch yn dyweyd dim yn erbyn yr olaf.

8 "Ne gredau i'r myrriau maeth." *Add. MS.*, 14,964.
"Neu gredu ymru ymaint." *Glan. MS.*
"Neu o wirfodd, mewn modd maith."—*C. Ll. G.*

9 "Afrwyddwaith"—*Add. MS.*, 14,964; "afrwyddaint"—*Glan. MS.*

10 "Ymliw amlwg"—*Glan. MS.*; "am lu amlwg"—*C. Ll. G.*

Ne[1] lais y vran yn kanu
loth ormes i ddewes ddu[2]
Na chred ddwygred ddigref
60 ddim ineb ond i dduw nef[3]
Duw oreu vwch dayerydd
Duw Iessu Duw vu Duw vydd
Duv vydd[4] o herwydd hiroed
64 Divai ras Duw vu yrioed[5]
Dydd brawd at giwdawd gadarn[6]
Diau vydd mai Duw a varn
Duw an dyko or diwedd
68 Ir wlad dragywydd ar wledd[7]
Duw draw an gwnel yn llawenn
Gida[8] Mair i[9] gyd amen

Iollo Goch ai kant.

[1] "Neu"—*Add. MS.*, 14,970; "Neu gredu i'r fran yn canu"—*C. Ll. G.*

[2] "Lath ormes Iddewes ddu." *Add. MS.*, 14,970.
"Llef ormes Iddewes ddu." *Add. MS.*, 14,964.

[3] "Na chreded ddwygred ddigref
I ddyn oll ond i Dduw nef." *Add. MS.*, 14,970.
"Ddim ineb"=ddim i neb.

[4] "Sydd"—*Add. MS.*, 14,970; *Glan. MS.*; "fu"—*Add. MS.*, 14,964.

[5] "Erioed"—yn y llyfrau ereill.

[6] "Dydd Brawd ar geudawd gadarn."—*Add. MS.*, 14,970.
"Dydd brawd i gaudawd gadarn."—*Add. MS.*, 14,964.
"Dydd brawd ar giwdawd gadarn."—*Glan. MS.*
"Giwdawd" (=llwyth, neu genedl) sydd gywir.

[7] Darllenir y ban hwn yn *Add. MS.*, 14,970, fel y canlyn:—
"I'r wlad trag'wyddol a'r wledd
Duw a'n dycco o'r diwedd."
Ond dilyna y llyfrau ereill y testyn, gyda hyn o wahaniaeth yn *C. Ll. G.*:—
"Duw a'i dyru o'r diwedd
I'r wlad dragywydd a'r wledd."

[8] "Gyda"—yn y llyfrau ereill, ac eithrio *Glan. MS.*, yn yr hwn y ceir "gida."

[9] Y mae *Add. MS.*, 14,970, ond yn anghywir, yn rhoddi "eu" yn lle "i."

# LXI.

## [AWDL I GRIST.]

---

*(O'r Llyfr Coch o Hergest, Col. 1,369).*

Nid oes benawd i'r awdl yn yr ysgriflyfr uchod amgen na "Iollo goch ae cant" uwch ei phen. Ceir hi hefyd yn *Add. MS.*, 15,001, lle y dywedir iddi gael ei chymmeryd o'r *Llyfr Coch*, gyda'r penawd "Iolo Gôch ai cant, i'r Angau." Ond nid ydyw yr adysgrif o gryn lawer yn gopi cywir o'r awdl fel y mae yn y *Llyfr Coch*. Hwyrach fod yn anhawdd cael enghraifft amlycach o hyfdra copïwr yn newid orgraff nag a geir yn yr ysgriflyfr hwn. Ac nid yn unig y mae yr orgraff yn fwy diweddar, ond y mae y copïwr wedi gwneyd amryw gamgymmeriadau yn y darlleniad. A chan nad oes benawd iddi yn y *Llyfr Coch*, ac nad ydyw "I'r Angau," fel yn ysgriflyfr yr Amgueddfa Brydeinig, mewn un modd yn gywir, rhoddasom iddi benawd o'n heiddo ein hunain. Math o weddi ydyw, yn dwyn tebygolrwydd neillduol i ranau o'r ffurfwasanaeth Pabaidd. Y mae amryw o'r ymadroddion a'r syniadau yn gyffelyb i'r rhai a geir yn "Awdl Gyffes y Bardd" (Rhif LIII.); ond yma defnyddir y gorchan a elwir yn *gyhydedd fer*.

Crist audi nos.[1] Craton kyrios[2]
rac ymaros ry6 gamwryeu[3]

[1] Ceir yr ymadrodd Lladin hwn—"*Christe audi nos*" = "Crist, clyw nyni"—yng ngwasanaethlyfr y Pabyddion, yn gystal ag yn y Llyfr Gweddi Gyffredin.

[2] Κρατῶν Κύριος = Arglwydd y nerthoedd. Κρατῶν (y ffurf dalfyredig o Κρατεων) ydyw yr achos meddiannol lluosog (*genitive plural*) o Κράτος.

[3] Camwriau.

Agnus leo.[1] alpha & O.[2]
deus homo[3] dioesameu.
Rex redemptor[4] reit ytt hepkor.
ia6n ry6[5] gyngor ynn rac angeu.
Ef ny ehet[6] ef ny anet.
ef ny welet yn ia6n oleu
Ar for na thir. ef ny welir
ef yn dyir ef yndieu.[7]
Ef y6r dial am yr aual.[8]
vn anwadal y ann6ydeu[9]
Ef yn vchel ef yn dawel.
ef yn issel ef yn asseu.[10]
Ef oe awyd yn gyfar6yd.[11]
ef yn ebr6yd ny vynn obreu.
Yn b6h6man yn tra buan.
dra6 ac yman dr6y y gameu.
Ef ny byd hyn yny vl6ydyn
ny wybyd dyn ef ny byd ieu.[12]
ac ef agrynn. ac ef ni ryn̄.
ac ef a dyn̄ ac ef adeu
Nyt[13] llesc lle del nys llysc envel[14]
nys llud oeruel.[15] nys llad arueu

[1] "Agnus"=oen; "leo"=llew. Gwelir yma wrthgyferbyniad amlwg —yr *Oen* a'r *Llew* yn cydgyfarfod.

[2] Alpha ac Omega.

[3] "Deus homo"=*Duw, dyn*. Y mae y bardd yma yn hoff o ymadroddion gwrthgyferbyniol.

[4] "Rex" ydyw y Lladin am *Frenin;* ac y mae "redemptor" yma yn golygu *Prynwr*, neu *Bryniawdwr*.

[5] "Ia6n ry6"=iawn rhyw.

[6] Prin y mae angen nodi allan fod y *t* derfynol i'w darllen fel pe yn *d*—ehed, aned, weled, &c.

[7] Hyny yw—Ef yn ddyhir, ef yn ddiau.

[8] Ef yw'r dial am yr afal—dial camwedd ein rhieni cyntaf am fwyta o ffrwyth y pren gwaharddedig.

[9] "Ei anwydau."—*Add. MS.*, 15,001.

[10] "Asseu"=aswy (llaw aswy=*left hand*).

[11] Ef o'i awydd yn gyfarwydd. Yn yr un modd ag y mae y *t* derfynol i'w darllen yn *d*, y mae y *d* hefyd i'w seinio yn *dd*.

[12] Ni wybydd dyn ef ni bydd iau—h.y., yn ieuangach.

[13] "Nyt"=nid.

[14] "Eufel."—*Add. MS.*, 15,001.

[15] Nis lludd oervel.

nys beid ll6fyr. nys ery dil6fyr.
nys ba6d cleud6vyr.[1] nys beid cledeu.
Nys ret yn dwys. nys gorffowys.
nys da6 kynn6ys nys d6c heinyeu[2]
Nyt mar6 nyt by6 nys g6nn beth y6
dyn nys ergly6 dan eis oergleu.[3]
Nys g6lych kawat nys g6yl llygat.
yn g6iria6ndat an g6arendeu.[4]
Gwir vrenhin nef yr[5] dy dangnef
yr dy odef yr diodeu.
Yr dy loessyon yr dynyadon.[6]
yr dy goron wrda goreu.
Yr dy gystud yr dy gythrud
ieitholoewrud atholuryeu.[7]
Yr dy vnpryt yr pobyl y byt
yr dy benyt yr dy boeneu.
Yr dy gynnedyf[8] ar dengeir dedyf.
wr diweirgredyf yr dy wirgreu.
Yr dy seint[9] oll yr dy archoll.
yr dy vronnholl yr dy vreinheu.
Yr dy godet.[10] ath vronn waetlet.
wr diweirgret yr dy wirgreu.

[1] "Nis bawdd cleuddwfr."
*Add. MS.*, 15,001.

[2] Nid ydyw yn hollol eglur yn y *Llyfr Coch* pa un ai "heinyeu" ai "hemyeu" ydyw hwn. "Heiniau" a geir yn *Add. MS.*, 15,001.

[3] ais oerglau!—Ai cyfeiriad at y bedd sydd yma?

[4] Y mae yr *yn* yn nechreu y llinell i'w ddarllen yn *ein*. "Ein gwir iawn-dad a'n gwarendeu."—*Add. MS.*, 15,001.

[5] Darllener *yr* yn *er* oddi yma i'r diwedd.

[6] "Dynyadon" = dynoliaeth, yn ol y Dr. W. O. Pughe, yr hwn a ddyfyna, ac a gyfieitha, o H. Voel ab Griffri fel y canlyn:—

"Dyw mawr emherawdyr dyniadon,
Dyllwng dy walç terwyn-valç tirion,
Dewr Owain."

"Great God supreme of *human beings*, liberate thy kind fiercely-haughty hero, the gallant Owain."

[7] "Iaith oloyw-rudd/ a'th ddoluriau."—*Add. MS.*, 15,001.

[8] "gynnedyf" = gynneddf.

[9] Er dy saint.

[10] "Godet" (= oedded) = dyoddefiadau.

Yr dy bryder ar ddu6 g6ener.
ath wi6 leuver[1] ath welieu.
Yr dy gāma6l vrenhin nefa6l.
athro g6ra6l athragoreu.[2]
Moes ym deall y wrthlad ball.
ior diweirgall yr dy wirgreu.
Hynn avynnaf hynn a gaffaf.
hynn a geissyaf hoe6 negesseu.
Na6d y wirgroes ana6d Itloes.[3]
a roi ym oes mi ar rei meu.
Na6d maria. a na6d anna.[4]
a seint assa.[5] a santesseu.
Na6d seint enlli.[6] a na6d kybi[7]
a na6d dewi nud y deheu.
A na6d Ieuan[8] a na6d katuan.
a na6d sanan[9] nud y seinyeu.
Na6d mihangel a na6d gabriel.
a na6d vriel y na6d oreu.
Na6d seint y byt ym kymhlegyt
y ymoglyt rac y magleu.

[1] Lleufer (=*halo*)=y cylch goleu hwnw a ddarlunir bob amser fel yn amgylchu pen Crist.

[2] A thra goreu? "A'th ragorau."—*Add. MS.*, 15,001.

[3] Sant a flodeuai, meddir, yn y seithfed ganrif. Mab ydoedd i Gwyddnabi ab Llawfrodedd Farfog Coch. Efe oedd sylfaenydd eglwys Llanidloes. Priodolir iddo (*Iolo MSS.*, p. 251) y ddiarheb, "Goreu cynneddf yw cadw moes," at yr hon y ceir cyfeiriad yma:—"A rhoi ym moes/ un a'r rhai mau."—*Add. MS.*, 15,001.

[4] Nawdd Mair, a nawdd ei mam, Anna.

[5] St. Asaph.

[6] Lle enwog am seintiau oedd Ynys Enlli, yr hon a saif ym Mor Iwerddon, ac a berthyna i Sir Gaernarfon.

[7] Mab Selyf ab Geraint ab Erbin, a sefydlydd eglwysi Llangybi, ger Llanddewi-brefi; Llangybi ym Mynwy; a Llangybi yn Eifionydd.

[8] St. Ioan yr apostol.

[9] Sannan, neu Senanus, ydoedd Sant Gwyddelig, i'r hwn y cyflwynir eglwys Llansannan, yn Sir Ddinbych, a Bedwellty, yn Sir Fynwy. Bu farw, meddir, yn y flwyddyn 544. Nis gwyddom pa ham y cyffelybir ef gan Iolo i Nudd (Hael) y Seintiau. Yr oedd Sannan gynt yn enw benywaidd yn gystal a gwrrywaidd—Sanand neu Sanant.

# LXII.

## [DEC]HREU YMDDAITH CRIST / Y TRI BRENIN O GWLEN YN DYFOD OI ANRHEGU—IOLO GOCH AI CANT.

---

*(O'r Add. MS., 14,882, fol. 27b).*

Ceir adysgrif arall yn *Add. MS.*, 14,973, fol. 14b, ond nid ydyw enw Iolo Goch wrthi; ac mewn llaw ddiweddar y mae "Iolo Goch ai Cant" yn hwn. Fel y gwelir ar y diwedd, cyfieithydd, ac nid awdwr, y cyfansoddiad canlynol oedd Iolo Goch—a dywedir mai o'r Lladin y cyfieithwyd ef. Tybiwn mai un o'r cyfansoddiadau hyny ydyw ag oeddynt yn cael eu chwareu yn aml yn y Canoloesoedd, a'r rhai a elwid yn Chwareuon Hud a Lledrith. Y ni sydd yn gyfrifol am yr hyn a geir mewn cromfachau (*brackets*) ar ymyl y ddalen a lleoedd ereill. Gwnaethom hyny o herwydd fod yr ysgriflyfr yn ammherffaith.

Tewch a siarad a gwrandewch
LEGIT chwedl stwrmant[1] neb nis gwnaethoch
yn sikir chwi a gewch
a march[2] gwedi ych kyfarch oni thewch

---

2 Kerddwch i vethelem Judii
ach tri ffeth gida chwi
aur a sens[3] a myr arab
ai roi ir mab newydd eni

[1] Y mae yr *o* wedi ei chroesi allan yn "Stormant" ac *w* wedi ei gosod oddi arni. Ai "ystyrmant" (=*Jews-harp*) a feddylir? "Ffrae stwrmant neb nis gwnewch."—*Add. MS.*, 14,973.

[2] Ammharch?

[3] "Sens" a gyfieithir *thus* yn yr argraffiad Cymreig o'r Testament Newydd.

3 Edryched pawb ywch i ben
chwi a gewch weled y seren
yn wyneb y gorllewin
ir tri brenin o gwlen[1]

---

4 Y seren ywch ben y byd
a roddaf yn gyfarwyddyd
ich dwyn at vab aur fflwch
a rwydd[2] yw roddiad heddwch

---

I B. Dyrys yw r ffordd i vethlem
achos anghyfarwydd vyddem
i gael cyngor a dysk iawn
ni awn i gaersalem

---

II B. YN DYVOD . . Y PORTH
Y porthor pybur ddinas
agor y porth sydd adcas
i fynd at frenin herod
anrhydeddus yw i deurnas

---

[P]ORTHOR fynghenad a vydd parod
dos a dowaid i herod
fod yma dri brenin
or dwyrain wedi dyvod

[1] Cwlen = Cologne. Gelwir y doethion a ddaethant i addoli Crist yn "dri brenin Cologne," am y rheswm i'r chwedl am danynt gael ei dechreuad yno. Yn ol y chwedl hon, enwau y brenhinoedd oeddynt Melchior, brenin Nubia, yr hwn a offrymodd *aur*; Balthasar, brenin Saba, yr hwn a offrymodd *thus*; a Jaspar, brenin Tharsis, yr hwn a offrymodd y *myrr*. Yn Cologne yr argraffwyd y chwedl hon gyntaf, dan yr enw "*Historia gloriosissimorum regum integra.*" Cyhoeddwyd cyfieithiad o honi i'r Ffrancaeg yn Paris yn 1498; ac fe'i cyhoeddwyd hefyd yn Seisoneg dan yr enw "*The Kynges of Coleyne.*" (*Gwaith Lewis Glyn Cothi*, tudal. 363.)

[2] Arwydd.

Y GENAD — mae tri brenin mawr bob un
wrth y porth ich ymofyn
ydrychwch och doethineb
par atteb a rowch uddun

---

[C]ENAD HEROD — Arch ir porthor agori
ai gollwng hwy atti fi
i gael gwybod i meddwl
mae kythryfwl yn codi

---

Y GENAD — mae herod yn gorchymyn
agori y porth uddun
i gael gwybod nid ym
o ra[1] raen beth maen yn i ofyn

---

PORTHOR — ydolwg ywch na ddigioch
am y taring[2] a gowsoch
dowch yn hy gidaf genad
mawr ywr rhad ffordd y cerddoch

---

Y GENAD — Brenhinoedd glan ydych i
dowch o ddiyna gida mi
I weled brenin herod
ai ddevod ai reolti[3]

---

Y GENAD — wal dyma y brenhinoedd
arwydd ryfeddod ydoedd
doeden i hwn i neges
ai hanes ai eithafoedd

[1] Felly y mae yn yr ysgriflyfr. Dichon mai cychwyn ysgrifenu "raen" a wnaed, a'i ail ddechreu drachefn. Ond tebycach mai "o ba raen," ac nid "o raen," a fwriedid.

[2] "Taring" o *tario*, gair a ddefnyddir yn fynych am *aros*, yn Neheudir Cymru.

[3] Defnyddir y gair *riolti* am rwysg neu arddangosiad, yn Sir Drefaldwyn—tebyg mai llygriad ydyw o *royalty*. Golyga yr un peth a *rhialtwch*.

VN OR B. Pa van i maer mab a aned
brenin Iddeon[1] addfed
y seren fun kyfrwyddyd
gwyn i fyd a gae i weled

---

HEROD A welsoch i y tri[2] seren
y nos unaws ar heulwen
arwydd genir gras ar grym
nid gwiw [im][3] ddoydyd amgen

---

. . .[4] ai gwelson. ai ffroffwydo i buon
i vo aned yr iesu : oi anrhegu i doethion

---

Dowch yn nes fyscolheigion
beth a ddoedwch yr owron
ple i ganed mab y forwyn
ai gwiw yw dwyn arwyddion

---

[D]OCTOR y mab a ddylu i eni : meddan y methlem Judi
o ddoydyd y gwir yn ddiav : ni a ddylen i
addoli

---

[HER]OD Ewch i ymofyn y mab ku
a dowch i yma i ddysku
megis i gallwy fyned
a thyhernged[5] ai addoli

---

[UN]OR BREN. Y seren a fy /n/ gyfrwyddyd 
y sy yn gyfyrgoll hefyd
nid oes weithian yn ein mysk
na dysk na chyfarwyddyd

[1] Iuddewon.

[2] Y mae y gair *tri* o flaen y "seren" wedi ei groesi allan.

[3] Y ni sydd yn gyfrifol am yr *im*; y mae yr ysgriflyfr yn annarllenadwy yma.

[4] "Y seren."—*Add. MS.*, 14,973.

[5] Teyrnged.

[H]EROD

Vynghenad dos oi hanfon
a dysk uddun ple ir elon
yn hwy a gan yn wir mwy o sir
ymhob tir i kerddon

———

GENAD

ych siwrnai fawr fydd ryfedd
urddas gorllewin ydoedd
rwng synwyr a doethineb
ewch i wyneb y gogledd

———

BRENIN

Kywod dy wyneb yn llawen
gwir a ddywod mab mair wen ☛
ni bydd arnom ddim drygair
yn wir wal dakwr seren

———

henffych well Brenin nefoedd
a brenin y brenhinoedd
ag aur y mae . . . . gu
. . . . . . . . . . . . dd[1]

———

YR AIL: BRE: A rryddid yt dduw keli: llym[2] . . .
velly i ddydwyt eithr:[3] o aroglau a . . .[4]

———

Y TRY: BRE: yt y kyfarch a dduw nefol: am goreudduw da
wrth y kleddau hir a byr: y myr y sy naturiol

———

YR ANGEL: herod greulon sy angall: yn wir anodd i ddeall
nag ewch i ddim atto ef: ewch eort[5] i ffordd or wlad

[1] "Ag y mae d'anrhegu
Kyvoeth a gallu da oedd."
*Add. MS.*, 14,973.

[2] "Llyma d'enw yr Eglwysi."
*Add. MS.*, 14,973.

[3] "Tithau."—*Add. MS.*, 14,973.

[4] "A aroglau a goleuni."
*Add. MS.*, 14,973.

[5] "Eort" sydd ffurf arall, o bosibl, ar *eorth* = *diligent, assiduous*, &c., ac yn golygu *prysurdeb*, neu *gyflymder*, yn y fan hon.

HEROD: yr wyfi yn frenin galluog: ar gaerseion[1] ddoniog
ag ar bablon[2] yn berchen: ymhob tir pen Tywsog

HEROD: Beth a ddoydi tyrd yn nes: fymrenines goronog
maer gair nid wy vodlon: vod brenin ir Iddeon

---

Y FRENHINES: mynwch wybod yn lle wir: pa dir i mae yr . . .
Rag i vod yn keisio ych twyllo: ach di etifeddio

---

HEROD: mae gair gan fawr a bychan: i eni yn vab dyrogan
Ryvedd gan, i'r, gair ar guoedd: ple maer ben weith hon

---

Y FREN: gyrwch i rai i ymofyn, rhag na alloch gael trwy . . . .[3]
ond mwy o gost a thyrafael, i geisio gafael arnyn

---

HEROD: may fy herodur am kenad, parod ydynt yn wastad
am ymddiried am kenyd: dyred yma fy anwylyd

---

Y GEN/ mi af imaeth hai how:[4] naill ai yn fyw ai yn farw
mi af at vrenin herod chwip / am i vod yn galw[5]

[1] Jerusalem.

[2] Nid oedd hyn ond ymffrost gwâg; o blegid nid oedd a wnelo Herod o gwbl â Babylon.

[3] "Gyrwch i rai iw gofyn, rhag na alloch gael arnyn." *Add. MS.*, 14,973.

[4] "Ymaith mi a hai hwhw." *Add. MS.*, 14,973.

[5] Terfyna y dernyn sydd yn *Add MS.*, 14,973, yn y fan hon.

Y GEN/ vy arglwydd frenin mawr weirthiog: mi a ddoethvn val . . . .
gar ych bron nid ryfedd yw: yn gyflym ag yn chwanog

———

EROD: Cerdda i vethlem Judi, ag ymofyn o ddifri
i ble ir aeth y tri brenin, a ddoeth or tir gorllewin[1]

———

Y GEN / vy arglwydd frenin mi a fyno / mahawad ameu am h . . .
ag a ddo chwip ar frys, ith lys kyn gorffwyso

———

Y GEN / how hai master porthor kyvod i ſynv ag agor
i genad brenin herod: ag herod ai ben kyngor

———

GWAS Y PORTHOR nid yw y meistr yn gwrando mogel yna i ddyf . . .
hwde ddyrnod ar dy stad: a dos ith wlad i...

———

[Y GENAD] . . . rson lleidr gwaeth i strank na gwr or tir
. . . fynv yn ebrwydd, er gonestrwydd ith veister

———

[GWAS Y PORTHOR] . . a roddaist iti gynt, ddyrnod ti ag at dy gyffie
hwde etto yn dy blith ymhob rith i daw ange

———

[Y PORTHOR] e/ how how pa gas gimain/ a wnaethosti er hyd y plygain
yn ymladd val dau geiliog ynghrog i gwelwy ych deuben

[1] Doethion o'r "dwyrain" a ddywedir yn Matt., ii., 1; ac er bod yn gytunol â hyny dywed esbonwyr mai o Persia y deuent; ond yma dywedir mai o'r gorllewin.

[Y GENAD] how borthor bethlem Judi/ cenad herod ydwyfi
mawr gwilidd heb aros/ fod dy was im amherchi

---

[Y PORTHOR] how fom anreithiwyd bellach/ oni chedwi gyfrinach ☛
hwde gantpunt bydd ddiddig: o gylenig dos yn iach

---

[Y GENAD] mi af i mofyn y tri brenin, i duedd y gorllewin
am na ddoethont hwy etto/ ar frys mi af oi keisio

---

[Y PORTHOR] Oddi yma a hwynt a aethon/ ag i ffordd i daethon
dos a dowaid i herod: yn gowir galon fy mod

---

[Y GENAD] A arglwydd frenin heddychwell, mi a gefais siwrnai bell
adre i raeth y brenhinoedd, ond ydoedd fawr i dichell

---

[HERO]D: mahownd mahownd[1] or chwedle/ rwy yn ofni kolli r chware
na wnaethwn a ddylaswn: na thoraswn i gene

---

[C]EN/ Arglwydd frenin urddasol
na fyddwch ansynwyrol
na newch ddialed y polter[2]
rag cael anyscorol

[1] Y mae y llw hwn yn ddyeithr i ni.

[2] Ai *twyll* (o'r Seis. *palter*) a feddylir ?

[HE]ROD mae fanwyl am ymddiried
am keniadowr am enaid
yn y fan yn ragorol dyrd
yn wrol wrth fy raid

---

[C]ENAD/ Arglwydd frenin dyma fi
ar fy redeg wrth ych cri
yn barod a gwsaneth beth a newch ithe a mi

---

[HER]OD dos i vethelem ar redeg
a ffar roi cri ar osteg
i ddal meibion yn i swydd
hyd ddwyflwydd ne chwaneg

---

how how tewch ach tolo[1]
. . dowch yn nes i wrando
. . .[2] y pyrth a deliwch bawb o gwelwch
yn cilio

---

YR ANGEL/ Sioseb a wyt i yn gwra[ndo]
dos ar mab ar vam ar ffo
ir Egipt hyd yr amser
i galwar am'dano

---

SIOSEB Ef a erches yr angel
fynd i Egipt yn ddirgel yno i ymgadwynd . . .
yn gowir oni yn galwer

---

Y PORTH[r]/ yddwy yn cadw yma
lle ir archwyd yn gadw yn dda
mair tebig wyt i fameth
beth sy genyt ti yna

[1] *Tolo* ydyw swn.

[2] Tebyg mai "*cauwch* y pyrth" a ddylai fod.

MAIR
I rydwyfi yn kilio
wrth glywed im keisiaw
mae geni fi y mab rad
ni cheisia i wad am danaw

———

Y PORTH'/
Kerdda di ath vab genyt
amgen nis doeda wrthyt
hir yr ydwyt ti yn moglyd
pe bai yna nis doedyt ☜

———

HEROD/
vymrenhines aur i ffen
mi af o ddyma i vethlem
i ddifa meibion Juda
trigwch ynghaerselem

———

HEROD WEDI DYFOD I BETHLEM
A wnaethoch ir gorchymyn
a rois attoch i bob un
Dugwch yma gar vy mron
y meibion i rwy yn i gofyn

———

Y GENAD
llyma hwynthwy gar ych bron
y sawl sy yn sygno bron
ag o vewn oedran dwyflwydd
yn ych gwydd yr owron

———

HEROD
a oes genych ddim amcan/ pwy ydiw/r/ mab darog[an]
moeswch imi ef och mysk
ne fo a yn dervysk yr owran

———

. . oeddwn yn fy hwyl
. . laddwn fy mab anwyl
keisio y mab drogan
nid ydoedd lan fy amkan

# LXIII.

## COWYDD YN DANGOS DIODDEFAINT IESU GRIST AR ORIAU I DIODDEFODD I GYFODIAD I DDERCHAFIAD IR NEFOEDD. IOLO COCH.

---

*(O'r Add. MS., 14,984, fol. 206b).*

Ceir adysgrif arall o'r cywydd hwn ar fol. 326 o'r un ysgriflyfr; ond heb nemawr wahaniaeth. Ysgriflyfr hynod o wallus ydyw; mor wallus fel y mae yn eglur ar yr olwg gyntaf fod amryw o'r llinellau mor anghywir fel y byddai cynnyg unrhyw eglurhad arnynt yn waith ofer. Y mae rhai cywiriadau, mewn llawysgrif ddiweddarach, ar ymyl y ddalen, ond nid ydyw y rhai hyny yn fynych yn ymddangos nemawr mwy synwyrol na'r testyn ei hun.

Ond er fod y cywydd, fel y mae o'n blaen, yn wallus—rhai llinellau yn rhy hirion, ereill yn rhy fyrion, ac yn cael ei anurddo ym mhellach gan feiau cynghaneddol a thwyll-odl, ni fynasem er dim ei adael allan. Ar wahan i'r ffaith ein bod yn ymdrechu at gasgliad mor gyflawn ag a allwn o waith ein bardd, tybiwn fod yn y cywydd, er gwaethaf ei anmherffeithrwydd, ambell linell dlos, afaelgar, a barddonol. Ac er fod cryn unrhywiaeth, mewn syniadaeth yn gystal ag mewn iaith, i'w weled yn bron yr oll o gyfansoddiadau duwinyddol yr awdwr, eto fe welir fod y cywydd a ganlyn ar destyn newydd, a'i fod yn rhoddi arbenigrwydd neillduol ar ddyoddefaint Crist, ac ar y dyoddefaint hwnw fel aberth iawnol. Yn y mwyafrif o'r cywyddau ereill, y mae Mair yn cael llawn cymmaint o sylw a Christ; ond Crist yn unig sydd yn dyfod i'r golwg yn hwn. Fel y gwelir, nid ydyw y llinell gyntaf yr hyn a ystyrid yn chwaethus yn yr oes bresennol:—"Iesu hwde ddefosiwn;" ac nid ydym yn cofio llinell gan yr un awdwr arall yn dwyn unrhyw debygolrwydd iddi.

1 Iesu hwde ddefosiwn
ar mwd oras ar wn[1]
2 Dy nawdd duw a dyn wyd[2]
wrth oriau yth ferthyrwyd
3 Oriau saith yn wir y sydd
o rander yn yr vndydd[3]
4 Awr blygain vn or rheini ith wlad
ath a alw duw ith wlad di Tuw ith ddaliwyd
5 Yn war[4] brenin y daethost gar bron awr brenin
ffalysty a ffals dystion[5] ffals iustus a ffeils dystion
6 *A chwel gyrr* ith wagil gynt am goet gur
ath ddwylo yn rhwymith helynt
7 Cyd air drengiad ar dro
ath wyneb perffaith yno
8 Dygost[6] y groes ros ar oessoedd
drud[7] oedd dwyn awr drydedd[8] oedd

[1] Y mae y llinell yn fyr o sill; ac yn rhy wallus i wneyd dim o honi.

[2] Ceir yma gydnabyddiaeth o Dduwdod a Dyndod Crist.

[3] Y mae y bardd yn cyfeirio yn y cywydd hwn at saith o ddygwyddiadau pwysig yng nglyn â chroeshoeliad Crist, ac yn eu dosbarthu o ran amser i saith o oriau, yn y drefn a ganlyn :—

1. Yr awr ei daliwyd (llin. 7).
2. Yr awr ei traddodwyd (llin. 9).
3. Yr awr y cymmerodd ei groes (llin. 15).
4. Yr awr ei croeshoeliwyd (llin. 21).
5. Yr awr y bu farw (llin. 26).
6. Yr awr ei tynwyd oddi ar y groes (llin. 33).
7. Yr awr ei claddwyd (llin. 35).

[4] Diammeu mai "awr" a ddylai fod yma.

[5] Rhydd y geiriau ymyl-ddalenol ryw syniad i ni o'r hyn a ddylai y geiriau fod. Ond y mae y pedair llinell ddilynol yn hollol dywyll.

[6] Dygaist?

[7] "Drud" = (*courageous*).

[8] Dywed Iolo mai ar y drydedd awr (naw o'r gloch yn y boreu) y cymmerodd Crist ei groes gan fyned i gyfeiriad y "lle poenedig." Ond ym Marc xv., 25, dywedir :—"A'r drydedd awr oedd hi, a hwy a'i croeshoeliasant ef," ac yn adnod 33, dywed i dywyllwch fod ar yr holl ddaear o'r chweched hyd y nawfed awr; a chadarnheir ef gyda golwg ar y tywyllwch ym Matt. xxvii., 45, a Luc. xxiii., 44. Ond eto, yn Ioan xix., 14-15, gwelir fod Crist *heb* ei groeshoelio ar y chweched awr. A cheisir esbonio hyn gan rai trwy dybied fod Ioan, yr hwn oedd yn ysgrifenu yn benaf er budd yr Eglwysi yn Asia Leiaf, yn dilyn y dull Rhufeinig o gyfrif amser, sef gan ddechreu o hanner nos. Y mae

9 Myned ir lle poenedig
yn noeth[1] duw ddoeth yn ddiddig
10 Iddewon oll oedd yn vn
ith werthu bydd waeth wrthyn
11 Awr chweched groged Grist
draw yn uthur rhwng lladron athrist
12 Dy syched oedd galedi
duw yn oeri dros yn pechodau ni
13 Gwedi hynnû ir hentir[2]
awr naw buost farw yn wir
14 Dy nad fy' yn dyfyro — Dy enaid fry rhoist yn dy fro
duw a dyn ith dad yno
15 Marchog[3] oedd yn amherchi
*dysty ly* duw dy ystlys di — dewis dlws
16 Dir fu grynu does *goron haûl* — gronaul
dayar hen a duo'r haul
17 Awr osber ith gymerwyd
or groes i lawr grasol wyd
18 Ac awr gymwin i orwedd
ir dethost[4] buost mewn bedd
19 Ar hun[5] pob awr or rheini
gweddiwn bendigwndi[6]
20 Cyfodaist ag a edwyn[7]
y trydydd dydd duw a dyn
21 Ir nef ir aethost yn vfydd
gwnfyd fory deigeinfed bydd[8]

hyn mor dywyll i ni a'r llall, o blegid yn ol yr esboniad hwn, chwech o'r gloch yn y boreu oedd y chweched awr, ac nid naw o'r gloch.

[1] Yr oeddys yn arferol o ddiosg ymaith ddillad y condemniedig cyn ei groeshoelio (*Penny Cyclop.*, vol. viii., p. 177), yr hyn a wnaethant gyda Christ, gan y dywedir iddynt, ar ol ei groeshoelio, eu rhanu yn eu plith eu hunain.

[2] Y mae hon, yn gystal a llin. 27, yn rhy wallus i roddi unrhyw synwyr.

[3] Y milwr a drywanodd ystlys Crist.

[4] Daethost?

[5] Y mae yn amlwg fod "ar hun" yn gyssylltedig â'r llinell flaenorol.

[6] Bendigwn di.

[7] Y meddwl yma, fe allai, ydyw iddo gyfodi a chael ei adnabod.

[8] Hwyrach y goddefir i ni awgrymu y darlleniad a ganlyn :—
"Gwynfyd fore'r deugeinfed dydd."

22 Dydd y farn i daw ar varnom
i farnu a rhannu rhom[1]
23 Rhannau drwg ir rhai enwir[2]
rhoi dy nawdd ir rhai da yn wir
24 Pob a wr[3] gwerth pyther a ga
o ddrwg awr ith weddia
25 Yn ryuan yn awr angau
ag awr yr hawg yn trigamwg[4] frau
26 Diengaist gwedi dy angau
duw yn wych wyt yn iachau
27 Arglwydd Iesu Grist eirglyw[5]
un mab wyt a byw[6]
28 Dafn oriau dy foroedd
duw dy fyw gwedi dy fedd[7]
29 Dy oriau saith ar dir siom
dyro ofyn hyn drosom
30 A dod fi eilenwr dy lû
oes oesoedd i lûs[8] Iesu

Iolo Goch

[1] "Rhom" = rh'om = rhyngom.

[2] Anwir.

[3] Ai "da wr" a ddylasai fod yma?—ai ynte "awr"? Tybiwn mai y blaenaf.

[4] Y mae yma ryw wall: o bosibl nad cyfeiriad ydyw at oes fer dyn ar y ddaear.

[5] Erglyw.

[6] Y mae y llinell yn rhy fyr o ddau sill.

[7] Y mae yma dwyllodl amlwg. Buasai yr odl yn gywir wrth roddi *fawredd* yn lle "foroedd"; ond y mae y "Dafn" yn nechreu llin. 55 yn gofyn am "foroedd."

[8] Lys.

# LXIV.

## LLYMA GOWYDD I ST. ANNA AI MAB CRIST AI POBL.

---

*(O'r Add. MS., 14,964, fol. 48b).*

Ceir y cywydd hwn yn *Add. MS.*, 14,936; ac y mae yn argraffedig hefyd yn *The Works of Iolo Goch* (gan R. Jones), tudal. 28.

Nid oes dim o hanes St. Anna, na chyfeiriad ati, yn yr Ysgrythyrau. Y mae yn amlwg nad oedd unrhyw gyssylltiad rhyngddi â'r unig un o'r enw y ceir crybwylliad am dani yn y Beibl—"Anna brophwydes, merch Phanuel, o lwyth Aser" (Luc. ii. 36); o blegid y tebygolrwydd ydyw fod St. Anna o deulu Aaron. Ac yn ychwanegol at hyny, er fod Luc yn rhoddi manylion parthed i fywyd priodasol a gweddwdod "Anna brophwydes," ni rydd yr awgrym lleiaf fod rhyngddi unrhyw berthynas â Christ yn ol y cnawd. Ond er nad oes gyfeiriad at St. Anna yn yr Ysgrythyrau, rhydd y Pabyddion le amlwg iddi yn eu gwasanaeth, am mai hi, meddant hwy, oedd mam y Forwyn Fair. Cynhelir ei gwyl ar y 26ain o Orphenaf; ac yn *Allwydd neu Agoriad Paradwys*, tudal. 364, ceir y weddi ganlynol:—

"Ar Ddy'gwyl S. Ann *Mam Mair forwyn* fendigedic. Gorp. 26.

"O Dduw, yr hwn a deilyngaist roddi'r gras i'r fendigedic S. *Ann* o haeddu bod yn fam i Fam dy Vnicanedic Fab: caniada i ni gael ger dy fron di ein cymmhorthwyo a'i hamddiffyn hi, Vchelwyl yr hon yr ydym yn ei chynnal. Trwy'r vn Jesu Christ, &c."

Ond nid ydym yn cael y weddi hon ym mhlith yr amrywiol weddïau mewn perthynas â St. Anna yn yr argraffiadau diweddaraf o'r *Missal*. Wrth ddarllen y rhan gyntaf o'r cywydd, tueddir ni i feddwl fod Iolo Goch bron

ar y ffordd i gredu yng "Nghenhedliad dihalog Mair y Forwyn," yr hyn, fodd bynag, ni ddaeth i gael ei orchymmyn fel erthygl athrawiaethol ym mhlith y Pabyddion hyd y flwyddyn 1854, trwy awdurdod y Pab Pius IX. Ar y cyfan, ac yn enwedig y rhan olaf o hono, gellir ystyried y cywydd canlynol, o ran drychfeddyliau barddonol, gystal a'r un a gyfansoddwyd gan Iolo Goch. I'n tyb ni, y mae y pedair llinell a ganlyn yn lled darawiadol, os nad yn wir farddonol:—

"Baich ar ei braich oedd ei Brawd,
Ai baich a'n dug o bechawd;
Ei Thad oedd yn y gadair,
A'i Mab oedd yn hŷn na Mair."

Saint y Kaint a Sant Kitus[1]
Sioasim hendad . . .[2]
Pendefig bonhiddig hael
o nasreth ag yn Israel
Yn dair rhan ef ag Anna
rhinwedd ddoeth i rannai dda
Rhoi anyfion ran or gyfoeth[3]
i dŷ dduw pan ydoedd ddoeth[4]
Ar ail rhan[5] ar ol i raid
ar unwaith a roe wainaid[6]

[1] "Saint y Cait a Saint Cytus." *R. J.*

Tybia *R. J.* fod "Cait" yn golygu St. Catherine, ac mai St. Christopher oedd "Saint Cytus"; ac yr ydym yn credu ei fod yn gywir, o leiaf gyda golwg ar yr olaf. Dichon mai St. Christina sydd i feddwl wrth "Saint y Kaint" (neu Cait); pa fodd bynag, cynhelir dy' gwyl Christina ar y 24 o Orphenaf, dy'gwyl Cristopher ar y 25, a dy' gwyl Anna ar y 26; ac hwyrach mai am y rheswm fod eu gwyliau yn cael eu cynnal ar ddyddiau olynol yr oedd Iolo yn eu cysylltu.

[2] "Siosim hendad Siesus." *R. J.*

Sioasim, yr un a Iohaysym (Cywydd Rhif LXVI., llin. 3), gŵr Anna, a thad Mair.

[3] "Rhoi yn hyf rhan o'i gyfoeth." *R. J.*

Y mae yn eglur fod ein testyn yn wallus yma.

[4] "Pand ydoedd ddoeth?"—*R. J.*

[5] "Ran."—*R. J.*

[6] "Roe i weiniaid."—*R. J.*

Ef allai[1] yn hawdd felly
o draen y da drin ei dẏ[2]
Nid oedd etifedd ne ddyn[3]
oi gorph yn aberth dduw[4] gwyn
Ar gwr oedd gorau or iaith
or Demel a yrrwyd ymaith[5]
A ddysg[6] ei ddynion ai dda
Wrth hyn oddiwrth Anna
Cyrxawdd ni ffaelawdd or ffydd[7]
ir man uxaf or mynydd

[1] "Efallai."—*R. J.*

[2] "O drain y da drin ei dẏ."
*R. J.*

Ceisia *R. J.* esbonio y llinell hon yn y dull a ganlyn :—"*O drain y da.* O draen y da.—*MS.* Da ar draen, 'goods or wealth in circulation.' So *aur ar draen* means 'gold spread abroad,' or 'circulated.'" Hoffem wybod ym mha le y cafodd *R. J.* sail i'w eglurhad, o blegid ni welwyd yr un mor ddiamcan erioed. Nid ydyw "draen," neu "drain," ond dull gwlad am *draian* = y drydedd ran. Yr oedd y bardd wedi sylwi fod Sioasim yn cyfranu y rhan gyntaf o'i dda at achos crefydd ; yr ail ran mewn elusenau i'r gweiniaid, neu'r tlodion ; ac yn y llinell hon dywed ei fod yn defnyddio y drydedd ran at ei anghenion ei hun a'i deulu. Y mae "traen" yn enw ar leoedd yn y Deheubarth. Er enghraifft, sylwer ar dair maenor y Goron yn St. Clears, Sir Gaerfyrddin — Traen March, Traen Morgan, a Traen Clinton. Y mae tref ddegwm o'r enw Traen hefyd yn Llantrissant, Sir Forganwg. Ieithwedd y Deheubarth ydyw hon ; a cheir enghraifft arall gyffelyb yn "dâr"—("daer" yn Llyvr Llan Dav)—am "daear" yng Ngogledd Cymru. Gwelir oddi wrth hyn fod perygl tynu casgliad yn rhy fuan—fel y gwna Iolo Morganwg yn fynych—mai rhyw fardd o'r Deheubarth yw yr awdwr, yn unig am y ceir yn y cyfansoddiad ryw air fel hwn.

[3] "Neddyn."—*R. J.*

[4] "Duw."—*R. J.*

[5] Yr oedd bod yn ammhlantadwy yn cael ei ystyried yn waradwydd ym mhlith yr Iuddewon. A gallem feddwl fod a wnelo hyn rywbeth ag ymadawiad Sioasim—yr hwn, mae'n debyg, oedd yn dal rhyw swydd yn y deml, ac yn cael ei ystyried yn un o'r goreuon o'r iaith (neu'r genedl).

[6] "A ddyg ei Ddynion ai dda.
*Add. MS.*, 14,936.

"A ddug" yn ol *R. J.* ; a hyny sydd gywir. Yma y mae Sioasim yn ymadael ag Anna, ac yn cymmeryd ei eiddo gydag ef, ac yn myned i ben rhyw fynydd i weddio.

[7] "Cyrchawdd ni ffaelawdd or ffyd
ir man ẏchaf or mynyd."
*Add. MS.*, 14,936.

Crio a wnaeth carai nawdd
ar y creawdwr y criawdd
Gweddiodd am rodd o ras
yn y gof[1] hyny a gafas
Duw a ddanfones i Dad[2]
deg iawn hyd attaw[3] gennad
A dos di Dwysog dy iaith[4]
at Anna etto unwaith
Hi a fydd blaenwydd dyblaid[5]
ith aros yn y porth auraid[6]
Adref daeth i dref i Dad
dryx ef mwy fu r dryxafiad[7]
By ddawnes bowyd Anna[8]
Baithoges i ddywies dda[9]
I Anna merx a aned
a hono iw Mair Crair Cred[10]
By Fair or gair yn ddigêl[11]
yn feixiog o Nef uxel

[1] Ni wyddom am unrhyw enghraifft arall lle y defnyddir "cof" yn gyfystyr i *feddwl*, neu *galon*; ond y mae yn ddigon amlwg mai yn yr ystyr hwnw y defnyddir y gair yma. Fel y sylwa *R. J.*, y mae yn dra thebyg mai chwedl o wneuthuriad y mynachod ydyw yr un y cyfeirir ati yma.

[2] "Duw a ddanfones i'w dad." *R. J.*

[3] "Atto."—*R. J.*

[4] "Dos di, Dywysog dy iaith." *R. J.*

[5] "Blaenwydd dy blaid."—*R. J.* Blaenwydd = y ganghen ffrwythlonaf o'r coed.

[6] "Euraid."—*R. J.*

[7] "Drych ef—mwy fu'r drychafiad."—*R. J.*

[8] "Bu ddawnus bywyd Anna." *R. J.* Fe welir fod *y* yn lle *u* yn fynych yn yr ysgriflyfr o'n blaen.

[9] "Beichioges y dduwies dda." *R. J.* Gwelir fod Iolo yn galw Anna, fel y geilw Mair mewn lle arall, yn dduwies. Y mae *R. J.* yn camgymmeryd yn ei sylw ar y llinell hon trwy gyssylltu "dduwies" â Mair; ond y mae yn ddigon amlwg mai beichiogiad Anna sydd dan ystyriaeth.

[10] "Crair Cred."—Y mae Iolo yn lled hoff o'r ymadrodd hwn; ac yma dynoda Mair fel gwrthddrych parch neu addoliad.

[11] "Bu Mair o'r Gair yn ddi gel." *R. J.*

Mal yr haul y molir honn[1]
drwy wydr ir ffynnon[2]
Yn 'r un modd iawn rhydd[3] anrheg
i daeth Duw at famaeth[4] deg,
Gorau mam gorau mammaeth
Gorau i nef y gwr a wnaeth[5]
Cyflawn oedd Cyflawn addwyn
tref i dduw tra fy i'w ddwyn[6]
Angylion gwynion iw'r gwyr[7]
oedd i wen[8] ymddiddanwyr
Wrth raid mawr fy 'r Ethrodion[9]
i ganed dduw o gnawd hon[10]
Hon a fagawdd oi Bronnau
hynaws mawl oi hanes mau[11]
Baix ar ei braix oedd ei Brawd[12]
ai baix a'n dŷg[13] o bexawd

[1] "Hon."—*R. J.*

[2] Y mae y llinell hon yn anghyflawn, ac nid ydyw darlleniad *R. J.* ond yn gyffelyb :—

"\. . . . . drwy wydr i'r ffynnon."

Sylwa y Proffeswr Cowell (*Y Cymmrodor*, vol. viii., p. 229) ar llin. 37-40 o'r cywydd hwn drwy gyfeirio at y llinellau canlynol o waith Peire de Corbiac, bardd Provenciaidd a flodeuai yn y drydedd ganrif ar ddeg :—

"Receup en vos carn humana
Jhesu Crist nostre salvaire,
Si com ses trencamen faire
Intral bels rais quan solelha
Per la fenestra veirina."

Yr hyn a gyfieitha i'r Seisoneg yn y wedd a ganlyn :—"In you Jesus Christ our Saviour received human flesh, just as the bright ray, when the sun shines, enters through the glass window without making any fissure.'

Awgryma hefyd mai "Yr ă" (= *goes*), neu rywbeth tebyg, sydd yng ngholl yn y llinell.

[3] "Iawn-rodd."—*R. J.*

[4] "Fammaeth."—*R. J.*

[5] "Y Gwr wnaeth."—*R. J.*

[6] "Tref i Dduw, tra fu i'w ddwyn."—*R. J.*

"Tref" = cartref.

[7] "Yw'r gwŷr."—*R. J.*

[8] Gelwir Mair yn fynych mewn llyfrau Pabyddol yn "Fair Wen" = *Holy Mary.*

[9] "Er athrodion."—*R. J.* Cyfeiriad at yr athrodion a ledaenid yn amser ei beichiogiad.

[10] "Y ganed Duw o gnawd hon." *R. J.*

[11] "Hynaws mawl yr hanes mau." *R. J.*

[12] "Baich ar oi braich ei Brawd." *R. J.*

[13] "Dwg."—*R. J.*

I[1] thâd oedd yn y gadair[2]
ai mab oedd yn hŷn na Mair
Mair a wnel rhag yn gelyn[3]
ymbil a Duw am blaid yn[4]
Ar yn[5] Duw ef a wrendy
neges y Frenhines fry
O xawn ni'n rhan drwy Anna
mwy fydd yn daenydd[6] a'n da

1 "Ei."—*R. J.*

2 "Cadair" = *cradle*. Gelwir hi yn rhai manau yn "cryd," "cawell," "cawell baban," a "cadair fagu."

3 "Rhag y gelyn."—*R. J.*

4 "Blaid dyn."—*R. J.*

5 "Ein."—*R. J.*

Ar ein Duw (sef Crist) Ef (sef y Tad) a wrendy.

6 "Ein deunydd."—*R. J.*

# LXV.

## AWDL I FAIR

---

*(O Lyvr Huw Lleyn—Add. MS., 14,967, fol. 62).*

Y mae yr awdl hon i'w chael hefyd yn *Add. MS.*, 14,900; 14,970; a 14,971; yn *Jesus MS., E.* 139, p. 62; a *Glanyr-afon MS. K.*; ac y mae yn argraffedig hefyd yn *The Works of Iolo Goch* (gan R. Jones), p. 41. Yn rhai o'r ysgriflyfrau uchod, megys *Add. MS.*, 14,900, *Jes. MS.*, a *Glanyrafon MS.*, ceir deuddeg o linellau ar ddechreu y cyfansoddiad, y rhai a adewir allan yn y llyfrau ereill. Gosodwn y gwahanol ddarlleniadau o honynt yma yn gyfochrog:—

| *Add. MS.*, 14,900. | *Jesus MS. E.* 139. | *Glanyrafon MS. K.* |
|---|---|---|
| Doeth ith etholes Iessu<br>Em addwyn yn fam ido<br>Dofydd i ddyfod a fi<br>rrag diel o ffol Eva<br>Gwerth Efal gwardd<br>heb . . . a gofal<br>i da ai drwg heb drwm atal<br>. . . . da heb dal<br>Teg fur tal o wir y Drindod<br>O dreudul y gadair<br>Penn ddoeth krist nef araf grair<br>ond duw bab vn mab mair | Doeth i etholes Iesu<br>Em addwyn yn fam iddo<br>dofudd a ddyfod avi<br>rag dial afal Efa<br>ni chymerth Efa ir afal gwardd<br>heb gyffwrdd a gofal<br>Nid ddaw drwg hi heb drwm ddial<br>Mwy nog i ra r da heb dal<br>teg fyr tal eiriol o air i drindod<br>o drendal y gadair<br>pen ddoeth krist naf araf gair<br>o Oen duw pab yn fab i fair | Doeth ith etholes Iesu<br>Eni addwun yn fam iddo<br>dofudd addufod afi<br>rrag dial afal Efa<br>ni gwerth efa yr afal<br>gwardd heb gyffwrdd a gofal<br>nida am ddrwg heb drwm ddial<br>mwy nag i rardd heb dal<br>teg fur tal o wrth y drindawd<br>o dreudal y gadair<br>pon ddoeth krist nef araf grair<br>Ond duw bab un mab mair |

Nis gwyddom a oedd y llinellau uchod yn rhan o'r cyfan-soddiad gwreiddiol ai peidio; ond nid ydynt yn *Llyvr Huw Lleyn*—sef yr ysgriflyfr hynaf a welwyd genym ag sydd

yn cynnwys y cyfansoddiad hwn. Ac nid ydym yn ei ystyried yn nemawr o golled eu bod wedi eu gadael allan; o blegid nid ydynt yn cynnwys y peth nesaf i ddim o synwyr, cynghanedd, nac odl. Am yr awdl ganlynol, ceir ynddi rai llinellau da; ac y mae wedi ei chyfansoddi ar y mesur a elwir *Gwawdodyn Hir*; ond yn cadw at y naw-silliau, ac heb yr un *Toddaid* ynddi. Y mae yn llawn o Fair-addoliaeth; ac fel y cyfryw yn adlewyrchu syniadau Pabyddol yr oes hono. Yn hyny, o bosibl, y mae hyny o werth sydd yn perthyn iddi yn gynnwysedig. Er fod ynddi amryw syniadau, ac hyd yn nod ymadroddion, yn cyfateb yn hollol i'r hyn a geir mewn gwasanaethlyfrau Pabyddol; y mae ynddi hefyd linellau lled anhawdd eu deall. Ond ar y cyfan, y mae, er gwaethaf trwstaneiddwch copïwyr, mor hawdd ei deall a'r mwyafrif o gyfansoddiadau Iolo Goch.

Mair edrych arnaf[1] amerodres[2]
Morwyn benaf[3] wyd mair unbenes
Mair diornair[4] mair deyrnes
4 Mair oleudrem hael lywodres[5]
Missiri mei[6] moes eryres
Prydlyfr gweryddon[7] wyt ai priodles
A ffenestr wydrin Nef ai ffeunes[8]

[1] "Arna."—*Glan. MS.*

[2] "Ymerodres"—yn y llyfrau ereill.

[3] "Bena."—*Glan. MS.*

[4] "Diornair"=diargyhoedd?

[5] Gwahaniaetha y darlleniad, ond nid er gwell, fel y tybiwn, yn *Glan. MS.*:—
"Mair oleudref haul mawr lyfodres."

[6] Yn y llyfrau ereill darllenir "Miserere mei"—geiriau Lladin a geir yn gyffredin mewn gwasanaethlyfrau Pabyddol, yn golygu *Trugarha wrthyf.* Gwall y copïwr ydyw ysgrifenu "Missiri."

[7] Sylwa *R. J.*:—"*Pryd-lyfr*, 'a book for meditation,' 'a mirror for virgins, for example or pattern.'"

[8] Y menywaidd am "paun"—enw o anrhydedd gan y beirdd Cymreig; ac ymddengys i ni yn debycach i fod yn gywir na "phennes," yn ol *Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.* Yn dilyn y llinell hon yn *Glan. MS.* ceir:—
"Lleuad yngylion wyd ai llewes;" ac yr un modd yn *Jes. MS.*, gyda "engylion" yn lle "yngylion."

A mam i Dduw yny moddiwes[1]
A merch ith un brawd briffawd broffes[2]
A chwaer ith unmab[3] wyd a chares
Y sagos[4] o beth dywysoges
Y deiryd dy fab yt nid erres[5]
Ysta da dorllwyth vu ystad iarlles[6]
Venaid ywr angel anvones[7]
Yr ysbryd attad[8] genad gynes[9]
Y vo a chwegair ath veichioges[10]
Duw o vewn aeth yn dy vynwes
Mal yr a drwyr gwydr terydr tes[11]
Megis bagad o rad rrodres[12]

[1] "Yn ymoddiwes"—*Add. MS.*, 14,970; "em o ddiwinies"—*Jes. MS.*; "em oddiwes"—*Glan. MS.*; "yn ymorddiwes"—*R. J.* A thebyg mai yr olaf sydd gywir—"ymorddiwes" = *to advance one's self up.*

[2] "A nerth i'th unbrawd briffawd broffes."—*Add. MS.*, 14,970.
"Yn serch ith un brawd briffawd broffes."—*Jes. MS.*
"On serch ith un brawd brifawd broffes."—*Glan. MS.*
"A nerth un-brawd, briffawd broffes."—*R. J.*

[3] "Unbrawd" yn *Glan. MS.*, ond yn wallus, yn ddiau.

[4] "Ys agos" yn y llyfrau ereill.

[5] "Y deiryd dy fab yt nid eres"—yn y llyfrau ereill.

[6] Nid oes angen am yr ail air yn y llinell hon; y mae "ysta" yn gyfansawdd o *ys* a *da*; ac felly darlleniad *R. J.* sydd gywir:—
"Ysta dorllwyth fu ystad iarlles."

[7] "F'enaid yw'r angel a anfones."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

[8] "Atad."—*Glan. MS.*

[9] "Gennad gynnes"—*Add. MS.*, 14,970, *Jes. MS.*, ac *R. J.*

[10] "Efo a chwegair a'th feichioges."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*
Tybia *R. J.* mai geiriau cyfarchiadol yr angel oedd y rhai hyn. Ond yr ydym yn methu a'u cael yn *chwech*. Yn y Testament Lladin y maent fyraf, ond y maent yn ddeg yno:—"*Ave, gratia dilecta: Dominus tecum est: benedicta tu inter mulieres.*" Y mae y cyfarchiad yn feithach fyth yn y Testament Groeg:—εἶπε· χαῖρε, κεχαριτωμένη· ὁ Κύριος μετὰ σοῦ· εὐλογημένη σὺ ἐν γυναιξίν. (Luc. i., 28.)

[11] "Mal yr a drwy'r gwydr y terydr tes."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*
Am ymadrodd cyffelyb gwel Cywydd Rhif LXIV., llin. 39-40.

[12] "Megis bagad o rad rhodres."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*
Hyny yw, llawer o roddion ardderchog.

Tair kneuen gwisgi tri y troes[1]
Yn Dad trwy gariad y ragores[2]
Yn vab rrwydd arab araf kynes[3]
Yn ysbryd glendyd glan y moddiwes[4]
Gwedi geni i mab gwn y digones[5]
Di areb rrwydded y diores[6]
Heb poen yn esgor por perffeithles[7]
Heb vriw oi arwain nef briores[8]
Heb dim godineb i neb nes[9]
Ne ogan o wr nid oedd neges[10]
Ef agorut nef vaer dref vowrdres[11]
Ef a oruc uffern nef gair kyffes
Seren gron gyson amddangoses
I'r tri brenin gwyn hyn fu r hanes[12]

[1] "Tair cneuen wisgi tri y troes." *Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

[2] "Yn dad rhyw gariad i rhagores."—*Jes. MS.*

[3] "Yn fab gwyn arab araf kynnes."—*Jes. MS.*

[4] "Yn ysbryd gleinyd glân ymddiwes." *Add. MS.*, 14,970.
"Yn ysbrud glendud glandeg armes."—*Jes. MS*

[5] "Gwedi geni i mab gwynn i digones." *Add. MS.*, 14,970.

[6] "Diareb rhwydd a dieres." *Add. MS.*, 14,970, ac *R.J.*
"Dihareb rwydddeb y dihores." *Jes. MS.*
"Dihareb rrwydd des i di heres."—*Glan. MS.*

[7] "Heb poen yn ysgor por perffeithlee."—*Jes. MS.*
"Heb poen yn yscor por perffeithles."—*Glan. MS.*
"Heb groen yn esgor Por perffeithles."—*R. J.*

[8] "Na briw ny arwain ne briores."—*Jes. MS.*
"Na briw yni arwain ne briores."—*Glan. MS.*
Yn ol Iolo yn y llinellau hyn, ni ddaeth i ran Mair y poenau cysylltedig â rhoddi genedigaeth.

[9] "Heb dim godineb i neb o nes." *Add. MS.*, 14,970.
"Na dim godineb a neb ynes." *Jes. MS.*
"Na dim godineb nes yn nes." *Glan. MS.*

[10] "Neu ogan owr nid oes neges." *Add. MS.*, 14,970
"Ne ogan o wr neu neges." *Jes. MS.*
"No ogan orior ne ai anoges neges." *Glan. MS.*
"Neu ogan awr nid oes neges." *R. J.*

[11] "Ef a orug nef faerdref feurdres."—*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.* Hyny yw, "Ef a wnaeth y nef, cartref eangfaith."

[12] "I'r tri brenin gwynn hynn fu'r hanes."—*Add. MS.*, 14,970.

I ddwyn rrudd[1] gyflwyn yt rac avles
Aur athus a myr ni syr[2] santes
Sioseb or preseb gwir fur profes[3]
[4]Kof ydiw kenyf ai kodes[5]
Ieuan[6] Vedyddiwr gwr an gwares
Tad bedydd dibech trech y troes[7]
Yn wfr aur ddonen yno y nofies[8]
Kref y megaist ef megis dwywes[9]

Cyfeirir yma at ymddangosiad y Seren i'r doethion, sef y "tri brenin o Gwlen" (Gwel tudal. 534).

[1] "Rhwydd"—*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*; "rhyw"—*Jes. MS.*; "rruw"—*Glan. MS.* Nid oes synwyr yn "rhudd;" naill ai "rhwydd" neu "rhyw" sydd gywir.

[2] "Ni syr"=ni sora, ni ddigia.

[3] "Proffes"—*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*; "brofes"—*Jes. MS.*; "profes"—*Glan. MS.*

[4] O flaen y llinell hon darllenir:—
"Di eddugus fu gyfarchles."
*Jes. MS.*
"Diddges oedd afu gyfarches."
*Glan. MS.*

[5] "Cof ydyw cennyf ai cyfodes."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*
"Kof ydiw yn kynta i kyfodes."
*Jes. MS.*
"Kof ydiw yny kyntaf ai kyfodes."—*Glan. MS.*

[6] "Ifan"—*Jes. MS.*; "Evan"—*Glan. MS.* (Gwel uchod, tudal. 356).

[7] "Ai troches"—*Jes. MS.*; "i troches"—*Glan. MS.* Y mae yn amlwg fod y testyn, yn gystal ag *Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*, yn anghywir wrth roddi "tröes." Yn dilyn llin. 39 yn *Jes. MS.* a *Glan. MS.* ceir:—
"Trwy ffydd a bedydd ni ddarbodes."

[8] "Yn nwfr Eurdonnen yno y nofies.'
*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*
"I nwr Urddonen yno noddies."—*Jes. MS.*
"Yn wr Urddonen yno i noddes."—*Glan. MS.*

Sylwa *Robert Jones* ar y llinell hon fel y canlyn:—

"*Eurdonnen.* The conversion into this beautiful word of the name Jordan is a happy effort of the bard. He makes it 'the golden rippled.'"

Ond rhaid amddifadu Iolo Goch o'r anrhydedd o fod y cyntaf i ddefnyddio y ffurf hon ar yr euw. Tybiwn nad oedd mewn un modd yn anghyffredin. Cawn y gair yng ngwaith Einiawn ab Gwalchmai, yr hwn a flodeuai yn y ddeuddegfed ganrif (*Myv. Arch.*, p. 231):—

"Boed ef y talwyf hael rwyf rieu
Ar lann eurdonen yr y donyeu."

[9] "Cref y megaist ef megis Dwyfes."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*
"Da megais di ef megis diwies."—*Jes. MS.*
'Da megaist efe megis duwies."
*Glan. MS.*

Ar dy vron hygn vru[1] vrenhines
Oddyno y buost yn ddewines[2]
Ti a ffoest ac ef tu 'a ffeles[3]
Ir Aiffd[4] rrac angraifft a rrac yngres[5]
rryvedd vur gallu vawr[6] gyveilles
Ymddwyn yn vorrwyn vair varglwyddes
Morwyn kyn ymddwyn vwyn vynaches
Morwyn yn ymddwyn gorllwyn geirlles
Morwynaidd eto a meiriones[7]
Byw ydwyd ynef val abades[8]
Yn dy gorffolaeth hoyw gorff haules[9]
Gidar gwr brawdwr ath briodes[10]
A theilwng a iawn ithetholes[11]
Iddo iw lywio yn gywelaes[12]

Iolo Goch ai kant.

1 "Fry" yn y llyfrau ereill

2 "Oddiyno y buost y ddewines." *Add. MS.*, 14,970.
"Ag yno buost di ddewines." *Jes. MS.*

3 "I ffoest ag ef hyd yn aiffes." *Jes. MS.*
Yn dilyn llinell 44 ceir a ganlyn yn y *Glan. MS.* :—
"Wirfawr tramawr wyrf fair gynes."

4 "Aipht"—*Add. MS.*, 14,970.

5 "Drwy aifft rhag ni graff a rhag angres."—*Jes. MS.*

6 "Rhyfedd fur gallu o fair gyfeilles."—*Glan. MS.*

7 "Mirionis."—*Jes. MS.* Y mae i'r gair "meiriones" ddau ystyr: (1) *arolygyddes*, ar leiandy er enghraifft; ac yn (2) *anllades*, neu butain; yn gyffelyb fel y defnyddir y gair "meistres" mewn dau ystyr.

8 "Byw ydwyd yn nef fal abades." — *Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*
"A byw idiw yni nef a abades." *Jes. MS.*

9 "Yn dy gorpholaeth hoyw-gorph haules." *Add. MS.*, 14,970.
"Yn dy gorffolaeth gorff hoyw-les."—*Jes. MS.*
"Yn dy gyrffoledd gorff hoyw-les."—*Glan. MS.*

10 "Gyda'r gwr brawdwr a'th briodes." *Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*
"Gydar gwr, browdwr ath briodes."—*Jes. MS.*
"Gidar gwr browdwr ath briodes."—*Glan. MS.*

11 "A theilwng ag iawn ith etholes." *Add. MS.*, 14,970.
"A theilwng o beth i the-tholes." *Jes. MS.*, a *Glan. MS.*

12 "Gywaläes"—*Add. MS.*, 14,970; "Gywelyes"—*R. J.*
"Cywelyes"=*consort.*

# LXVI.

## ACHAU MAIR.

*(O Lyvr Huw Lleyn—Add. MS., 14,967, fol. 82).*

Ceir y cywydd hwn yn *Add. MS.*, 14,984, fol. 207b, dan y penawd:—"Cowydd yn dangos modd i doeth Iesu Grist o hil Adda ai fod yn frawd i bob Cristion—y modd i dioddefodd i ddwyn pawb i baradwys;" a gwelir y cywydd drachefn ym mhellach ym mlaen (fol. 327), yn yr un ysgrif-lyfr. Ond yn yr *Add. MS.*, 14,970, yn gystal ag yn argraff-edig yn *The Works of Iolo Goch* (gan Robert Jones), p. 31, ceir ef dan y penawd—"Cywydd Achau Crist."

Nid ydym yn gwybod o ba ffynnonell y cafodd Iolo Goch yr achau hyn, o blegid nid ydynt yn cytuno yn hollol â'r rhai a geir ym Matt. i., nac yn Luc iii. Ond y maent yn cytuno â Luc, gydag un eithriad, ar ol cyrhaedd llinell 10. Pa fodd bynag, y mae yr enwau a geir ar ddechreu y cywydd yn ddyeithr i ni. Er y dywedir yn Luc iii., 23, mai mab i Eli oedd Joseph, eto, tybia y mwyafrif o'r esbonwyr mai achau Mair, ac nid Joseph, a geir yn y bennod hon, tra mai achau Joseph a rydd Matthew. Ym mhlith y rhesymau a ddygir ym mlaen gan esbonwyr dros mai achau Mair, ac nid Joseph, a rydd Luc, dywedir yn (1) fod Luc yn rhoddi mwy o le a sylw i Mair yn y pennodau blaenorol nag a geir yn un o'r efengylau ereill, ac nad yw ei gyfeir-iad at Joseph ond cynnil; ac yn (2) fod Luc yn nechreu ei achres yn gofalu adgofio mai tad *tybiedig* i Grist oedd Joseph, tra yr oedd Mair yn wir fam iddo. Mewn perthynas i'r wrthddadl a godir na enwir Mair yn yr achres, atebir nad oedd yr Iuddewon yn arferol o gofnodi enwau merched. Ac mewn atebiad i'r wrthddadl fod Mair yn gares i Eliza-

beth, yr hon oedd o lwyth Lefi, ac nid o lwyth Juda, dywedir, yn dra phriodol, y gallasai mam Mair fod o deulu Aaron, a'i thad o lwyth Juda.

Pa fodd bynag, honi rhoddi achau Mair, ac nid Joseph, y mae Iolo Goch. Ac mewn cywydd o'r fath, yr hwn a gynnwysa gynnifer o enwau Hebreig, nis gellir dysgwyl ond ychydig farddoniaeth. Pentyra y bardd ar ol yr enwau, ac yn gymhlethedig â hwynt, ansoddeiriau cwbl ddiystyr, ac heb unrhyw briodoldeb yn perthyn iddynt. Ar ol darfod â'r achres, y mae ganddo rai llinellau lled dda, er nas gellir mewn un modd eu hystyried yn uwchraddol.

Dayoni[1] Duw a aned
O Vair Wyrf[2] grair arf i gred[3]
Verch Iohaysym[4] vab grym gra[5]
Pan torrwr par pant tira[6]
Vab pante vab pwynt eirior
Vab Elsi vab Eli bor

[1] "Daioni"—*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

"Daioni Duw" yma ydyw Iesu Grist.

[2] "O Fair Wyryf"—*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

Cytunwn âg *R. J.* mai "wyrf" = *pure*, *fresh*, &c., ydyw y goreu a'r cywiraf o ran hyd.

[3] "Grair arf i gred" = gwrthddrych addoliad ac amddiffyniad y Cristion.

[4] "Iohasym"—*Add. MS.*,14,970, ac *R. J.* Y mae yn anhawdd gwybod oddi wrth *ffurf* y llythyren pa un ai *I* ynte *J* a roddir yn y fath enwau a "Iohasym" gan gopïwr ein testyn. Ond rhoddwn hi yn *I* gan y gwyddom mai yn gymharol ddiweddar y dechreuwyd seinio *J* yn yr un sain a roddir iddi yn y Seisoneg. Yn yr argraffiadau boreuaf o'r Beibl Cymraeg ceir *Jsaac* ac *Jsrael*, &c., yn gystal a *Jacob* a *Joseph*; a'r argraffiad a gyhoeddwyd yn 1654 oedd y cyntaf i wahaniaethu yn y peth hwn. Ym mhell ar ol hyn, fodd bynag, defnyddid *j* yn fynych yn lle *i* mewn llyfrau Cymraeg, yn enwedig yn y rhai a gyhoeddwyd gan Griffith Jones, Llanddowror, lle y mae llawer o *gynhorjon buddjol.* Fe sylwa y darllenydd fod "*Jolo* Goch" yn gystal ag "*Iolo* Goch" ar ddiwedd rhai cywyddau yn y casgliad hwn; ond seinier y *J* yn *I.*

Nid ydyw *Iohasym* yn yr achau yn ol Matthew na Luc.

[5] "Gra" = blaendarddu.

[6] "Pan torrwr pan pant tira."
*Add. MS.*, 14,970.

"Pan torrwr pan pant ira."
*R. J.*

Vab matham[1] digam degwch
Vab Ioseb ffel ateb[2] fflwch
Vab mathari gloywri glan
Digaeth fab amos degan
Vn nevol fab nawn ufudd
Vab Esli vab nac i nudd[3]
Vab Maath vab Mathathei[4]
O Symeth[5] mydr vab Semei
Vab Ioseb vab wynebloyw
Suwda vab Iohana hoyw[6]
Vab resa vab oreuserch[7]
Sorobabel siwel[8] serch
Vab Salathiel bu sant[9]
Moddus vab Neri[10] meddiant
Vab hoyw Elmadan vab her[11]

[1] "Matham"—*Add. MS.*, 14,970; "Mattham"—*R. J.*

[2] "Atteb"—*Add. MS.*, 14,970; "ateb"—*R. J.*

[3] "Un nefawl fab Nawm ufydd
Fab Eli fab Naggi nudd."
*Add. MS.*, 14,970.
"Nefawl fab Näwn afudd;
Fab Eli; fab Naggi nudd."
*R. J.*
Yn ol Luc iii., 23-25, cawn yr achau yn y drefn a ganlyn:—Joseph (gŵr Mair) fab Eli, fab Matthat, fab Lefi, fab Melchi, fab Janna, fab Joseph, fab Mattathias, fab Amos, fab Naum, fab Esli, fab Naggai.

[4] "Matthathei"—*Add. MS.*, 14,970; "Mathathei"—*R. J.*

[5] "Symaeth."—*R. J.* Symaeth = *complete state.*

[6] "Fab Siwda fab Iohanna hoyw."—*Add. MS.*, 14,970.
"Fa Siwda; fab Iohanna loyw."—*R. J.*

[7] "Oreuferch"—*Add. MS.*, 14,970; "oreuserch"—*R. J.*

[8] Credwn fod Robert Jones yn gywir pan yn awgrymu mai ffurf Gymreig ar *jewel* ydyw "siwel."

[9] "Fab Salathiel bu sel sant."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*
Y mae y llinell yn y testyn yn fyr o sill, os na wneir Salathiel yn bedwar sill—Sal-ath-i-el.

[10] "Neri"—*Add. MS.*, 14,970; "Ner"—*R. J.* "Neri" sydd gywir o ran ffurf a hyd.

[11] "Fab hoyw Elmadan fab Hêr."
*Add. MS.*, 14,970.
"Fab hoyw Elmodam; fab Er."—*R. J.*
Gwelir fod y bardd yn gadael allan dri o enwau rhwng Neri ag Elmadan, neu Elmodam, o blegid yn Luc iii., 28, ceir fod Neri yn fab Melchi, fab Adi, fab Cosam, fab Elmodam, fab Er. Tybia Robert Jones ei fod yn eu gadael allan am nas gallai eu gweu ar gyng-

luniaidd vab Iessu[1] loywner
Vab elieser vab sioram[2]
Bu hoff vab mathat[3] baham[4]
Vab liw[5] fab simon[6] wiwiaith
Baun rhiw[7] vab Iuda benrraith[8]
Vab Ioseb wiw wynebwr
Vab Iona wel dyna wr[9]
Vab eliasym[10] rym rwymiaith
Vab melca vab mena[11] maith
Vab mathata[12] achwrda[13] chwyrn
Diwg[14] vab nathan deyrn
Vab Ddy[15] vrenin gwin gwydd
Broffwyd vab Iesse broffwydd

hanedd. Ond tybiwn na fuasai hyny ond gorchwyl bychan, gan nad ymddengys fod Iolo yn ofalus pa ansoddeiriau a rydd yn gyssylltedig â'r enwau o'r dechreu i'r diwedd.

1 "Iesu"—*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*; "Jose" gan Luc.

2 "Jorim" gan Luc.

3 "Mathat"—*Add. MS.*, 14,970; "Matthat"—*R. J.*, a Luc.

4 "Ba ham"—*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.* Nid oes i'r gair hwn amcan yn y byd heb law cyfateb i odliad y llinell flaenorol.

5 "Liw"=Lefi.

6 "Simion"—*Add. MS.*, 14,970; "Simeon"—*R. J.*

7 "Rhiw"—*Add. MS.*, 14,970; "rhyw"—*R. J.*

Ac y mae yn debyg mai "rhyw" =llon (*genial*) sydd gywir.

8 "Ben rhaith"—*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

9 "Wel dyna wr" ydynt dri gair heb unrhyw ystyr iddynt yma amgen na gorphen y llinell; ac y maent yn ymddangos yn blentynaidd i'r eithaf. Ni wyddom am ddim yn hanes y dyn hwn—yn wir, ni wyddom ddim am dano o gwbl—a allasai gyfiawnhau y bardd i ddyweyd "wel dyna wr" am dano ef mwy nag am rywun arall.

10 "Eliasym"—*Add. MS.*, 14,970; "Eliassym"—*R. J.*

11 "Mena"—sef Maïnan, yn ol Luc.

12 "Matatha"—*Add. MS.*, 14,970; "Mattatha"—*R. J.*

13 "Ach wrda"—*Add. MS.*, 14,970; "âch wrda"—*R. J.*

Ach gwrda=o haniad pendefigaidd. Y mae *R. J.* yn cyfieithu "âch wrda chwyrn" yn "*of the stem of an active hero.*"

14 "Diog"—*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

Y mae y testyn yn well o lawer yma—"diwg"=*not angry*, ac nid "diog"=*lazy*.

15 "Ddy," talfyriad o *Ddafydd*; "Dafydd" yn *Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

Vab obeth diveth ei don
Salmwir[1] vab bos vab salmon
Vab nason wiwron[2] arrab[3]
Da bwyll vab aminidab[4]
Vab arom[5] lin esrom[6] les
Offerẏ gwir vab ffares[7]
Vab Iuda vab ni wna nag
Eisoes Iakob vab Isag
Vab Abram bab o rym bwyll[8]
Vab tharre deidieu didwyll[9]
Vab nacor vab klodvor klau
rrugl fab sarwch vab rhegau[10]
Vab Phaleg[11] diofec[12] dwyll
Heber[13] vab sale hoyw bwyll[14]
Vab kaenan wrddran eurddrem
Vab syw arphaxat vab sem[15]

[1] "Salmwir"—*Add. MS.*, 14,970; "salmwr"—*R. J.*

[2] "Wiwron"—*Add. MS.*, 14,970; "wron"—*R. J.*

[3] Y mae "arrab" wedi ei groesi allan yn y testyn; "arab" yn *Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.* "Arab" = ffraeth (*witty*).

[4] "Aminidab"—*Add. MS.*, 14,970; "Aminadâb"—*R. J.*

[5] "Aron"—*Add. MS.*, 14,970; "Arom"—*R. J.*

[6] "Esron"—*Add. MS.*, 14,970; "Esrom"—*R. J.*

[7] "O phery gwir fab Hares."
*Add. MS.*, 14,970.
"O phery gwir, fab Phares."
*R. J.*

[8] Cyfieitha *R. J.* ddiwedd y llinell fel hyn:—"a Pope in strength of mind."

[9] "Fab Thare deidie didwyll"—*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

[10] "Fab Nachor fab clodfor clau
Rhugl fab Sermwch fab Rhegau."
*Add. MS.*, 14,970.
"Fab Nachor, fab clodfor clau;
Rhugl fab Saruch; fab Rhagau."—*R. J.*

[11] "Ffaleg"—*Add. MS.*, 14,970; "Phaleg"—*R. J.*

[12] "Dioteg"—*Add. MS.*, 14,970; "diofeg"—*R. J.*

Yr ydym yn methu a chael y fath air a "diofeg" yn ein geiriaduron. Tybia *R. J.* mai meddwl "diofeg dwyll" ydyw "*without deceit of mind.*"

[13] "Hebr"—*Add. MS.*, 14,970; "Heber"—*R. J.*

[14] "Hoywbwyll" — *Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*—yn golygu meddwl bywiog.

[15] "Fab Caenan wrddran eurddrem
Fab Syw Arffacsad fab Sem."
*Add. MS.*, 14,970.

Vab noe hen i len ai liw[1]
A adeiliodd rrag[2] diliw
Vab lameth dra diveth drem[3]
Ai sel vab mathusalem[4]
Fab Enoc vwya i benwn[5]
Vab Iareth heleth fu hwnn
Fab malalel mawl eilwaith
Kariad mil fur kiried maith[6]
Vab caynan[7] ddwyvan ddiveth
Oes hir vab Enos vab seth
Vab addaf gloyw eurnaf glwys
Priodor[8] tir paradwys
Vab Duw ei hun gun gwrawl
Tad pybyr vab pob rryw vawl
Brawd lles i addaf bryd llwyr[9]
Ai wrol daid ai orwyr

"Fab Cainan, wrdran eurdrem;
Fab syw Arphacsad, fab Sem."
*R. J.*

Sylwa *R. J.* fod yn anhawdd gwybod pa un ai cynnyrch camysgrifiad ydyw "wrdran" ai gair wedi myned allan o arferiad. Tybiwn mai yr olaf, gan mai "wrddran" ydyw mewn dau ysgriflyfr o'n blaen. Ai nid oes perthynas rhyngddo a "gwrdd" = *stout, strong, ardent, vehement, earnest* — gwrdd-ran?

[1] "Fab Noe hên i lên ai liw." *Add. MS.*, 14,970.
"Fab No hen i lên a'i liw."--*R.J.*

[2] "Rhag"—*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

[3] "Fab Lameth fab difeth drem." *Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

[4] "Mathusalem" — *Add. MS.*, 14,970; "Methusalem"—*R. J.*

[5] "Fab Enog fwya'i bennwn"—*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*
"Benwn" (penwn) = baner.

[6] "Cariad mil fu'r ciried maith." *Add. MS.*, 14,970.
"Ciried" = caredigrwydd, &c.

[7] Y mae "Kynnan" wedi ei groesi allan, a "Caynan" wedi ei ysgrifenu uwch law iddo, mewn llaw ddiweddarach.
"Caynan"—*Add. MS.*, 14,970; "Cainan"—*R. J.*
Nodir "Kaenan" arall (Cainan fab Arphaxad) yn yr achau; felly, fe welir y priodoldeb o ddefnyddio yr ymadrodd "ddwyvan ddiveth," ac o'r "oes hir" a gafodd fab Enos, gan iddo fyw 910 o flynyddoedd.

[8] "Priodor" = etifedd, neu berchenog.

[9] Yn *Add. MS.*, 14,970, ar ymyl y ddalen gogyfer a'r llinell hon, ceir y nodyn a ganlyn gan Iolo Morganwg:—"Iesu Grist yn frawd i Addaf, &c., I.M." Ac yn y llinell ddilynol, gwelwn fod y bardd yn gwneyd Crist yn daid ac yn orŵyr i Adda.

Brawd i Vair ddiwair ddwyiaith[1]
Ai thaid[2] ai mab enaid maith
Brawd i bob kristion o brudd
Da dwyvawl ai dad uvudd[3]
O hil Addaf hylwyddior
Yr ym yn geraint i'r Ior
Arglwydd vwchlaw arglwyddi
O nef yw n penn kenedl ni[4]

[1] "Ddwyaith" ydyw y gair olaf fel yr ysgrifenwyd ef gyntaf; ond rhoddwyd *i* uwch ei ben mewn llaw ddiweddar er ei wneyd yn "ddwyiaith."

"Brawd i Fair ddiwair ddwywaith."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

Nid ydyw *R. J.* yn sicr pa un a ydyw "ddiwair ddwywaith" (= *doubly chaste*) yn golygu y radd uwchaf o berffeithrwydd yn niweirdeb y Forwyn, ai ynte y beichiogiad dihalog (*immaculate conception*); ac y mae yn gadael i'r darllenydd farnu drosto ei hunan. Tybiwn fod y weddi ganlynol o *Allwydd neu Agoriad Paradwys*, tudal. 303, yn cynnwys yr hyn a feddyliai y bardd :—

"Mam wen ein Prynnwr, 'rhon wyt Borth i'r Nef,
A Seren y mor, cymmortha'r methiant Bobl a'i
gofal am godi : tydi 'Rhon a genhedlaist dy
Genhdlwr Sanct, a natur oll yn llwyr ryfeddu'r
gwaith. Morwyn o'r blaen a morwyn wyt ar
ol, Derbyn o eneu Gabriel'r Hanffych well
Trugarha wrthym bechaduriaid ffol.
*Vers.* Angel ein Harglwydd a fynegodd i Fair.
*Resp.* A hi a ymddwynodd o'r Ysbryd Glan."

Pa fodd bynag, credwn fod "ddiwair ddwyiaith" a geir yn y testyn yn anghywir; ac mai "ddwywaith" a ddylasai fod.

[2] "Thad" a ysgrifenwyd gyntaf; y mae yr *i* uwch ben mewn llaw ddiweddar.

[3] "Brawd i bob Cristion o brudd
Da dwyfawl ai dad ufudd."
*Add. MS.*, 14,970.

"Brawd i bob Cristion o brudd
Du Dwyfawl, a'i Dad ufudd."
*R. J.*

Y mae gan *R. J.* y sylw canlynol yma :—"*O brudd du dwyfawl.* Can the bard mean to identify religion with gloom in this place? It seems so." Ond credwn nad oedd y bardd yn meddwl dim o'r fath beth. Gwelwn mai "Da," ac nid "du," a ddechreua y llinell; a thybied yr ydym mai "brydd" = *gwirfoddol*, ydyw, neu a ddylai fod, y gair blaenorol—"brawd i bob Cristion o wirfodd."

[4] "O nef yw'n Pencenedl ni."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

Gweles vaint poen a galar
A oedd gaeth addaf i gar[1]
Kymerth[2] ar groes dromloes draw
Vawr dristyd i varw drostaw[3]
Kyfodes kyva ydyw
Droedwyn vab dradwy yn vyw[4]
I ddwyn i[5] daid wiw ddawn[6] dwys
O bryder i Baradwys
Ar sawl urddasol or saint
Ac[7] a rodd Duw ai[8] geraint
I vair i diolchaf vi
A Duw Ion i daioni
Am fagu Iessu[9] oesir
Bronwyn gun Brenin y gwir
A brynawdd a gwaed breiniawl
I deulu vo dyly vawl[10]

[1] "Gwelais faint poen a galar
A oedd gaeth Adda i gâr."
*Add. MS.*, 14,970.
"Gwelais faint graen a galar
A oedd gaeth Adda i'w gâr."
*R. J.*

Y mae *R. J.* yn egluro "graen" trwy roddi *pungency, asperity*, ar ei ol; ond nid ydyw y gair "poen" a geir yn y testyn yn galw am unrhyw eglurhad.

[2] "Cymmerth" — *Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

[3] "Fawr dristyd i farw drostaw."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

[4] "Cyfodes cyfa ydyw
Droedwyn fab dradwy yn fyw."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

Diammeu fod "cyfa," fel y sylwa *R. J.*, yn golygu perffeithrwydd. A thybiwn fod "droedwyn" yn cyfeirio at ei anllygredigaeth.

[5] "Ei"—*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

[6] "Wiwddawn" — *Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

[7] "Ag"—*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

[8] "A'i."—*R. J.*

[9] "Iesu"—*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

[10] Hon yw'r llinell olaf yn y cywydd fel y'i ceir gan *R. J.* Ac nid ydyw yn crybwyll iddo ei weled yn helaethach, er fod yn amlwg ei fod yn gwneyd defnydd o *Add. MS.*, 14,970, gan ei fod yn rhoddi nodyn ymyl-ddalenol Iolo Morganwg, a geir ar gyfer llinell 65, o'r ysgriflyfr hwnw. Ond nid ydyw *R. J.* yn dyfynu nodyn Iolo Morganwg a geir yn *Add. MS.*, 14,970, ar gyfer llinell 90, yr hwn sydd fel y canlyn :—"*I deulu* yn lle *ei deulu*, ac felly y mae mewn llawer man arall yn y cywyddau hynn — dylynais y copi ag oedd genyf— I.M."

Ac[1] eilwaith i[2] gobeithiwn
Gael gan Iessu[3] hael yw hwnn
Drwsio i wledd dros y wlad[4]
Drugaredd yn drwy gariad
Yno drwy nerth Mair uniawn
Ir wledd ar annedd yr awn
Att[5] yn tad[6] llywiad llawen
Ar mab ar[7] ysbryd Amen

Iolo Goch ai kant.

1 "Ag."—*Add. MS.*, 14,970.
2 "Y."—*Add. MS.*, 14,970.
3 "Iesu."—*Add. MS.*, 14,970.
4 "Drwsio i wledd dros y wlâd." *Add. MS.*, 14,970. "Drwsio" = darparu.
5 "At."—*Add. MS.*, 14,970.
6 "Tad."—*Add. MS.*, 14,970.
7 "A'r."—*Add. MS.*, 14,970.

# LXVII.

## *C. I MAIR.

---

*(O Lyvr Huw Lleyn—Add. MS., 14,967, fol. 111b).*

Y mae y cywydd hwn i'w gael hefyd yn *Add. MSS.*, 14,970, a 15,016, lle ei priodolir i Iolo Goch. Ond ar ddiwedd y cywydd yn *Add. MS.*, 14,970, ceir y nodyn a ganlyn:—

"Iolo Goch ai cant (medd llyfr R. Jones).
Nage. Nid oedd na'r cynghaneddau na'r cymmeriadau y sydd yma'n adnabyddus yn amser Iolo Goch. Y mae'r cywydd hwn i'w weled yn aml dan enw . . . . . . . . . . . ond yma'n unig y gwelais i ef dan enw Iolo Goch. Iolo Morganwg."

Gwelir fod Iolo Morganwg wedi gadael allan yr enw dan yr hwn y mae y cywydd i'w weled "*yn aml.*" Ond y mae, yn ol ei arfer, yn traethu ei farn yn lled benderfynol; ac y mae y tro hwn, feddyliem, yn gywir. Ac yr ydym yn myned yn fwy cadarn yn y syniad hwn ar ol darllen sylw o eiddo y Canon Silvan Evans (mewn adysgrif o'r cywydd yn ei feddiant a gopïwyd o *Add. MS.*, 14,970):—

"Y mae yr iaith a'r gynghanedd yn rhy lithrig i Iolo Goch. Yn ol y *Llyfr Hirfain*, Tudur Aled yw awdwr y cywydd hwn. Rhy brin y gall fod yn waith Iolo Goch, pwy bynag yw ei awdwr."

Pa fodd bynag, credwn nas gallasai Tudur Aled fod yn awdwr iddo. O blegid gosodir Tudur Aled yn ei flodeu rhwng 1480 a 1520, a Gutyn Owain, yr hwn a ysgrifenodd *Lyvr Huw Lleyn*, rhwng 1451 a 1490; felly, prin y gallwn gredu mai Tudur Aled oedd yr awdwr. Ni wyddai Gutyn Owain pwy ydoedd, o blegid ysgrifenodd ar ddiwedd y

cywydd—" Ni wn pwy ywr prydydd;" ond ysgrifenodd rhyw un mewn oes ddiweddarach uwch ben hyny—" Iolo Goch ai cant."

Archwn i vair a bair byd
Evryches y gwir iechyd[1]
Iawn i henwn vrenhines
Nef a glyw llef gan i llais[2]
Yn vffern mae i chydernyd
Dros benn ac ar draws y byd[3]
Iawn rac yng yn rac angen
Y mor rrudd henwi mair wenn[4]
Iawn i vair a henwaf i
Gael enw a golevni[5]
Gabriel drwy loiwdec[6] wybren
Anvones i santes wenn
Avi am bechod eva
A mair ai duc mawr i da[7]

[1] " Archwn i Fair a bair byd
Euryches y gwir iechyd."
*Add. MS.*, 14,970.

[2] " Iawn ei henwi'n frenhines
Nef a glyw llef gael ei lles."
*Add. MS.*, 14,970.

Y mae y cywydd trwyddo yn llawn o Fair-addoliaeth. Ystyrir Mair gan y Pabyddion yn frenhines y nefoedd ac yn gyfrwng nesäd at Dduw. Yn *Allwydd neu Agoriad Paradwys*, tud. 307, ceir y weddi a ganlyn :—

" Brenhines y Nef llawenha,
Alelwia.
Canys yr hwn a haeddaist ddwyn,
Alelwia.
Cyfododd fel y dywedodd,
Alelwia.
Gweddia trosom at Dduw mwyn,
Alelwia.
*Vers.* Llawenycha a gorfoledda Mair Forwyn Alelwia.
*Resp.* Canys cyfododd ein Harglwydd yn wir Alelwia."

[3] " Yn uffern mae'i chadernyd
Dros benn ag ar draws y byd."—*Add. MS.*, 14,970.

[4] " Iawn rhag ing i'n rhag angen
Ym mor rhudd enwi Mair wenn."—*Add. MS.*, 14,970.

[5] " Iawn i Fair a henwaf fi
Gael enwi yn y goleuni."
*Add. MS.*, 14,970.

[6] "Loywdeg."—*Add. MS.*, 14,970.

[7] " Afi am bechod Efa
A Mair ai dug mawr ei da."
*Add. MS.*, 14,970.

" Avi," neu " Afi," o *Ave-Maria* =Henffych Mair, neu y ddau air cyntaf o weddiau neillduol a gyflwynir gan Babyddion i'r Forwyn Fair.

Oeddym ddonioc veichiogi
O air ithad i chroth hi[1]
Da vur vun eiddun addef
Dan i chnawd dwyn i chwi nef[2]
Dwyn i mab oi dayoni
A dwyn i thad a wnaeth hi[3]
Bur Drindod is rrod yr haul
Ai anedd yn y wenavl[4]
Yn vfvdd iawn yw ovyn
Yn Dduw i ganed yn ddyn[5]
Kanv huw i dduw ai ddwyn
A wnai Vair yn wen Vorwyn[6]
Wrth rrol i broffwydoliaeth
Ir raifft ar Iessu y rraeth[7]
Y llewod oedd yn llawen
Ar[8] seirff wrth y santes wen[9]
Mawr olud mair aweles[10]
Ar y dydd yn vawr[11] o des
Prenn vchel a ffrwyth melys
Ar i vlaen bu ar vair vlys[12]

[1] Y mae y darlleniad yn *Add. MS.*, 14,970, yn fwy dealladwy :—
"Doniog ydoedd feichiogi
O air ei thad ei chroth hi."

[2] "Da fu'r fun eiddun addef
Dan ei chnawd dwyn i chwi nef."—*Add. MS.*, 14,970.

[3] "Dwyn ei mab o'i daioni
A dwyn ei thad a wnaeth hi."
*Add. MS.*, 14,970.

Ceir syniadau lled farddonol yn y llinellau hyn—Iesu Grist yn dad, yn gystal a mab, i Mair.

[4] "Bu'r Drindod is rhod yr haul
Ai annedd yn y wennhaul."
*Add. MS.*, 14,970.

Mair oedd y "wennhaul," yn yr hon, yn ol y bardd, yr oedd y Drindod yn trigo yn amser ei beichiogiad.

[5] "Yn ufudd iawn i'w ofyn
Yn Dduw y ganed yn ddyn.
*Add. MS.*, 14,970.

[6] "Canu Huw i Dduw ai ddwyn
A wnai Fair yn wen Forwyn."
*Add. MS.*, 14,970.

Dysgrifir Mair yn "canu huw" =hwian (*lullaby*) i Dduw, pan yn ei ddwyn yn ei breichiau.

[7] "Ar ôl y prophwydoliaeth
I'r Aipht a'r Iesu yr aeth."
*Add. MS.*, 14,970.

[8] "Y."—*Add. MS.*, 14,970.

[9] "Wenn."—*Add. MS.*, 14,970.

[10] "A weles."—*Add. MS.*, 14,970.

[11] "Fawr."—*Add. MS.*, 14,970.

[12] "Pren uchel a ffrwyth melys
Ar ei flaen bu ar Fair flys."
*Add. MS.*, 14,970.

Erchi i sioseb eurchwaer
36 Beth or bric kelenic klaer[1]
Se wnaeth yn ddic ar drigair
Siosseb ymateb a mair[2]
Ni cheisier Saer yr aerron
40 Ar i hynt ir Vair wyrf hon[3]
Arch i arall verch hirwen
Ath veichioges santes wenn[4]
Gostwng hyd y llawr gwastad
44 Or brenn o wythiaur mab rrad[5]
Kafas or bric yn ddigoll
Y ffrwyth hi ai tylwyth oll[6]

Hyny yw, pan yr oedd Joseph, Mair, a'r Iesu, ar eu ffordd i'r Aipht, gwelodd Mair bren a chnwd o ffrwyth arno, a blysiodd gael peth o'r ffrwyth i'w fwyta.

[1] "Erchi i Sioseb ei eurchwaer
Beth o'r brig calennig claer."
*Add. MS.*, 14,970.

"Calenig" = *a New Year's gift.*

[2] "Sef gwnaeth yn ddig ar drigair
Sioseb ymatteb a Mair."
*Add. MS.*, 14,970.

"Se" = *hyny yw* = *to wit.* Ond dichon mai gwall am *fe* ydyw "se"—"Fe gwnaeth yn ddig ar drigair," sef yn uniongyrchol. Parodd gofyn y gymmwynas fechan hon i Joseph golli ei dymmer ar unwaith, am y rheswm a nodir rhag llaw.

[3] "Ni cheisiai'r Saer yr aeron,
Ar ei hynt i'r Fair wyry honn."—*Add. MS.*, 14,970.

[4] Yn *Add. MS.*, 14,970, darllenir :—

"Arch i arall ferch irwen
A'th feichioges walches wenn"

gyda "*santes wenn* in R. Jones" ar ymyl y ddalen. Cawn eglurhad yn y llinellau hyn pa ham yr oedd Joseph yn gwrthod estyn o ffrwyth y pren i Mair—sef, ei fod yn parhau yn ddrwgdybus o'i diweirdeb. Nis gwyddom a oedd gan y bardd ryw draddodiad yn ei gyfiawnhau i osod y fath edliwiaeth gâs yng ngeneu Joseph ai peidio. Yn ol yr hanes sydd genym yn y Testament Newydd (Matt. i., 18-25) yr oedd Joseph wedi cael ei argyhoeddi gan angel fod "yr hyn a genhedlwyd ynddi o'r Ysbryd Glân." Ond, yn ol y bardd, yr oedd yn parhau yn anfoddog hyd yn oed ar ol genedigaeth yr Iesu.

[5] "O'r prenn o wyrthiau'r mab rhâd."—*Add. MS.*, 14,970.

[6] "Cafas o'r brig yn ddigoll
Y ffrwyth hi ai eurllwyth oll."—*Add. MS.*, 14,970.

Wrth weled anufudd-dod Joseph, cyflawnodd y baban Iesu un o'i wyrthiau cyntaf, sef trwy beri i ganghenau y pren ymostwng i'r llawr. Ac yn y llinellau dilynol dywedir wrthym mai nid ar fyr eiriau y gellir adrodd yr holl

Ni ddowaid neb ar ddevair
Wyrthiav i mab i nerthu mair[1]
Gwae vi na vedıaıs gwiw vu
Saith vgeinwaith[2] i ganu
Ai kanv yn amkanawl
A ffob[3] gair i vair yn vawl
Awn yn[4] tuedd an gweddi
A Mair yn vn air a ni
Mair wyryf a wnaf mawr eiriol
honn ni ad yny ynnol[5]
Mair an tynn or mieri
Ac wedi hynn gyda hi[6]
Kawn wyn vyd kanv i wenvair
Kawn nef oll kanwn i vair[7]

Iolo Goch ai cant.
Ni wn pwy ywr Prydydd.[8]

wyrthiau a wnaeth Crist i "nerthu Mair." O bosibl nad oedd y mynachod yn y Canoloesoedd yn dysgu llawer o ryw ynfydrwydd ofergoelus fel hyn i'r bobl.

[1] Y mae darlleniad *Add. MS.*, 14,970, yn wahanol :—

"E ddywaid pawb ar ddeuair
I wyrthieu'i mab nerthu Mair."

Mewn erthygl ar "Tudur Aled a'i Amserau," gan Cynddelw, yn y *Traethodydd*, 1875, tudal. 68, dyfynir o hyn i'r diwedd fel gwaith Tudur Aled.

[2] "Ugeiniaith." — *Add. MS.*, 14,970.

[3] "Phob."—*Add. MS.*, 14,970.

[4] "In."—*Add. MS.*, 14,970.

[5] "Mair a wna mawr eiriol
A honn ni ad hynny'n ôl."
*Add. MS.*, 14,970.

[6] "Mair ai tynn o'r mieri
A gwedi hynn gyda hi."
*Add. MS.*, 14,970.

[7] "Cawn wynfyd canu i Wenfair
Cawn nef oll canwn i Fair."
*Add. MS.*, 14,970.

Yn *Allwydd neu Agoriad Paradwys*, tudal. 321, ceir yr emyn canlynol, yr hwn a gynnwys yr un syniadau i fesur helaeth ag a welir yn y cywydd uchod :—

"*Ar amser Gosper.*
Hanffych well Seren y mor,
Mam ein Harglywdd Dduw
Morwyn lan bob amser
Porth nef ddedwydd loyw.
Cymraist yr Afe hwn
O enau Gabriel dda
Seilia ni mewn heddwch
Gan newid enw Efa.
Dattod rwym yr euog,
Rho i'r dall oleuni,
Gyrr ymmaith ein holl ddrwg,
Cais in' bob daioni.





Dangos dy fod yn Fam,
Cymred ein gweddi ni
Trwot, 'rhwn y fu gwiw
Gantho fod Fab i ti.

O Forwyn ragorol
Uwch ben oll fwyn euraidd
Yn rhydd o'n pechodau
Gwna ni'n ddiwair lanaidd.

Dyro i n' fuchedd bur
A diberyglus daith
Fel wrth weled Iesu
Y llawenychom byth.

Bid moliant i Dduw'r Tad,
I Grist ei Fab rhinwedd,
Llawn barch i'r Yspryd Glan
I'r tri 'r vn anrhydedd. *Amen.**

* Y copiwr a ysgrifenodd hyn; ond, gan ei groesi allan, dywedir uwch ei ben, mewn llaw ddiweddarach, mai "Iolo Goch ai cant."

# LXVIII.

## *CYWYDD I BEDR, &c

*(O Lyvr Huw Lleyn—Add. MS., 14,967, fol. 28).*

Nid oes benawd o gwbl i'r cywydd hwn yn *Llyvr Huw Lleyn;* ond cyfeirir ato fel uchod yn y cynnwysiad. Amrywia y penawd mewn gwahanol ysgriflyfrau. Yn *Add. MSS.*, 14,866; 14,880; 14,906; 14,973, a 15,010, y penawd yw "Cywydd y Deuddeg Apostol;" yn *Add. MS.*, 14,984, ceir ef dan y penawd—"Cowydd yn henwi y deuddeg apostol ag yn dangos y do nhw ir farn a Noe ai henafiaid er Adda a ffawb a fuag yfydd ag i gwelir yn y farn ddioddefaint Iesu Grist pan farner pawb." Yn *Add. MS.*, 14,979, ceir y rhan olaf o hono, heb yr un penawd; ac y mae i'w gael hefyd yn *Jesus Coll. MS., E.* 138, Part II., fol. 5, ac yn *Y Cymmrodor*, vol. ix., p. 13. Priodolir ei awduriaeth yn yr oll o'r llyfrau uchod i Iolo Goch; ond yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 119, ceir y rhan ddechreuol o hono —36 o linellau—lle y dywedir mai Sion Cent oedd yr awdwr. Deallwn fod ysgriflyfrau ereill yn priodoli ei awduriaeth i Sion Cent. Ceir y rhan ddechreuol o hono mewn ysgriflyfr 4 plyg a berthynai i'r *Horwood Collection*, a'r hwn a gopïwyd oddeutu 1600. Prynwyd ef gan Mr. Egerton Phillimore, ond y mae yn awr ym meddiant Syr John Williams, Llundain.

Y mae gan Dafydd ab Gwilym (*Barddoniaeth*, tudal. 479) gywydd byr o 52 o linellau, dan y penawd "I Lun Crist a'r Apostolion," ac y mae ambell frawddeg yng nghywydd Iolo yn hollol yr un fath ag y maent yn eiddo Dafydd. Pa fodd bynag, ar ol darllen y ddau gywydd yn ofalus, credwn fod eiddo Iolo yn llawn cystal ag un Dafydd; ond dylem gydnabod nad ydyw yr un dan

sylw i fyny o lawer â gwaith Dafydd ab Gwilym yn gyffredin. Eto, gwelir ar unwaith fod y naill fel y llall yn cymhwyso ansoddeiriau at rai o'r apostolion heb un gronyn o sail; ac, hyd y gwyddom, heb gymmaint a thraddodiad o'u plaid. Wedi cymmeryd y deuddeg apostol yn destyn, rhaid oedd cael rhyw eiriau i lanw y bylchau; ond buasai yr hyn a ddywedir am un apostol mor briodol i'w gymhwyso at amryw o'r lleill. Wrth ddarllen y cywydd, fodd bynag, fe welir nad oes mwy o sail dros ei gyflwyno i Pedr nag i un o'r apostolion ereill; ac mai y penawd cywiraf a fyddai "CYWYDD I'R DEUDDEG APOSTOL."

Dosrenir y cywydd i dair rhan—(1) Annerchiad i'r Apostolion; (2) Am ddydd y Farn; (3) Llinellau canmoliaethol i Mair, ac annogaeth i ennill ei ffafr.

Prydu a wnaf mwyaf[1] mawl
I bedr[2] ddoeth[3] wybodawl
Penn porthor eiddun addef
Pennaf niver ner o nef[4]
Yr ail Ieuan lan lywydd[5]
Ebostol[6] nid ffol i ffydd
llvn eryr ywn llenn arab[7]
llewych[8] grair nai mair ywr mab

[1] "Wna mwya"—*Add. MS.*, 14,973, *Jes. MS.*, a *C. Ll. G.*

[2] "Beder"—*Add. MS.*, 14,973, a *C. Ll. G.*

[3] "Wiw."—*C. Ll. G.*

[4] "Porthor kyn euddun addef
per ur ynifer o nef."
*Add. MS.*, 14,973.

"Porthor kyn evddyn addef
Pêr ar niver or nef.'
*Jes. MS.*

"Porther cyn yddyn addef
Per ar niver y nef."
*C. Ll. G.*

"Eiddun addef" = y cartref dymunol (sef y nefoedd), yn yr hwn, yn ol y Pabyddion, y mae Pedr yn borthor. Ymddengys i ni fod y testyn yn well yma na'r darlleniadau ereill.

[5] "Ail yw Ieuan lun loywydd."
*Add. MS.*, 14,973.
"Ail yw Ifan lân lonydd."
*Jes. MS.*, a *C. Ll. G.*

[6] "Apostol"—*Add. MS.*, 14,973; "Abostol"—*Jes. MS.*

[7] "Llun erryr mewn llen Arab."
*Add. MS.*, 14,973.
"Llun eryr llawen arab."
*Jes. MS.*

[8] "Llewyrch"—*Add. MS.*, 14,973, *Jes. MS.*, a *C. Ll. G.*

Trydydd ebostol[1] tradoeth
yw ondras[2] gyweithas[3] goeth
Dioddef gwnaeth dwf eiddun
Da vu i gof divai gun[4]
Dalwyr lyw mewn[5] dolurloes
yr aur grair ar yr wyr groes[6]
Bedwerrydd byd yn warant[7]
Ebostol[8] sy ddwyvol sant
I berri nef yn barnu
Barthlo meus weddus wanu[9]
Am gredu yn wir drwg hirboen
I Grist y tynwyd i groen[10]
Ar boen a droes loes loywsyth[11]
yn llywenydd beunydd byth
Pennaf a gwiraf gwarant
Pymed chweched seithved sant[12]

[1] "Abostol"—*Add. MS.*, 14,973, a *Jes. MS.*

[2] "Andreas"— *Jes. MS.*, a *C. Ll. G.*

[3] "Goweithas."— *Add. MS.*, 14,973.

[4] "Dioedde a gwnaeth duw uddyn
Da fu i gof difai gun."
*Add. MS.*, 14,973.

"Diodde /a/ wnaeth duw i ddyn
Da /i/ go er mwyn duw gwyn."—*Jes. MS.*

[5] "Dal eurliw mewn"— *Add. MS.*, 14,973; "Aruth gur o"— *Jes. MS.*

[6] "Ar y wiw groes."—*Add. MS.*, 14,973.

[7] "Y pedwerydd bid warant."
*Add. MS.*, 14,973.

"Pedwerydd nid byd warant."
*Jes. MS.*

[8] "Y bostol"—*Add. MS.*, 14,973; "abostol"—*Jes. MS.*

[9] "I beri ne yn barawd
Barlomefus weddus wawd."
*Add. MS.*, 14,973.

"I beri nef yn barawd
Barthlomeeus weddus wawd."
*Jes. MS.*

[10] "Am gredu yn wir drwy hir boen
i grist i tynwyd i groen."
*Add. MS.*, 14,973.

[11] "Loywsyth" — *Add. MS.*, 14,973, a *Jes. MS.*

Y mae yn sicr mai y testyn sydd gywir—Poen Crist yn sail i ogoniant tragywyddol y saint.

[12] "Pena or gwira gwarant
Pumed, chweched, seithfed sant."—*Add. MS.*, 14,973.

"Penna /a/ gwiria gwarant."
*Jes. MS.*

"Pena a gwiria gwarant."
*C. Ll. G.*

Nid ydyw Iolo Goch yn dilyn, o ran trefn, yr un o'r rhestrau a geir o'r apostolion yn y Testament

ffylib prudd vudd yw vo
Degan gwyrry a dau iago[1]
Pann gyvrivwy vwy vwy vawl
Wythved a nawved nevawl[2]
Sain simwnd[3] hil edmwnd hoyw[4]
A sain sud owchled wychloyw[5]
Adwen dau gefnderw ydyn
I wir dduw ac i war ddyn[6]
Degved Tomas hoyw ras[7] hir
Or inda[8] yw i randir

Newydd (Matt. x., 2-4; Marc iii., 16-19; a Luc vi., 14-16); ac nid ydyw ychwaith yn dilyn trefn Dafydd ab Gwilym.

[1] "Ffylip brydd da fydd yw fo
Degan wr a dau Iago."
*Add. MS.*, 14,973.

"Phylib rûdd vfvdd yw fo
Degan gŵr /a/ dau iago."
*Jes. MS.*

"Phylip prudd, da fudd yw fo,
Degan wr, a dau Iago."
*C. Ll. G.*

[2] "Pen gyffiybwy fwyfwy fawl
Wythfed a nawfed nefawl."
*Add. MS.*, 14,973.

[3] "Simwnt"—*Add. MS.*, 14,973, a *Jes. MS.*

"Simwnd" oedd Simon Zelotes.

[4] "Iedmwnt loyw"—*Add. MS.*, 14,973; "Edmwnt hoyw"—*Jes. MS.*; ond nid ydyw yn bwysig iawn pa un sydd gywir, gan na wyddom ddim am yr Edmwnd o'r hwn y dywedir fod Simon yn hanu.

[5] "Sain Sud wayw owchlyd wychloyw."
*Add. MS.*, 14,973.

"A Sain Sud oychlud iach-loyw."—*Jes. MS.*

"Sain Sudwaew o wchlyd wych loew."—*C. Ll. G.*

"Sud" = Judas; ymgais i ddyweyd rhywbeth am Judas, yr hwn hefyd a elwid yn Thadeus ac yn Lebeus—brawd Iago Leiaf, a chefnder i Grist—a geir yma.

[6] "Adwen dau gefender ydyn
i wir dduw ag i war ddyn."
*Add. MS.*, 14,973.

"Adwen mai kefnder ydyn
i / wîr Dduw / ag /i/ wâr ddŷn."—*Jes. MS.*

Yn *Jes. MS.*, y mae y llinellau hyn yn cael eu lleoli ar ol llinell 26 yn y testyn; ond nid gyda dim mwy o briodoldeb, gan nad oes ond un cefnder yn cael ei enwi yno. Darlleniad *C. Ll. G.* o'r ail linell yma ydyw—"I war Dduw, ac i wir ddyn."

[7] "Urddas"—*Add. MS.*, 14,973, a *C. Ll. G.*

[8] "Or India"—*Add. MS.*, 14,973; "Yr India"—*Jes. MS.*; "A'r India"—*C. Ll. G.*

Merthyrwyd Thomas yn Meliapour, yn yr India Ddwyreinio..

Pann aeth mair ruddair oddef[1]
Gida niver[2] ner i nef
oi lleng hi a ollyngawdd
o nef i tomas i nawdd[3]
I gwregis[4] hi wiw riain
Orrau[5] modd o aur a main
Hwnnw yw un ryw anrec[6]
I warant ef wiw rent tec

[1] "Ufuddair fadde"—*Add. MS.*, 14,973; "air addef"—*Jes. MS.*; "ufuddair f'addef"—*C. Ll. G.*

[2] "Gidai nifer"—*Add. MS.*, 14,973; "At /i/ nifer"—*Jes. MS.*; "Gyda ei nifer"—*C. Ll. G.*

[3] "Oi lleng hi allyngawdd
o nef i Domas i nawdd."
*Add. MS.*, 14,973.

Nid ydym yn hysbys o unrhyw draddodiad ag sydd yn cyssylltu enw Mair â Thomas yr apostol, at yr hwn y cyfeirir yn llin. 33; ac yr ydym yn tybied fod Iolo yma yn cymmeryd mantais ar yr enw i ddwyn i sylw Thomas á Becket, Archesgob Caergaint. Yr oedd St. Thomas, fel yr hysbysir ni yn *Allwydd neu Agoriad Paradwys*, tudal. 316-18, beunydd yn arferol a chyfarch Mair gan ddywedyd saith *Ave Maria* er anrhydedd am y saith prif lawenydd a gafodd hi ar y ddaear. Ac wedi iddo wneyd hyn am beth amser, ymddangosodd Mair iddo gan ei gyfarch fel y canlyn:—

"Mae dy wasanaeth di hwn (O Thomas) yn hoff iawn ac yn gymmeradwy i mi: ond paham yr wyt yn cofio yn vnic y saith llawenydd y fu i mi ar y ddaear? Coffa hefyd o hyn allan y saith llawenydd eraill sydd i mi yrwon yn y Nef. Oblegid mi a lawenhaf, mi a gomfforddaf, ie ac a brestentiaf hefyd i Dduw fy Mab ar awr eu hangeu y sawl oll a'm hanrhydeddant i beunydd a phob vn o'r ddau Ddefotiwn hyn. Yn y Nef yr wyf yn llawenychu.

1. Am fy mod i wedi fy nyrchafu uwch ben yr holl burgreaduriaid.

2. Am y gogoniant sydd i mi o'm bod yn Fam i Dduw.

3. Am fy mod i y rhagori mewn gogoniant y Sainct eraill megis y mae'r Haul yn rhagori mewn dis—discleirdeb y Planedau eraill.

4. Am fod y Sainct eraill yn llawenhau yn fawr am fyn-Gogoniant i, heb ddim cenfigen er lleied.

5. Am fod Duw fy Mab yn barod i roi i mi y gras a'r ffafor bynnac a ofynnaf gantho.

6. Am y Gogoniant priodol sydd i mi o ran fy *Ymddwyn Difrycheulyd*.

7. Am fod i'm llawenyddau i hyn chwanegu a mwyhau hyd ddiwedd y byd."

[4] "I gwrtgis"—*Add. MS.*, 14,973; "I gwregis"—*Jes. MS.*

[5] "Orau."—*Jes. MS.*

[6] "Unryw anreg"—*Add. MS.*, 14,973; "Iawnrhyw anrheg"—*Jes. MS.*

Doent ai dadl yn radlawn
A dau ebostol y dawnn[1]
Mathau grym gweddiau gras
Maith awen a mathias[2]
Wel dynna hwynt nowddbwynt nef
Y deuddec myn di oddef[3]
A varnant eurvant ar voll
Ar baid awr ar y byd oll[4]
A gwyn i vyd kyd kadarn
Kain dawdd vodd kyn dydd varn[5]
A wnnel urddas teyrnas[6] tec
Yngwiliau dyddiau deuddec[7]
Pan ganer klywer ir klod
Kyvyn lef y kyrn kyvod[8]
Pob un gyvyn a gyvyd
Ir lan o bedwar ban byd[9]

[1] "Doent ai dadal yn radlawn
A dau y bostol ywn dawn."
*Add. MS.*, 14,973.
"Dav oi dadl yn rhadlawn
Ar dau abostol yw/r/ dawn."
*Jes. MS.*
Yn *Jesus MS.*, y mae y llinellau hyn yn dilyn llinell 46 yn y testyn.

[2] "Mathew rym mwythau /i/ ras
Maith awen a Matheias."
*Jes. MS.*

[3] "Llyna hwynt nawpwynt nef
y deuddeg a fu /n/ diodde."
*Add. MS.*, 14,973.
"Fal dyma hwynt nowpwynt nêf
y / deuddeg a fu/n/ dioddef."
*Jes. MS.*

[4] "A farnan eur farn arfoll,
arbed awr ar y byd oll."
*Add. MS.*, 14,973.
"A farnant eurfant arfoll
Arbed awr ar /y/ bŷd oll."
*Jes. MS.*

[5] "Gwyn i fyd kyd kadarn
Kain diwedd fyd kyn dydd barn."—*Add. MS.*, 14,973.
"Gwynn /i/ fyd or byd kadarn
Kan deddf /i/ fawl kyn dydd farn."—*Jes. MS.*

[6] "Tyrnas"—*Add. MS.*, 14,973; "taerwas"—*Jes. MS.*

[7] "Yngwiliau dyddiau y deuddeg."—*Add. MS.*, 14,973.

[8] "Pann ganer llei klower klod
Korn kyfran y kyrn kyfod."
*Add. MS.*, 14,973.
"Pan ganer llei klowen klôd
Karn kyfair /y/ kyrn kyfod."
*Jes. MS.*

[9] "Pob dyn gefyn a gyfyd
ir lan o bedwar ban byd."
*Add. MS.*, 14,973.
"Ir llan /o/ bedwar bann bŷd."
*Jes. MS.*

Ir lle goddevodd medd llu
Garrw oessoedd y gwir Iessu[1]
Ac ynno y daw gwiw wener
Addaf ai blant nowkant ner[2]
A noe hen i hangen oedd
Yn vorre ai niveroedd[3]
Ac Abram oi ham kam hwy
Ac abriel pan vor gobrwy[4]
A llywiaw rai a llu rydd
Moessen yn llenwir meisydd[5]
A llu hardd ddy yn llwyr
Broffwyd sillwyd i llaswyr[6]

1 "I'r lle goddefodd medd llu
arw loes wrol Iesu."
*Add. MS.*, 14,973.
"Yn llei dioddefawdd gawdd
gu
Gwawr oessoedd /y/ gwir
Iessu."—*Jes. MS.*

Rhydd Iolo ar ddeall i ni yma mai ar fynydd Calfaria — lle y dvoddefodd Crist—y cynhelir y farn ddiweddaf; ond yn ol y syniad cyffredin mynydd yr Olew-wydd sydd i gael yr anrhydedd hwnw. Dichon mai rhan o fynydd yr Olew-wydd oedd Calfaria.

2 "Ag yno y daw gwiw ner
Adda ai blant nawgkant ner."
*Add. MS.*, 14,973.
"Yna /i/ kyfyd nyd nifer
Adda ai blant nowkant nêr."
*Jes. MS.*

Pan y mae cynnifer o ddarlleniadau, a'r rhai hyny mor wahanol, y mae yn ammhosibl cynnyg unrhyw eglurhad a all fod yn foddhaol. Os ydyw y testyn yn gywir, gellir tybied fod y bardd o'r farn mai ar ddydd Gwener y bydd yr adgyfodiad.

3 "A Noe hen Angen oedd,
yn fore ai niferoedd."
*Add. MS.*, 14,973
"A / llu Noe hên angen oedd
yn forau ai niferoedd."
*Jes. MS.*

4 "Llywenydd a fydd yw fam
lliw wybrol a llu Abram."
*Add. MS.*, 14,973.
"Llawenydd /a/ rŷdd yw rann
llew wybrol /a/ llu Abran."
*Jes. MS.*

Yr enw Abram ydyw yr unig debygolrwydd rhwng y testyn a'r darlleniadau ereill o'r ddwy linell yma.

5 "A llowio rain a llu rydd,
Moysen yn lleawi meysydd."
*Add. MS.*, 14,973.
"A/ llowio rhîn ar llu rhûdd
Moessen /a/ leinw/r/ meussudd."—*Jes. MS.*

6 "A llu Dafudd yn llwyr
broffwyd ni lyswyd loswyr."
*Add. MS.*, 14,973.
"A/ llu or hen ddafydd yn
llwyr
Broffwyd lliw swydd /a/ llaswyr."—*Jes. MS.*

Talfyriad o "Ddafydd" ydyw y *ddy* yn y testyn.

A ffawl ebostol y ffydd[1]
Ior mwyn a ddaw ir mynydd
Ef ai[2] niver per parawd[3]
A droes ir ffydd dryssor ffawd
A rrod[4] yr[5] haul draul dramawr
Ar lloer a ddisgin ir llawr[6]
Ar saith[7] wiw-blaned ar ser
Ar nevoedd vry ar nifer[8]
Ac o uffern herrwern hir[9]
o garchar hwynt[10] a gyrchir
llidioc blin ddau vinioc bla
llu sattan mewn lliw swtta[11]
Pob un yn ddyvyn a ddaw[12]
Yr un dydd i wrrandaw

[1] "A ffawl a bostal dda i ffydd." *Add. MS.*, 14,973.
"A phawl abostawl dda /i/ ffydd."—*Jes. MS.*
Yn *Jes. MS.*, y mae y llin. 71-74 yn dilyn llin. 78 yn y testyn.

[2] "Ar."—*Jes. MS.*

[3] "Ber barawd."—*Add. MS.*, 14,973.

[4] "A rod."—*Add. MS.*, 14,973.

[5] "Ir."—*Jes. MS.*

[6] "A ddisgen ir llawr." *Add. MS.*, 14,973.

[7] Yr ydym yn methu a dyfalu pa *saith* blaned a feddylir; gan nad oedd cynnifer a hyny yn adnabyddus yn amser Iolo Goch. Y planedau adnabyddus y pryd hwnw oeddynt — Mercher, Gwener, y Ddaear, Mawrth, Iau, a Sadwrn; ac ni ychwanegwyd at y nifer hyd 1781, pryd y darganfyddwyd Uranus, neu Herschel. Cyn y gellir gweled cyssondeb yn y llinell, dylasai fod dwy yn ychwaneg; o blegid nid priodol dyweyd y bydd i'r ddaear syrthio i'r llawr = iddi ei hun.

[8] "O'r nefoedd ai nifer." *Add. MS.*, 14,973.
Yn *Jes. MS.*, y mae llin. 75-78 yn dilyn llinell 70.

[9] "Ag /o/ uffern oerwern ir." *Jes. MS.*

[10] "Pawb."—*Jes. MS.*
Yn *Jes. MS.*, y mae llin. 79-80 yn dilyn llinell 110.

[11] Nid ydyw llin. 81-82 o gwbl yn *Jes. MS.*; ond ceir hwynt gyda golwg lled drwsgl arnynt yn *Add. MS.*, 14,973:—
"Llid ir blin dau finiog bla
un Sattan mewn lliw swtta."
Hwyrach mai wrth "liw swtta" y meddylir yr olwg druenus oedd ar "lu Satan," y rhai oedd yn dyoddef pla, neu boen, a ddysgrifir gyda'r ansoddeiriau llidiog, blin, a dau-finiog.

[12] "Pob dyn i ddyfyn a ddaw." *Add. MS.*, 14,973.
"Iawn pe bai ddawn pawb a ddaw."—*Jes. MS.*
"Yn ddyvyn" = *being summoned.*

Y varn vlin[1] gadarn vloedd
A thrydar i gweithredoedd[2]
Ewch ywr oes och wir iessu[3]
Dragowydd ofn[4] y dydd du
Ynna[5] bydd myn krevydd kred
levain ymwud[6] olived
ynno i gwelwn yn gwiw lyw[7]
yn ymddangos adsios[8] yw
Y modd ar y groes nowddloes ner
I gwanwyd ef dduw gwener[9]
Ar gorron hoelion[10] hylud
O ddrain am y tal[11] yn ddrud
A chethri dur drwy gur draw
A dolur draed a dwylaw[12]

Yn *Jes. MS.* y mae llin. 83-88 yn dilyn llinell 74.

[1] "Ar y farn flin"—*Add. MS.*, 14,973; "ar farn filain"—*Jes. MS.*

[2] "A thridiaw yn gweithredoedd."—*Jes. MS.*

"Trydar" = trystfawr.

[3] "Ewch o ras och wir Iesu." *Add. MS.*, 14,973.

"Uwch i ras och wir Iessu." *Jes. MS.*

[4] "Ofen."—*Add. MS.*, 14,973.

[5] "Yma."—*Jes. MS.*

[6] "Ymawd."—*Jes. MS.* Nid ydyw llin. 89-90 o gwbl yn *Add. MS.*, 14,973; yn *Jes. MS.* y maent yn dilyn llinell 80.

[7] "Yno y gwelwn yn gwiwliw." *Add. MS.*, 14,973.

"Yno gwelir ion gwiwlyw." *Jes. MS.*

Diau mai yr olaf ydyw y cywiraf. Yn *Jes. MS.* y mae llin. 91-94 yn dilyn llinell 88.

[8] Ni wyddom am y fath air ag "adsios," nac ychwaith am "aedios" yn ol y *Jes. MS.*; "agos" a ysgrifenir yn *Add. MS.*, 14,973, a diammeu mai hwnw sydd gywir.

[9] "Modd ar y groes naw loes ner
Y gnawd ef dduw gwener."
*Add. MS.*, 14,973.

"Modd ar /y/ groes now loes nêr
i/gwanwyd ar Dduwgwener."
*Jes. MS.*

[10] "Goron hoylion"—*Add. MS.*, 14,973; "goron hoelion"—*Jes. MS.*

Y mae yn amlwg mai gyda dechreu y llinell ddilynol y dylid cyssylltu y "goron" — coron o ddrain. Ond nid oes dim yn anghyffredin mewn dwyn i fewn wrthddrych arall cyn gorphen â'r cyntaf, fel y gwna Iolo yma. Wrth "hylud" y golygir eu bod yn glynu, neu yn sicrhau ei gorph wrth y groes.

[11] "Am i dal"—*Add. MS.*, 14,973; "am /i/ ben"—*Jes. MS.*

Ceir yma enghraifft o'r cyfnewidiadau bwriadol a wneir gan gopïwyr —"am i ben" = *on his head*, yn lle "am i dal" = *on his forehead.*

[12] "Ar kethri dur drwy gur draw
A dolur traed a dwylaw."
*Add. MS.*, 14,973.

Ar gweliau tomas tec
rydaer o waed yn redec[1]
Ynno gwae hwy rai anoeth
Ac ynno i kryn pob dyn doeth[2]
Ennaid a rroes Duw ynnof
Pann gyvriver kywirder kof[3]
Mihangel uriel eirian
Ar kleddyddau[4] tonau tan
Diau yw garllaw duwion
yn dethol yrhai doethion[5]
Yno i bydd dir hiraeth
yn uffern ar gethern gaeth[6]

Nid ydyw y llinellau hyn yn *Jes. MS.* Hoelion hirion a blaen llymion oedd y "cethri."

[1] "Ai weliau tonnau teg
rhydost ai waed yn rhedeg."
*Jes. MS.*

Credwn fod y darlleniad yma yn well na'r hwn a geir yn y testyn. Dysgrifir ei ddoluriau yma yn codi fel tònau ar hyd ei gnawd. Nid ydyw y llinellau hyn yn *Add. MS.*, 14,973.

[2] Nid ydyw y llinellau hyn yn *Add. MS.*, 14,973; ac yn *Jes. MS.* lleolir hwynt ar ol llinell 108:—

"Yna gwae /a/ fo anoeth
Ag yna kryn pôb dŷn doeth."

[3] "Enaid a roes Duw ynof
pan gyfryfer kwnor kof."
*Add. MS.*, 14,973.

"Yna i gwelir gowir go
Ennaid /a/ roes Duw yno."
*Jes. MS.*

Yn *Jes. MS.*, y mae y llinellau hyn yn dilyn llinell 100.

[4] "Kleddau."—*Add. MS.*, 14,973.

Y mae Iolo ar yr olwg gyntaf yn ymddangos yn lled farddonol yma pan yn dysgrifio yr angylion yn didoli yr annuwiolion ymaith gyda chleddyfau cyffelyb i donau o dân. Ond ar ail ystyriaeth nid ydyw ond alleiriad o Gen. iii., 24, lle y dywedir i gerubiaid gael eu gosod, "a chleddyf tanllyd ysgwydedig, i gadw ffordd pren y bywyd."

[5] Buasai "duwion" ar ddiwedd llin. 107 yn anhawdd ei egluro, heb gofio fod geiriau yn cael eu camgysylltu yn fynych mewn ysgriflyfrau. Y mae y darlleniadau canlynol yn ddigon o eglurhad ar ddyeithrwch ymddangosiadol y gair:—

"Diau yw garllaw duw Ion
yn dethol yr hau doethion."
*Add. MS.*, 14,973.

"Da iawn gida Duw iôn
yn dethol /y/ rhai doethion."
*Jes. MS.*

[6] Nid ydyw llin. 109-110 yn *Add. MS.*, 14,973; ac yn *Jes. MS.* y maent yn dilyn llinell 102;—

"Yna i keir drwy hirhawl
Uffern ar gethren gethrawl."

Yna bydd[1] mair air eirian
Ar dalau i gliniau glan
Yn dyrchavel gavel[2] gwyn
i dwylaw[3] i adolwyn
yw mab ai harglwydd ai mur[4]
Ar i llef ir i llavur[5]
Yn eurchwaer ac yn erchi
nef a thrugaredd i ni[6]
Kawn ran drwy nerth merch ana[7]
lliw dydd ymysk[8] y llu da
Ac am hyny gem honair[9]
Gorrau[10] i mi garru mair

Iolo Goch ai kant.

1 "Yno i daw." — *Add. MS.*, 14,973.

2 "Gafael"—*Add. MS.*, 14,973, a *Jes. MS.* "Gafael" = etifeddiaeth ?

3 "Ai dwlo."—*Add. MS.*, 14,973.
"I/ dwylaw er /i/ dolwyn."
*Jes. MS.*

Gallwn dybied fod y testyn yn anghywir; ond y syniad a geisir ei osod allan yw fod Mair, gan gyfeirio at ei "gliniau glân" a fu yn dal yr Iesu, yn dyrchafu ei dwylaw i "adolwyn" = i erfyn, neu eiriol.

4 Diammeu mai wrth "fur" y golygir *amddiffynfa*; ond y mae *Jes. MS.* yn rhoddi i ni ein dewis o ddau air, gan ysgrifenu y naill uwchben y llall—mur/myrr.

5 Y mae y llinellau wedi eu gosod yn wahanol yn *Add. MS.*, 14,973:—
"Aur i llef ir i llafyr
Yw mab ai harglwydd ai mur."
"Er /i/ llefain ai llafur."
*Jes. MS.*

6 "Yn eurchwaer ag yn erchi
nef a thrigaredd i mi."
*Add. MS.*, 14,973.
"Ior gwiwddoeth er /i/ gweddi
a /nawdd /a/ thrigaredd /i/
ni."—*Jes. MS.*

7 "Kawn ran gida merch Anna."
*Add. MS.*, 14,973

8 "Y mysg."—*Add. MS.*, 14,973.

9 "Gymhenair"—*Add. MS.*, 14,973, a *Jes. MS.*

10 "Gore"—*Add. MS.*, 14,973, a *Jes. MS.*

# LXIX.

## CYWYDD I DDEWI SANT.

*(O Lyvr Huw Lleyn—Add. MS., 14,967, fol. 108).*

Nid oes benawd i'r cywydd yn yr ysgriflyfr uchod, ond cyfeirir ato fel cywydd "I Vair" yn y cynnwysiad. Ond gan fod yn amlwg ddigon oddi wrth y cywydd ei hun mai i Ddewi Sant, ac nid i Fair, y cyfansoddwyd ef, yn gystal ag fod y penawd uchod i'w weled uwch ei ben mewn llyfrau ereill, defnyddiasom ef yma. Y mae y cywydd i'w weled hefyd yn *Add. MS.*, 14,970; yn *Y Piser Hir*, p. 317; yn argraffedig yn *The Works of Iolo Goch* (gan Robert Jones), tudal. 11, ac hefyd yn *Cymru*, am Medi, 1891, tudal. 66.

Y mae y cywydd ar y cyfan yn un lled dda, yn cynnwys llawer o linellau gwir farddonol; ac yn llawn mor ddeall-adwy ag unrhyw un o gyfansoddiadau y bardd. Ceir ynddo hefyd gryn nifer o gyfeiriadau hanesyddol, neu chwedlonol yn hytrach, yn dal cyssylltiad â'r testyn. Oddi wrth yr ail linell, gwelwn fod y bardd wedi cyrhaedd gwth o oedran pan ei cyfansoddodd, a'i fod yn dechreu ystyried y pwysig-rwydd o barotoi ei enaid gogyfer a'r amgylchiad difrifol oedd o'i flaen. Ac er mwyn gwneyd hyny yn briodol, pen-derfynai fyned ar bererindod i Dŷ Ddewi, er ymweled â bedd Dewi Sant.

Os ydyw meddu ar luaws o fywgraffiadau yn profi rhyw-beth, y mae Dewi ym mhlith y rhai pwysicaf o'r holl Seintiau. Ysgrifenwyd bywgraffiad iddo gan Ricemarch, tua'r flwyddyn 1090, yr hwn a gedwir yn yr Amgueddfa Brydeinig, dan yr arwydd *Cott. MSS., Vesp. A., XIV* Wedi hyny, tua'r flwyddyn 1200, ysgrifenodd Giraldus Cambrensis fywgraffiad iddo, yr hwn a gyhoeddwyd yn *Wharton's Anglia Sacra;* ac oddeutu yr un adeg a

Giraldus, cyfansoddodd John Teignmouth ei fywgraffiad ef, a gyhoeddwyd yn *Capgrave's Collection*. Y mae genym hefyd fuchdraeth o Dewi wedi ei chyhoeddi gan Leland yn ei *Collectanea*. Ac y mae "Buchedd Dewi Sant," yn Gymraeg, yn yr Amgueddfa Brydeinig, dan yr arwydd *Cott. MSS., Titus D., XXII.* Yn 1853, cyhoeddodd Rees yr olaf, yn gystal a bywgraffiad Lladin Ricemarch, gyda chyfieithiad o'r ddwy i'r Seisoneg, yn y *Lives of the Cambro-British Saints*. Ond y mae yn dra thebyg fod Dewi Sant yn ein dyddiau ni yn hanfod llawer pwysicach nag ydoedd yn ei oes ei hun. Tua'r flwyddyn 1120, canoneiddiwyd ef gan y Pab Calixtus II.; a daeth wedi hyny i gael ei ystyried fel nawdd-sant Cymru. Yn ol y "Bucheddau," ei dad oedd Sant ab Ceredig ab Cunedda, ac nis gellid pentyru digon o fri arno heb olrhain ei achau yn ol i "Eudoleu, fab Chwaer Mair, mam Iesu Grist." Ei fam oedd Non, merch Gynyr o Gaer Gawch.

Fel rheol, dywedir mai mab i Sandde oedd Dewi, ond nid ydyw hyny ond yr hyn a geir mewn ysgriflyfrau diweddar. Fel hyn y ceir achau Dewi yn *Jes. MS., E.* 119:—

"Dauyd vab sant. vab keredic. uab kuneda. uab edern. vab padarnn peisrud. vab deil vab gordeil. vab d6uyn. vab gord6uyn. vab amguoel. vab am6eryt. vab onut. vab perim. vab dubim. vab ongen. vab auallach. vab eugen. vab eudoleu. vab ch6aer veir wyry vam Jessu gst."

Er y dywedir i Dewi gael ei wneyd yn archesgob Cymru oll yn Senedd Frefi, yn y flwyddyn 519, y mae amseriad ei enedigaeth a'i farwolaeth yn aros mewn cryn ansicrwydd. Gesyd rhai ei enedigaeth yn y flwyddyn 445, ereill yn 462, ac ereill yn ddiweddarach drachefn; a gosodir amseriad ei farwolaeth yn y flwyddyn 544, 547, 601, a 609. Dywed rhai mai ei oedran yn marw oedd 82, ereill 97, ac ereill 147.

Ni fyddai amgen na gwastraff ar amser geisio beirniadu anghyssonderau yr amseriadau uchod, o blegid y mae llawer o'r hyn a ddywedir am Dewi mor llawn o'r elfen chwedlonol fel ag y mae, fel hanes difrifol, is law beirniad-

aeth. Rhagfynegwyd ei enedigaeth gan angel ddeng mlynedd ar hugain cyn i hyny gymmeryd lle; cafodd ei fam ei threisio, er mwyn amddiffyn ei diweirdeb; ond er cysgodi ei noethni codwyd mur trwy foddion goruchnaturiol ar y cae lle y cymmerodd y weithred le. Derbyniodd ei addysg mewn lle o'r enw Henllwyn; ac yno, cafodd rhai o'i gyd-ddysgyblion y fraint o weled colomen gylfin aur, tra yn chwareu o amgylch ei enau, yn cyfranu addysg ac yn canu emynau iddo. Bu wedi hyny dan addysg un Paulinus, a thrachefn gyda Garmon Sant. Yr oedd y gwyrthiau a gyflawnodd o ran eu rhif a'u hynodrwydd yn gyfryw fel ag yr oeddynt, yn ein tyb ni, yn ei osod yn gyfartal, os nad yn uwchradd, i Grist. Ond, diammeu nad oedd yn ei oes ei hun yn cael ei ystyried yn ddim ond athraw crefyddol tlawd, yn gwneyd hyny o ddaioni a allai, mewn ffordd ddigon syml, i'w gydwladwyr anwybodus. Pa fodd bynag, erbyn y ddeuddegfed ganrif—yn oes y rhamantau—amgylchynwyd Dewi â mantell o ffug gan y mynachod fel ag i ffurfio llinach o'r olyniaeth gyssegredig; ac hefyd er gwisgo eu crefydd â'r ffiloreg ofergoelus ag oedd yn ei gwneyd mor ddeniadol i ddychymmyg y werin.

Damvnno da im enaid
Heneiddio rrwy hynn oedd raid
Myned ir lle kroged Krist[1]
4 Kyd boed y ddevdroed ddidrist[2]
Mewn trygyff yma-n trigaw[3]
Ni myn y traed myned traw

[1] Hyny yw, Pererindod at y Bedd Sanctaidd.

[2] Os ydyw y bardd, fel y sylwa *R. J.*, yn cyfeirio at bererindod ar ddeudroed wedi myned yn fethiantus trwy oedran, y mae *ddidrist* i'w gymhwyso at y bywyd sydd tu hwnt i'r bedd; ond os cyfeirio y mae at bererindod cyn i'w oedran ei analluogi i'r daith, dylid cyfnewid y gair i *ddydrist*. Pa fodd bynag, "didrist" a geir yn yr oll o'r llyfrau a welwyd genym ni. Ond gwelir oddi wrth llinell 6 fod y bardd wedi myned yn rhy hen i gymmeryd taith i'r dwyrain fel y dymunai.

[3] "Mewn trygyff y mae'n trigaw."
*Add. MS.*, 14,970, *R. J.*, a'r *Cymru*.

Kystal am oval[1] ym yw
Vyned teirgwaith[2] i Vynyw
A myned kymyred[3] kain
Yr[4] hafoedd[5] hyd yn rruvain[6]
Gwyddwn lle mynwn y[7] mod
Ysdeddfol[8] ywr eisteddvod
Ymaenol ddewi mynyw[9]
mangre gain myn y groc yw

[1] "Ofal" a geir yn y llyfrau ereill. Ac y mae yn dra thebyg mai "ordal" (o gordal = *ordeal* = *atonement*) a ysgrifenwyd yn wreiddiol gan y bardd. Ceir ymadroddion cyffelyb yng Nghywydd Ieuan Rhydderch ap Ieuan Llwyd (*Iolo MSS.*, p. 300), ond ei fod ef yn dyweyd fod myned *ddwywaith* i Dŷ Ddewi yn gyfartal i un daith i Rufain, ac fod myned *deirgwaith* i Dŷ Ddewi yn gyfartal i un daith at Fedd Crist:—

"Cystal om ordal i mi
dwywaith fyned at dewi
a phe delwn kystlwn kain
o rif unwaith i Ryvain
myned dairgwaith araith yw
am enaid hyd y mynyw
i maen kystal a myned
i vêdd krist unwaith vydd krêd."

Er i ddinas ac eglwys gadeiriol Tŷ Ddewi ddyoddef yn drwm oddi wrth ryfeloedd creulon y Canoloesoedd, pan oedd y naill elyn ar ol y llall yn difrodi ac yn yspeilio; yr oedd y lle, trwy y lluoedd oedd yn myned yno ar bererindod, yn cynyddu yn fuan drachefn. Dywedir wrthym (*Lewis's Top. Dict. of Wales*) fod y rhoddion a offrymid gan y pererinion yn gymmaint fel yr oedd yr offeiriaid yn eu rhanu yn eu plith eu hunain trwy eu mesur, arbed y drafferth i'w cyfrif. Fe welir oddi wrth hyn fod crefydd (?) eisoes wedi talu ei ffordd yn dda— i wŷr eglwysig.

[2] "Deirgwaith" — *Add. MS.*, 14,970, *R. J.*, a'r *Cymru*.

[3] "Cynired"—*Add. MS.*, 14,970; "cynnired"—*R. J.*, a'r *Cymru*.

Y mae "cynnired" a "chymmyred" (= cymmyredd) yn golygu dau beth tra gwahanol. Meddwl y blaenaf ydyw *mynychu = ymweled yn aml*; tra y mae yr olaf yn golygu *rhodd*. Defnyddir y gair gan Dafydd ab Gwilym (*Barddoniaeth*, tudal. 452) pan y dywed:—

"Cwn pob parth ei cyfarthai,
Cymmyredd, na cherdd ni chai."

Credwn, felly, mai y testyn sydd gywir.

[4] "Ar"—*Add. MS.*, 14,970, *R. J.*, a'r *Cymru*.

[5] "Hafoed."—*Cymru*.

[6] "Rhufain" yn y llyfrau ereill.

[7] "Fy" yn y llyfrau ereill.

[8] "Ys deddfol" — *Add. MS.*, 14,970; "ys deddfawl"—*R. J.*

[9] "Ym Maenol Ddewi ym Mynyw."
*Add. MS.*, 14,970.
"Ym maenol Dewi'm Mynyw."
*R. J.*, a'r *Cymru*.

Ynglyn rrossyn maer Iesin[1]
A rol i wydd a gwydd gwin[2]
Ac vnic mvssic a moes[3]
A gwrle gwyr ag arloes[4]
A chytgerdd[5] hoyw loyw lewych
rrwng organ ychlan[6] a chlych
Ar trvblwm trwm tramawr[7]
Yn bwrrw sens i berri sawr[8]
Nef nevoedd gyoedd gain[9]
Ysta dref ystad ruuain[10]

Credwn fod *R. J.* yn gywir pan yn sylwi fod "maenol" yma yn golygu eglwys a chartref yr archesgob, yng nghyda'r adeiladau eglwysig o amgylch. Yn ei Farwnad i Rhys Nanmor (*Y Cymmrodor*, vol. ix., p. 38) sylwa Lewys Mon :—

"Nanmor o Faenor Fynyw
Nenbren pob awen pe byw."

[1] "Yng nglyn Rhossyn mae'r Iesin."—*Add. MS.*, 14,970.

Glyn Rhosyn yng nghantref Pebidiog (yn awr Dewisland Hundred) yn Sir Benfro, lle y saif Tŷ Ddewi. Gelwir y lle gan Giraldus Cambrensis yn *Vallis Rosina.*

"Iesin" = yr hyn sydd brydferth.

[2] "Ac oliwydd a gwydd gwin." *Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

"Ac oliwydd a gwŷdd a gwin." *Cymru.*

Gwelwn oddi wrth y darlleniadau hyn, er eu bod yn amrywio, mai y llinell yr amcanai copïwr y testyn ei hysgrifenu ydoedd :— "A'r oliwydd a gwŷdd gwin."

[3] Gwell na "A demmig musig a moes" yn y llyfrau ereill ; ond eto nid ydyw mewn un modd yn foddhaol. A ydyw "unic" yn y fan hon yn peidio a bod yn llygriad o *unique* = digymhar ?

[4] "A gwrlef gwyr ag arloes." *Add. MS.*, 14,970, a'r *Cymru.*

"A gwrlef gwŷr â gorloes."—*R. J.*

Gwrlef = *vocal music* ; gorloes = organ. Cyfeirir yma at ardderchawgrwydd gwasanaeth cerddorol Eglwys Gadeiriol Tŷ Ddewi.

[5] Cytgerdd = *chorus.*

[6] "Achlân" yn y llyfrau ereill. Achlân = yn gyflawn ; gan ddynodi, mae'n debyg, holl adnoddau cerddorol y lle.

[7] "Ar thuriblwm," gyda "thuribulum = y thuser. E.E." ar ymyl y ddalen, yn *Add. MS.*, 14,970 ; "thuriblwm," gyda "thurible, censer" ar waelod y ddalen, gan *R. J.*; a "thwriblwm" yn *Cymru.*

[8] "Yn bwrw serw i beri sawr." *Add. MS.*, 14,970.

Diammeu mai "sens" = *incense* (= arogldarth) sydd gywir ; gair o gyffelyb ystyr i *ddysgleirdeb* ydyw "serw."

[9] "Nef nefoedd yn gyhoedd gain" yn y llyfrau ereill ; ac yn ateb o ran hyd. Ystyriai Iolo y lle mor hyfryd fel yr oedd yn ei gymharu i nefoedd y gogoniant.

[10] "Ys da dref ysdâd Rhufain." *Add. MS.*, 14,970.

Paradwys gymry lwys lefyn
Por dewisdref paradwys drefyn[1]
Pedus[2] vu gan Sain Padric
Am sori Duw amser dic
Amerchi hynn amarch oedd
Iddo or lle a wnaeddodd[3]
Vynned ymaith o Vyniw[4]
Kyn geni Dewi da yw
Sant oedd ef on nev i ni
Kynwynol kynn ei eni[5]

Ac nid yn unig yr oedd Tŷ Ddewi yn gyfartal â'r nefoedd, ond â Rhufain hefyd ! ! Os cymmerwn eiriau y bardd am eu gwerth, rhaid fod ei syniad am y nefoedd yn lled gymmysglyd. Ac i fod yn gywir, er mwyn esgyneb, dylasai "Rhufain" ddyfod o flaen y "nefoedd," gan y tybiwn mai dysgyniad lled fawr ydyw syrthio o'r nefoedd i Rufain. Ond y mae y beirdd wedi cael eu trwyddedu i ddyweyd yr hyn a fynant.

[1] "Paradwys Gymru lwys lefn
Por dewis drefn pur dwysdrefn"—yn y llyfrau ereill.

Ysgrifenid *Gymry* am y wlad, yn gystal ag am y bobl, am dros ddau can' mlynedd ar ol amser Iolo Goch.

[2] Y mae yn amlwg mai gwall ydyw hwn am "pedrus," neu "petrus"; y darlleniad yn y llyfrau ereill ydyw :—

"Petrus fu gan Sain Patrig
Am sorri Duw amser dig."

Cyfeirir yma at waith St. Patrick yn digio oherwydd i'r angel warafun iddo lafurio yn y rhan hon o'r wlad. (Gwel Cywydd Rhif XXXV., llin. 44, nodyn 7.)

[3] "Am erchi hyn ammarch oedd
Iddo o'r lle a wnaddoedd."
*Add. MS.*, 14,970.

[4] Yn y llyfrau ereill ceir "Fynyw" = *Menevensis* = Tŷ Ddewi.

[5] Cyfeirir yma at y chwedl hono pryd yr aeth Non, pan yn feichiog ar Dewi, i'r eglwys i wrando ar Gildas Sant yn pregethu ; ond tarawyd y pregethwr â mudandod fel na allai lefaru gair. O'r diwedd cafodd allan yr achos, trwy y darganfyddiad y byddai y baban oedd yng nghroth y lleian yn fwy ei radd a'i urddas nag efe. Ac ar ol ei throi allan o'r eglwys, gallodd lefaru yn ddirwystr. Yng Nghywydd Dewi Sant gan Ieuan Rhydderch ap Ieuan Llwyd (*Iolo MSS.*, p. 298), yr hwn sydd yn dwyn cryn lawer o debygolrwydd i eiddo Iolo Goch, ceir y llinellau a ganlyn, yn cyfeirio at yr un amgylchiad :—

"Gildas yna gas anair
hêb alli pregethu gair
am vôd non wiw gainlliw gynt
is gil y ddor nys gwelynt
yn eglwys y groes oesir
i ganed hwn ganiad hir."

Sant glan oedd pan i ganed
Am hollir maen graen i gred[1]
Sant i[2] dad di ymwad oedd
Penadur saint pan ydoedd
Santes gydles lygadlonn
Vn ddi nam oedd nonn
Verch ynyr vawr i chenedl
Lleian[3] wiw uwch ydiwr chwedl
Vn bwyd aeth yni ben
Barra oer a beryrenn[4]
Aeth ym henn nonn wen wiw
Er pann gad pennaic ydiw[5]

[1] "Am hollti'r maen graen i gred."—*R. J.*

Cyflawnodd Dewi, yn ol y chwedlau, lawer o wyrthiau tuag adeg ei enedigaeth. Er enghraifft, pan oedd Non mewn gwewyr esgor, gwasgai faen oedd yn ei hymyl, yr hwn a dderbyniodd argraff ei bysedd fel pe buasai gŵyr. Yna holltodd darn o hono ymaith, yr hwn a neidiodd dros ei phen gan ddisgyn wrth ei thraed. Wedi hyny, adeiladwyd eglwys ar y fan, a rhoddwyd y maen yn sylfaen yr allor. Heb law hyny, yr oedd y fan y cymmerodd ei enedigaeth le, er fod y wlad oddi amgylch yn cael ei blino gan ystorm o fellt, taranau, a gwlaw, yn berffaith sych, a'r haul yn tywynu arno. A thrachefn, pan aed i'w fedyddio, gan nad oedd dwfr yn gyfleus, tarddodd ffynnon allan o'r tir sych i'r perwyl; a chafodd mynach dall, yr hwn a'i daliai, ei olwg trwy ymolchi deirgwaith yn y ffynnon hon! Y mae Ieuan Rhydderch ap Ieuan Llwyd yn manylu llawn cymmaint a Iolo ar y gwyrthiau hyn :—

"Pan esgores y pennaeth
y llêch yn ddwy lêch y ddaeth
duw wrth vedyddio dewi
a wnaeth ffons o ddwfr i ni
roes yw dad bedydd medd rai
i olwg gynt ny welai."

[2] "Ei" a geir yn y llyfrau ereill lle y ceir "i" yn y testyn.

[3] Sylwa *R. J.* mai enw priodol ydyw "Lleian" yma — merch i Brychan Brycheiniog, un o hynafiaid Non, mam Dewi. Ond ai nid Meleri, merch Brychan, oedd gwraig Ceredig, yr hwn oedd yn daid i Dewi? Tybiwn hefyd mai *Lluan*, ac nid *Lleian*, ydyw yr enw hwn.

[4] Beryren = *cress*. Dywedir i Non, tra yn feichiog ar Dewi, fyw ar fara a dwfr yn unig; ac y mae Ieuan Rhydderch ap Ieuan Llwyd yn dyweyd mai yr un ymborth a gafodd Dewi :—

"Bwyd dewi yn dra vy vyw
bara a dwfr bwriad afryw."

Ond y mae Iolo Goch yn ychwanegu "beryren" at hyny.

[5] "Ag aeth ym mhen Nôn wen wiw
Er pan gaed pennaig ydiw."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

Holl saint y byd gyd gerynt
A ddoeth[1] ir senedd goeth gynt
I wrandaw yn yr vndydd
I bregeth a ffeth oi ffydd[2]
Lle disgodd[3] llu dewisgoeth
Y[4] bu yn pregethu yn goeth
Chwemil saith ugeinmil saint
Ag unfil wi or genvaint[5]
Roed iddo vod glod glendyd
Yn benn ar holl saint y byd[6]
Kodes nid ydoedd ei essyn
Dan draed Dewi vry bryn[7]

"Ag aeth ymhen Non wen wiw,
Er pan gaed pen aig ydyw."
*Cymru.*

Y meddwl yw mai ar yr un ymborth ag yr ymborthai Dewi arno yr ymborthai Non hefyd ar ol ymddug o honi o'r "penaig" = penaeth.

1 "A ddaeth." — *Cymru.* Ysgrifonid "ddoeth" yn lle "ddaeth" yn fynych gan yr hen feirdd. Cyfeiriad a geir yn y llinellau hyn at Senedd Frefi, lle yr oedd y fath dyrfa wedi ymgynnull yng nghyd fel nas gallai neb bregethu iddynt nes cael Dewi yno, hyd yn oed pe llefarasai y pregethwr trwy udgorn. Mewn canlyniad, anfonwyd Deiniol, Esgob Bangor, a Dyfrig, Esgob Caerllïon ar Wysg, yn genadau ato, wedi i'r cenadau blaenorol aflwyddo. Yntau, y tro hwn, ar ol cryn betrusder, a gydsyniodd; ac a aeth gyda'r ddau esgob i'r Gymmanfa. Prif amcan y gymmanfa hon oedd gwrthwynebu heresi Pelagius.

2 "I wrandaw yn yr un-dydd
Ei bregeth a pheth o'i ffydd"
—yn y llyfrau ereill.

3 "Dysgodd"—yn y llyfrau ereill.

4 "Lle"—yn y llyfrau ereill.

5 Nid rhyfedd fod y bardd yn galw y fath nifer a 147,000 o saint yn genfaint. Y mae yn syndod i ni—neu yn fwy cywir, buasai yn syndod mawr pe gallasem gredu y chwedl—lle yr oedd yr holl gynnulleidfa hon yn cael bwyd a lletty. Ond, o ran hyny, diammeu i Dewi gyflawni gwyrthiau i wneyd y diffyg i fyny. A gallem feddwl oddi wrth yr hyn a ddywed Ieuan Rhydderch ap Ieuan Llwyd nad oedd yno un yn fwy na llai na'r nifer a nodir :—

"Mawr vy r nifer am gerynt
a gad ynghwm brevi gynt
Saith igain mil syth ganiad
o saith mil kynnil i kâd
a ddauth i bregeth ddethol
a wnaeth dewi sant yn ôl."

6 "Rhoed iddo fod glod glendid
Yn ben ar holl saint y bŷd"—
yn y llyfrau ereill.

7 "Codes nid ydoedd resyn
Dan draed Dewi Frefi fryn."
*Add. MS.*, 14,970.

Ev yn dec a venigawdd
Kantref o nef oedd ei nawdd[1]
Ar ennaint twymyn ar enic
Ni ddervydd trac owydd tric[2]

Y mae yn hawddach deall y dyfyniad wedi ei attalnodi, fel y gwneir gan *R. J.* :—

"Codes—nid ydoedd resyn—
Dan draed Dewi Frefi, fryn."

Yn ol y traddodiad, yr oedd y gynnulleidfa yn Senedd Frefi yn awyddus am i Dewi esgyn i ben crugyn o ddillad ag oedd wedi ei ddarparu fel areithfa. Ond gwrthododd. Yn hytrach na hyny, gorchymmynodd i ŵr ieuanc, yr hwn, pan oedd ar ei ffordd i'r gymmanfa, a godasai o farw, osod napcyn ar y ddaear mewn pant-le; ac ar hwnw y safodd i areithio. A phan yr oedd efe, yn y dull hwnw, yn pregethu yn llym yn erbyn heresi Pelagius, daeth angel o'r nefoedd yn rhith colomen wen, gan eistedd ar ei ysgwydd. Yna dechreuodd y ddaear godi dan ei draed, nes ymffurfio yn fryn uchel. A dywedir wrthym i'w bregethiad ar yr achlysur hwn, yng nghyda'r gwyrthiau cyssylltedig, brofi yn effeithiol i gadarnhau y bobl yn y ffydd.

Dywedir yn gyffredin mai enw arall ar Pelagius oedd Morgan. Ond tybiwn mai camgymmeriad ydyw hyny. Dychymmyg yn unig ydyw fod Pelagius yn cael ei alw yn Morgan, nac yn ddim heb law Pelagius.

1 "Ef yn deg a fendigawdd
Cantref o Nef oedd ei nawdd"
—yn y llyfrau ereill.

Yr ydym yn teimlo cryn anhawsder i benderfynu beth a ddylai fod y gair olaf yn llinell 59—pa un ai "venigawdd" (= fynegawdd) ai "fendigawdd?" Os y blaenaf, dylid cyssylltu y llinell â'r un o'i blaen; hyny yw, iddo fynegu "yn deg" o ben y bryn. Ond os yr olaf, gellir cyssylltu y gair â'r llinellau dilynol, sef iddo ddefnyddio ei nawddfraint trwy alw am fendith o'r nef ar y dwfr gwenwynig. Yr ydym yn tueddu yn gryf at olygiad olaf; ac os ydyw yn gywir, y mae y testyn yn wallus.

2 "Ar ennaint twymn arennig
Ni dderfydd tragywydd trig."
*Add. MS.*, 14,970, a'r *Cymru.*

"A'r enaint twym arennig
Ni dderfydd, tragywydd trig."
*R. J.*

Credwn nad ydyw Robert Jones wedi cael gafael ar feddwl yr ymadrodd "ennaint twymyn" pan y cynnygia fel eglurhad — "the unction; that is, the blessing." Cyfeiriad sydd yma yn hytrach at waith Dewi yn bendigo dwfr gwenwynllyd yng Nghaerbaddon, neu, a dilyn orgraff *Buchedd Dewi*, dywedir :—"Dewi a doeth yr lle yd oed dwfyr yn llawn o wenwyn, ac ae bendigawd, ac a wnaeth y dwfyr hwnnw yn dwym yn hyt dydbrawt, a hwnnw a elwir yr Enneint Twymyn." Ceir ymdriniaeth ddyddorol ar y chwedloneg hon gan y Proffeswr Sayce, mewn erthygl dan y penawd "The Legend of King Bladud," yn *Y Cymmrodor*, vol. x., p. 207.

Duw arithiawdd dygn gawdd dic
ddeu blaidd anian ddievylic[1]
a deuwr hen o dir hud
gwydre astrvs ac odrud[2]
Am nevthur drud amtir gynt
rvw bechod arybuchynt[3]
Ai mam pa ham y bai hi
Yn vleiddiast oerfel iddi[4]
A dewi geth ai duc wynt
Oi hir ben yni evr bwynt[5]

[1] " Duw a rithiawdd dygngawdd dig
Ddeuflaidd o anian ddieflig."
*Add. MS.*, 14,970.
"Duw arithiawdd, dygn-gawdd dig
Ddeu-flaidd o anian ddieflig."
*R. J.*

[2] Y darlleniad yn y llyfrau ereill sydd fel y canlyn :—
" Deuwr hên oedd o Dir Hûd
Gwydro astrus a godrud "
gyda nodyn ar ymyl y ddalen yn *Add. MS.*, 14,970, gan Iolo Morganwg :—" Sir Benfro a elwid gynt Gwlad yr Hud. I. M." Ond deallwn oddi wrth Fabinogi Manawyddan, fab Llyr, a'r Trioedd hynaf (*Text of the Bruts*, pp. 57, 308) fod Dyfed yn cael ei galw unwaith yn Wlad yr Hud a'r Lledrith ; a rhan o Ddyfed ydyw Sir Benfro.

Sylwa Robert Jones fel y canlyn ar yr ail linell o'r ban hwn :—"GWYDRO and ODRUD. No authentic account has been handed down of these persons, nor yet of the particular sin they committed. The lives of St. David, in *The Cambro-British Saints*, do not mention them." Ni buom ninnau nemawr mwy llwyddiannus, ond credwn mai yr un rhai ydynt a Gwydneu Astrus a Gwydrut. Cyfeirir atynt yn Mabinogi Kulhwch ac Olwen (*Mabinogion*, Oxford edit., p. 111) fel y canlyn :—" Deu geneu gast rymi. g6ydrut. a g6ydneu astrus."

[3] " Am wneuthur drwg antur gynt
Ryw bechod a rybuchynt "—
yn y llyfrau ereill.

Rybuchynt = ddymunent. Ceir " puchwch, damunwch " ar ymyl y ddalen yn Nhestament Salesbury (1 Cor., xiv., 39) fel yn gyfystyr â *deisyfwch*, neu *byddwch awyddus* yn ol y cyfieithiad cyffredin. Arferir "Mi bechswn (buchswn) fyned" =*I would wish to go*, yn Sir Aberteifi.

[4] " Ai mam baham y bai hi
Yn fleiddiast oerfel iddi."
*Add. MS.*, 14,970
Ond yn fwy dealladwy gan *R. J.* :—
" A'u mam : ba ham y bai hi
Yn fleiddiast ? oerfel iddi ! "

[5] Yn llawer mwy naturiol, fel y gwelir, yn y llyfrau ereill :—
" A Dewi goeth a'u dug hwynt
O'u hirboen ag o'u herw-bwynt."

Diwallodd Duw i allawr
I vagl a wnnaeth miragl mawr[1]
Yr adar gwylld or redec
76 a yrai i'r tai vy Ior tec[2]
Keirw osclgyrn chwyrn chwai
Gweission uthir ai gwysnaethai[3]
Duw mawrth galan mawrth ymedd
80 i varw yr aeth ef i orwedd[4]
Bu ar i vedd diwedd da
Kain gler yn kanu gloria[5]
Yngylion nef ynglan nant
84 ar ol bod i arwyliant[6]
I bwll vthern ni vernir
Ennaid tyn yn anatir[7]
A gladder di over yw
88 ymynwent dewi y mynyw[8]

[1] "Diwallodd Duw ei allawr
Ei fagl a wnaeth miragl mawr"—yn y llyfrau ereill.

Hysbysir ni i Dewi, yng nghyda Teilo a Phadarn, gael ei anfon i Jerusalem, ym mha le y cafodd Dewi bedair anrheg gan y Patriarch, sef allor gyssegredig, ar yr hon y bu corff Crist yn gorwedd; cloch nodedig; ffon; a mantell; a'r pedair yn ei alluogi i wneyd gwyrthiau rhyfeddol dros ben. Dichon mai at yr allor hono y cyfeirir yma, ac mai y "vagl" (=*crozier*) a wnaeth y "miragl mawr" oedd yr un a gafodd gan y Patriarch yn Jerusalem.

[2] "Yr aradr gwyllt o redeg
Yrrai i'r tai fy Iôr têg."
*Add. MS.*, 14,970.

[3] "A'r ceirw osglgyrn chwyrn a chwai
gweision uthr a'u gwasanaethai."—*Add. MS.*, 14,970.

[4] "Duw Mawrth calan mawrth ymedd
I farw aeth ef i orwedd."
*Add. MS.*, 14,970.

Bu farw Dewi ar y laf o Fawrth. Sylwer fod y cyntaf o Fawrth yn y flwyddyn y bu farw Dewi yn syrthio ar ddydd Mawrth. Dywedir yr un peth hefyd yn y "Bucheddau."

[5] "Bu ar ei fedd diwedd da
cain gler yn canu gloria"—yn y llyfrau ereill.

[6] "Engylion nef yng nglan nant
Ar ol bod ei arwyliant."
*Add. MS.*, 14,970.

Hyny yw, fe aeth yr angylion i ganu *gloria* ar ei fedd ar ol cyflawni y gwasanaeth angladdol.

[7] "I bwll uffern ni fernir
Enaid dyn yn anad tir"—yn y llyfrau ereill.

[8] "A gladder di ofer yw
Ym mynwent Dewi Mynyw."
*Add. MS.*, 14,970.

Yr oedd y tir mor gyssegredig, yng ngolwg Iolo, fel na fwrid enaid yr hwn a gleddid yno i uffern.

Ni saing kythravl brychavlyd
ar i dir byth er da or byd[1]
Hyder awnaeth kanhiadu
gras da y grawys du[2]
Ir brytaniaid brut wyneb
y gwynad ynanad neb[3]
Pe bai mewnn llyfr or pabir[4]
bevnydd[5] mal haf ddydd hir
Noter a ffeblic un natur
a ffin a du a ffenn dur[6]

[1] "Ni sang cythraul brychaulyd
Ar ei dir byth er da'r byd"—
yn y llyfrau ereill.

Pa fodd bynag, os ydyw "Brut Aberpergwm" yn gywir, lladrataodd rhywun, oddeutu'r flwyddyn 1087, ysgrin Dewi, yng nghyda thrysorau o aur ac arian, o Eglwys Tŷ Ddewi:—"Ynghylch yr un amser y dygwyd ni wyddys gan bwy ysgrin Dewi a'r Trysorau auraid ac arianaid o Eglwys Mynyw" (*Myv. Arch.*, p. 699).

[2] "Hyder a wnaeth canhiadu
Gras da y garawys du"—
yn y llyfrau ereill.

"Kanhiadu" = caniatau.

[3] "I Fryttaniaid Frut wyneb
Y gwnaid rad yn anad neb"
—yn y llyfrau ereill.

Ceir cyfeiriad cynnil yma at haniad y Cymry o Frutus chwedlonol.

Y mae yn amlwg fod llinell 94 yn y testyn yn dra gwallus; ac anhawdd fuasai gwneyd allan y meddwl yn annibynol ar y llyfrau ereill.

[4] Wrth "pabir," yn ol y Dr. W. Owen Pughe, y golygir *brwynen*, neu *ganwyll frwynen*. Pabir a ddeillia o'r gair Lladin *Papyrus*, o'r hwn y deilliodd *papyr*.

[5] "Peunydd" — yn y llyfrau ereill. Dyweyd y mae y bardd yn y llinellau hyn, a'r rhai dilynol, pe buasai ysgrifenydd cyfarwydd yn ysgrifenu y naill ddydd ar ol y llall, a phob diwrnod fel hirddydd haf, mewn llyfr o faintioli anferth, na allasai mewn llai na thridiau a blwyddyn gofnodi yr holl weithredoedd daionus a wnaed gan Ddewi Sant wedi iddo ddyfod allan o'i neillduaeth a dechreu ar ei fywyd cyhoeddus.

[6] "Nottri Peblig un natur
A phin a du a phen dur."
*Add. MS.*, 14,970.

"Nottri Peblig" = *Notary Public*—ysgrifenydd proffesedig.

Sylwa *R. J.* y gallai ambell un lled benboeth ddeall yr ymadrodd "pen dur" fel prophwydoliaeth am y *steel pen*. Ond, tybiwn, os oedd gan Iolo ryw syniad o gwbl heb law cael rhywbeth i odli gyda'r llinell flaenorol, mai defnyddio ymadrodd ysgrythyrol yr oedd:—"O nad ysgrifenid hwynt yn y graig dros byth â phin o haiarn ac â phlwm!" (Job, xix., 24).





Yny sgrivenv bu ludd
I vuchedd ef ddi achudd[1]
Odid vyth yr daed a vai
yr enyd yr ysgrivennai[2]
Dridiau a blwyddyn drwydoll
a wnnaeth o ynniaith oll[3]

Iollo Goch ai kant.

[1] "Yn ysgrifennu bu budd
Ei fuchedd ef o'i achudd."
*Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*

"Yn ysgrifennu bu budd,
Ei fuchedd ef ddi achudd."
*Cymru.*

"Achudd' a olyga neillduaeth, felly wrth "ddi achudd," neu "o'i achudd," yr ydym i ddeall ei fywyd cyhoeddus.

[2] "Odid fyth er daed fai
Ennyd yr ysgrifennai"—
yn y llyfrau ereill.

[3] "Dridiau a blwyddyn drwydoll
A wnaeth ef o wyniaeth oll"
—yn y llyfrau ereill.

# LXX.

## KO. I GWENFREWI AI FFYNNON.

*(O'r Add. MS., 14,908, fol. 90).*

Ar tudal. 82 yn yr ysgriflyfr uchod, ysgrifena y Dr. W. O. Pughe fel y canlyn:—

"Y chwe chywydd canlynol a adysgrifenais i o hen gwrach sal o eiddo L. Morris, yr hwn a fwriwyd ymaith gan nad oedd ynddo ond y rhai hyn heb gopïau o honynt mewn ysgriflyfrau ereill yn y gell yn perthyn ir Ysgol—Mae'r cywyddau hyn wedi eu ysgrifenu yn union fel yr oeddynt yn yr hen lyfr yr oedd wedi 'sgrifennu, mae'n debyg o gylch diwedd teyrnasiad Elizabeth—W. Owen. 1788.

"Y cywyddau eraill a 'sgrifenais yn y llyfr hwn a gymmerais allan o gwrach arall o'r un dull a threfn—W. O."

Perthyn "Ko. i Gwenfrewi" i'r chwe' cywydd cyntaf a nodir, ac, fel y gwelir, y mae llawer o hono ar goll. Y mae y cywydd hwn i'w weled hefyd yn *Add. MS.*, 14,998, ond mor aneglur fel y mae bron yn annarllenadwy; a phriodolir ef yn yr ysgriflyfr hwnw i Iolo Goch. Cyfansoddodd Tudur Aled hefyd gywydd ar yr un testyn (Gwel *Traethodydd*, 1875, tudal. 72).

Y mae y traddodiadau am Gwenfrewi a'i ffynnon yn ddigon adnabyddus. Merch ydoedd, meddir, i Theuith (mab Eluith), arglwydd neu benaeth cyfoethog, yr hwn a roddodd i St. Beuno ddernyn o dir i adeiladu eglwys arno, a phenododd ef hefyd yn athraw crefyddol i Gwenfrewi ei ferch. Syrthiodd un Caradog, mab Alan, yr hwn oedd benaeth cymmydogaethol, mewn cariad â hi; ond cafodd ei bod mor ddiwair ag ydoedd o brydweddol. Gan na wnai hi dderbyn ei gynnygion, ymgynddeiriogodd gymmaint fel y

torodd ymaith ei phen â'r cleddyf. Llithrodd y pen i lawr ar hyd y llechwedd, ac ni arosodd hyd nes myned i'r eglwys, lle yr oedd Beuno ar y pryd yn cadw gwasanaeth. Cododd Beuno y pen, ac aeth efe a'r gynnulleidfa ddychrynedig ag ef at y corff. Gosododd Beuno y pen yn ol ar y corff, ac ar ol gweddïo, daeth Gwenfrewi yn fyw drachefn. Tarawyd Caradog yn farw yn y fan, gan farn; ac aeth ei gorff ymaith nas gwyddai neb i ba le. Tarddodd ffynnon allan yn y fan lle lladdwyd Gwenfrewi, ac y mae y ffynnon hono yn parhau i wneyd gwyrthiau, medd y Pabyddion. Bu Gwenfrewi fyw bymtheng mlynedd ar ol hyn, a chladdwyd hi yn Gwytherin. Symmudwyd hi o Gwytherin i Fynachlog St. Ægidius, yn Amwythig, yn amser y brenin Stephen. Robert, pennaeth y fynachlog hono, a ddyfeisiodd lawer o'r *hen* chwedlau a ddywedir am Gwenfrewi; ond y mae y chwedlau am rinweddau y ffynnon yn parhau i gael eu dyfeisio.

Rhedodd or ddauar hoewdeg
rho Duw o chwyl rhadau chweg
ffynnon gwell dafn na ffunnoedd
dwfr i flas da ŗeiwl[1] oedd
llei gwelwyd gynt helynt hawdd
. . . . chnant heddiw sydd wychnawdd
. . . . . a gartref wiwnef wedd
. . . Sant ai etifedd
. . . . gwen bu gwir
. . . . . gwir
. . . . hwyl
. . nwyl
. . . . . eg
. . . . eg
I le ffrwd o le ffriwdwysc
oleu win a elwir wysc

[1] Y mae *r* wedi ei hysgrifenu uwch y *v* yn "veiwl." Ai *reiol* a feddylir? "O raddol *reiol* ryw" (*Eos Ceiriog*, i., tudal. 138).

anwyl eglur wiw ynni
ennaint rhag pob haint yw hi[1]
er arddangos aur ddowngoeth
erw a dawn yno i doeth
ffyddlawn y bobol lawn y bwlch
ffynnon ag afon gyfwlch
er gwiw nawdd ir gwann eiddil
er gwared mawr ludded mil
ffawd mawr yw cael yn ael nant[2]
ffynnon a hon un ffynniant
Vair mor wyrdd varmor werydd
Ffons[3] vendigedig or ffydd
liwbryd lathrbryd o lethrbron
ffrwd teg[4] fal unwedd ffriw tonn
I dwr or ddol uwch gorllawr
ai mam a wnai wrthie[5] mawr
Ynn i berw yno i bwrrir
enw gwaith iawn yw a gwir
Dy . . . . . . wrth i Dadeni
. . . ar i heurfain hi
. . . ddolwg dda ddil;th[6]
. . m iach a byw a nych
. bydd yno cof lle . . . .
. budd a wna . y ff — y . . .

[1] Y mae yr ofergoelion yng nghylch rhinweddau gwyrthiol Ffynnon Gwenfrewi wedi cael eu hadgyfodi er ys ychydig yn ol. Cyrcha ugeiniau o bobl i Dreffynnon i ymofyn meddyginiaeth—ac, os ydyw hanner yr hyn a glywir yn wir, y mae yn syndod fod neb yn marw yno.

[2] Yr oedd Gwenfrewi, meddir, cyn iddi gael tori ei phen, yn byw mewn unigedd mynachaidd mewn dyffryn, yr hwn, o herwydd ei sychder, a elwid yn Sych Nant (*Lewis's Top. Dict. of Wales*, vol. i., s.v. Holywell).

[3] *Fons*, gair Lladin am ffynnon.

[4] Y mae y bardd yn gosod ffrwd fel enw gwrrywaidd—ffrwd *deg* a ddywedir yn awr.

[5] Pwy bynag oedd yr awdwr, y mae yn amlwg fod y ffynnon yn enwog am ei rhinweddau gwyrthiol yn ei amser ef.

[6] Gwelir oddi wrth y llinell ddilynol mai "ddilych" a ddylai fod.

. oi llawr y . . . . . .
. . l . . . eirw
bob un fal arian byw bydd
boglymau bob ddau glennydd
bob dri uchel i gwelais
bob pedwar llafar yw, r, llais
bagadau diliau rhag dig
bronvron avalau brufrig
braisc dreinwn dwr hywynn hoew
byrflwnc chwerthiniog borfloew
blodeu grym bu hoewdeg ras
blagur berw eglur briglas
mowrdeg lygadau mordwy
main grissial hoewal, n, hwy
ni wnaeth mab mab[1] mair mowr glarir mwyn
miragl erioed er morwyn
dann, r, haul daioni rhaid
degach o ddwr bendigaid
nis rhewodd y naws rhuddwyllt
nis llif hynt glaw na gwynt gwyllt
gwell yw nai ddeuwerth o dda
na thriagl byth ni threia
gwirod pobl gred gyffredin
gwell yw or hanner nar gwin
glendid mawr gloew undod mad
gwledd trigaredd trwy garriad
glochwyd mwgul goleuchweg
ar Reiddal verw ty . . . ail teg
gwisgi ddyfr gwaisg . . . .
diau na ffaid or g . . . . . . .
ar haul deg ar hol . . . . .
. . es er cadw ei . . . .

Jolo Goch. q.

[1] *Un* "mab" a ddylai fod yn y llinell droegl hon.

# LXXI.

## IR OFFEREN.

---

*(O Lyvr Huw Lleyn—Add. MS., 14,967, fol. 83).*

Y mae y cywydd hwn i'w weled hefyd yn *Add. MS.*, 14,970; ac y mae yn argraffedig yn *The Works of Iolo Goch* (gan R. Jones), p. 36.

Ystyrir yr Offeren y pwysicaf o wasanaethau Eglwys Rhufain ac Eglwys Groeg, ac yn yr hwn y gweinyddir y cymmun. Cynnwysir y gwasanaeth mewn pedair rhan: (1). Yr *Introitus*, neu y rhan barotoawl, yn cynnwys gweddïau, salmau, &c. (2). Y Cyssegriad, pryd y mae yr offeiriad yn cyssegru yr elfenau, gan adrodd y geiriau:— *Hoc est corpus meum, et hic est calix sanguinis mei,"* ar yr un pryd yn dyrchafu y bara a'r cwpan i'w dangos i'r gynnulleidfa. (3). Y Cymmun ei hun, yr hwn, ar ol adrodd rhai gweddïau pellach, a gyfrenir i'r rhai a ddymunant ei dderbyn. (4). Y *Post Communio*, sef ychydig o weddïau gan yr offeiriad, a darlleniad o Ioan, i., 1-14; yna, ar ol eu bendithio, y mae y gwasanaeth drosodd. Y mae yr offeiriad, pan yn gweinyddu y gwasanaeth hwn, yn sefyll wrth yr allor, gyda'i gefn at y gynnulleidfa, ac nid ydyw yn eu hannerch o gwbl, oddigerth ar ddiwedd rhai o'r gweddïau, pan y trydd atynt gan ddywedyd, "*Dominus vobiscum*" (Yr Arglwydd a fyddo gyda chwi), neu "*Orate Fratres*" (Gweddïwch, frodyr); ac y mae yn troi at y gynnulleidfa hefyd wrth ddarllen y gweddïau ar ol y Cymmun. Yn yr Eglwys Babaidd, y mae yr holl wasanaeth yn yr iaith Ladin; arferir yr hen Roeg yn yr Eglwysi Dwyreiniol, a'r Syriaeg ym mhlith y Maronitiaid a'r Jacobitiaid; ond ni weinyddir ef byth yn iaith gyffredin y bobl. Nid ydyw y

gynnulleidfa ychwaith yn cymmeryd unrhyw ran gyhoeddus ynddo. Pa fodd bynag, goddefir iddynt yn awr ddefnyddio llyfrau yn cynnwys cyfieithiad o'r gweddïau i'r iaith gyffredin, ar y rhai yr annogir hwynt i sefydlu eu meddyliau. Ond gallwn fod yn dra sicr nad oedd hyn yn oddefedig yn amser Iolo Goch. Nid ydyw y gwasanaeth yn y cyffredin yn parhau mwy na rhyw hanner awr, heb law ar y gwyliau ac amserau gosodedig, pan y mae cerddoriaeth a rhwysg anarferol. Er rhoddi gwell syniad i'r darllenydd am weinyddiad yr offeren, a'r defodau a arferir gan yr offeiriaid, ni a ddyfynwn a ganlyn o'r llyfr Pabyddol hwnw a elwir "*Allwydd neu Agoriad Paradwys*," tudal. 193-7:—

"Nid Pregeth, nid Exhortatiwn, nid Athrawiaeth, &c. Yw'r Offeren sanctaidd: ond Aberth Fawr y Crefydd Christianogl, a'r hon y mae'r bobl ffyddlon yn anrhydeddu ac yn addoli Duw. Hynny yw, sancteiddlawn Action Fawr a Solemn ydyw, yn cynnwys ynddi eihun nifer mawr o ddirgeleddus Rithiau, Arwyddion, Defodau a Gweithredoedd neu *Ceremoniau* sacraidd, yn gystal a geiriau. Yr hyn ni ddylai neb ei dybied yn rhyfedd, oblegid y gellir anrhydeddu Duw, ac *adeiladu* y bobl ffyddlon yn gymmaint a Gweithredoedd ac a Geiriau. Mae'r Offeiriad yn yr Offeren, er esampl, yn gwneuthur arwydd y Groes arno eihunan weithiau o'r talcen hyd tan y ddwyfron ac o'r ysgwydd asswy i'r ysgwydd ddeheu; weithiau ar y talcen yn vnic, weithiau ar y gwefusau yn vnic, weithiau ar y ddwyfron yn vnic; weithiau ar yr Offrymmau; weithiau ar y Llyfr neu'r allor; weithiau ar y bobl ffyddlon, &c. Yn gymmaint a'i fod ef yn yr holl Action sancteiddlawnhon, yn gwneuthur arwydd y Groes fendigedic 50 gwaith: yr hyn igyd sydd i'n cofio ni, y gwneir yr holl Aberth hon, er COFFA am ein Jachawdr Christ, megis y gorchymmynodd ef *Luc.* 22. 19. 1 *Cor.* 11. 24. (pan y gwnaeth ef yr Apostolion yn Offeiriaid) ac wrth hynny i *Adeiladu'r* ffyddloniaid. Yn ail, mae'r Offeiriad yn penlinio 12. waith ganmwyaf yn holl amser yr

Aberth ddirgeleddus hon wrth hynny i addoli Duw, ac i arwyddoccâu fod y ffyddloniaid o bedwar Parth y Byd yn rhoddi goruchaf anrhydedd iddo ef, yn Nhrindod y tri Personau Duwfawl; megis hefyd i ddangos, ei fod ef yn offrwm i'r Mawredd Duwfawl holl Addoliannau y 12. Apostolion, a deuddeg Lwyth Israel. Yn drydydd, mae ef yn curo ei ddwyfron 10. o weithiau yn yr holl Offeren, i arwyddoccâu trwy'r weithred benydiol honno, y gwir edifeirwch sy gantho ef, a chan yr holl ffyddloniaid am ddarfod iddynt dorri 10. Gorchymmynion Duw. Yn bedwerydd, mae'r Offeriad yn cussanu'r Allor 8. o weithiau (yr hwn yw'r nifer perffeithlawn) i arwyddccau wrth hynny fod Christ trwy ei Ddioeddefaint, wedi cymmodi yn berffeithlon y Genhedlaeth ddynol a Duw. Yn bummed, mae ef 8. waith hefyd yn cyfarch y ffyddloniaid presennol gan ddywedyd: *Dominus Vobiscum*, Bydded ein Harglwdd gyda chwi, i ddymuno a gofyn yn daer trwy eu cyfrwng hwynt bresennoldeb a chymmorth Duw i gyflawni yr Aberth honno yn deilwng. Yn chweched, mae ef yn cyssylltu ei ddwylo ynghyd, ynghylch 50. o weithiau ymmhob Offeren, i arwyddoccau y recolectiwn meddwl ac enaid a ddylai fod gan bawb ar yr amser hwnnw, megis hefyd yr vndeb chariad perffaith tuac at Dduw a dyn a ddylai fod ymmhob vn y fo yn offrwm yr Aberth Sancteiddlawn honno. Yn seithfed, mae ef yn gogwyddo neu'n gostwng ei benn 40. waith gan mwyaf, ymmhob Offeren, ac yn rhyw rai yn fynychach, i arwyddoccau yr Vfydd-dod y mae ef a'r holl ffyddloniaid yn ei addaw i Dduw, megis hefyd yr Vfydd-dod a gyflawnodd Christ i'w Dad tragywyddol, wrth wneuthur eihun yn Aberth tros y Genhedlaeth ddynol, yn ei Ddioddefaint bendigedic. Ac er dibennu, mae ef yn gogwyddo neu'n crymmu ei holl gorph 12. waith, ac o hynny beder gwaith mewn modd gostyngeiddach na'r llaill, wrth hynny i arwyddoccau gostyngiad Christ yn yr Ardd, fel y mae'r pedwar Evangelwyr yn ei adrodd, a'i ddiystyrwch a'i waeledd anfeidrol ef yn ei holl ddioddefiadau dolurus: a

hefyd i arwyddoccau, y gellir trwy ryglyddiannau Dioddefaint Christ (yr hyn yr ydys y pryd hynny yn ei GOFFA) cael iachawdwriaeth, os ceisir hynny a chalon gystuddiedig ostyngeiddlon. Ac fel hyn y gellid rhifo mwy na 300. o Rithiau, Arwyddion, a *Ceremoniau* Sacraidd a wneir ymmhob Offeren (yr hon erhynny a gyflawnir yn arferedic o fewn yspaid hanner awr) a phob vn ohonynt yn representu ac yn cynnwys amryw Ddirgeleddion ac Ystyriaethau Sacraidd hablaw y rhai a soniwyd ymma, y fai rhy hir i'w datgan yn hyn o fan, â'r cwbl wedi ei ordeinio i *Adeiladu'r* ffyddloniaid."

Yn anffodus, y mae y copïau a welwyd genym o'r cywydd hwn yn dwyn arwyddion amlwg o anghywirdeb. Ac y mae hyny, yn ychwanegol at amryw eiriau anarferedig, yn gwneuthur rhai rhanau o hono yn dra thywyll. Ond, wedi'r cyfan, yr ydym yn ei ystyried yn werthfawr—yn llawn mor werthfawr ag amryw a allem nodi o waith yr awdwr—yn gymmaint a'i fod yn cynnwys amryw gyfeiriadau at syniadau crefyddol y Cymry yn yr oes hono. Y mae yn cynnwys prawf digonol ynddo ei hun fod yr awdwr yn Babydd selog. Ond, os oedd yn grefyddwr o gwbl, nis gallasai fod yn ddim amgen. Pobl anwybodus ydyw y rhai hyny sydd â'u dyrnod byth a hefyd ar y Pabyddion. Onid oedd, ac onid yw, y Pabyddion yn ceisio gwasanaethu Duw fel Cristionogion ereill? Nid yw y ffaith nad ydyw Protestaniaid yn credu yr un modd a'r Pabyddion ddim yn profi fod y Pabyddion yn cyfeiliorni, yn fwy nag y mae y ffaith nad ydyw y Pabyddion yn credu yr un modd a'r Protestaniaid yn profi fod y Protestaniaid yn cyfeiliorni. Yr oedd purdeb ac ammhurdeb yn perthyn i Eglwys Crist y pryd hwnw, fel y mae purdeb ac ammhurdeb ynddi eto.

O Dduw am yr hynn oedd dda
I ddyn pawb ai hedduna[1]

[1] "Hadduna" — yn y llyfrau ereill.

I wneuthur owdwr ydwy
Tra vai a minne tra vwy[1]
Gwerddal[2] y ffydd a gerddodd
Gatholic vonheddic vodd
A bod gwae ef oni bydd
Gair ovyn yn gywir vfudd[3]
Oed budd a bod wrth i benn
orre ffair yr efferenn[4]
Ai dechrau mau dychwrych
Iawn waith yw kyffesu yn wych[5]
Efferren[6] dan nenn i ni
Air da iawnn ywr däioni[7]
Ai hoffis amyl ddewisso
I bawb or deunydd i bo[8]

[1] "I wneuthur owdwr ydwyd
tra fai a minnau tra fwyd."
*Add. MS.*, 14,970; gyda "ydwyf" a "fwyf" ar ymyl y ddalen yn lle y geiriau terfynol. Rhydd *R. J.* "Awdwr" yn lle "owdwr," yr hyn, yn ddiau, sydd gywir. Yr ydym yn methu a deall amcan y geiriau olaf yn llin. 3 a 4, ym mha ffurf bynag eu cymmerer.

[2] "Gwirddal"—*Add. MS.*, 14,970; "gwir-ddal"—*R. J.*

[3] "A bod gwae ef oni bydd
gair ofn yn gywir ufydd"—yn y llyfrau ereill.

[4] "Oed bydd a bob rhith i benn
Oreu ffair yw'r offeren"—yn y llyfrau ereill.

Y mae yn lled anhawdd penderfynu pa un ai y testyn ynte y darlleniadau ereill sydd gywir yn y llinellau hyn; ac y mae lle i ofni nad ydyw y naill na'r llall felly. Fel y maent, yr ydym yn methu a gweled unrhyw synwyr ynddynt.

[5] "Dechreu mau godychwrych
Iawn waith yw cyffesu'n wŷch"—yn y llyfrau ereill.
Ai nid oes perthynas rhwng "dychwrych," neu "godychwrych," â "godech" (*to lie hid*)? Os felly, tybiwn fod "godychwrych" yn golygu *dirgelwch*.

[6] "Offeren"—yn y llyfrau ereill.

[7] "Air da iawn yw'r daioni"—yn y llyfrau ereill.

[8] Yn *Add. MS.*, 14,970, y darlleniad ydyw:—
"A *hoffis* aml ddewiso
I bawb o'r deunydd y bo;"
gyda y nodyn canlynol gan Iolo Morganwg ar ymyl y ddalen:—"Ai hoffis *in al.* i.e. the office of the origin of the Trinity, &c.: I. M." "A'i *hoffis* aml ddewiso" ydyw darlleniad R. Jones, yr hwn a rydd y nodyn canlynol ar waelod y ddalen: "Hoffis, 'office,' or Roman Catholic 'Service.' There are the offices of 'the Trinity,' of 'the Virgin,' and others." Ond tybiwn mai at was-

Ai o[1] Drindawd ddoethwawd ddwyn
Ai o Vair Iownna vorwyn[2]
Ai or ysbryd gloyw bryd glan
Ai or dydd mae air diddan[3]
Ai or groc oedioc ydyw
Mawr ywr gwyrth ai or marw gwiw[4]
Ac o lawer rhwyddder rrad
Moddau arall medde urriad[5]
llawer ar yr efferenn
rrinwedd myn mair ddiwair wenn[6]
A gyrch drwy oroff goffa
Efferen daw i benn da

anaeth (*office*) yr Offeren y cyfeiriai Iolo, os ydym i ddeall y gair "hoffis" fel Cymreigiad o *office*—o blegid yr Offeren sydd ganddo dan sylw. Pa fodd bynag, yr ydym o'r farn mai gwall ydyw "hoffis" am *hoffus*—"Air da iawn . . . . a hoffus." Yn y llinellau dilynol y mae y bardd yn ymholi yng nghylch tarddellau y daioni y sonia am dano; ac yn eu cael oll, os ydym yn ei ddeall, yn cydgyfarfod yn yr Offeren.

[1] "O'r"—yn y llyfrau ereill.

[2] "Ai o Fair wiwia forwyn."
*Add. MS.*, 14,970.
"Ai o Fair, wirion Forwyn."
*R. J.*

[3] "Ai or yspryd glendid glân
Ai o'r dydd mae air diddan."
*Add. MS.*, 14,970.

Rhydd *R. J.* "glendyd" yn lle "glendid;" ac fe allai ei fod yn gywir pan yn tybied fod "o'r dydd" yn golygu *gwasanaeth y dydd*, megys dyddiau y saint.

[4] "Ai o'r grog oediog ydyw
Mawryw'r gwyrth ai o'r meirw gwiw"—yn y llyfrau ereill.

Gwell yw "marw" fel y mae yn y testyn—*y marw fu ar y groes.*

"Ai o lawer rhwyddder rhad
Modd arall meddai uriad."
*Add. MS.*, 14,970.
"Ai o lafer, rhwydd-der rhad,
Modd arall, meddai uriad."
*R. J.*

Sylwa *R. J.* ar y llinell gyntaf—"*Lafer*, 'laver,' the baptismal font. One MS. has *lawer*." Credwn ninnau mai "lawer" sydd gywir—"Ac o lawer . . . moddau arall."

Yn ol barn *R. J.*, llygriad o *henuriad* ydyw "uriad" a geir ar ddiwedd llin. 24. Yn ol Dr. W. O. Pughe, y mae yn gyfystyr ag *exalted one, elder.*

[6] "Llawer ar yr Offeren
Rhinwedd myn Mair ddiwair wen."—*Add. MS.*, 14,970.

Dull hynod o drwegl sydd gan y bardd i ddyweyd ei feddwl—Tyngu y mae i Mair fod llawer rhinwedd ar yr Offeren. Yn dilyn llinell 26, yn *Add. MS.*, 14,970, ac *R. J.*, ceir:—

"Dyn wrthi Duw a'i nertho
Ni hena ni fwygla fo."

Ac ymddengys i ni eu bod yn eithaf priodol yma; o boaibl wedi eu gadael allan o'r testyn mewn amryfusedd.

Angel da a vydd yngod
Yn rrivo kludeirio klod[1]
Pob kam medraf a damec
oi dy hyd yr eglwys dec[2]
O bydd marw chwedl garw i gyd
oi sevyll yn ddisyvyd[3]
Os kyfraith loywiaith heb lid
Dda yn ol Dduw a wnelid[4]
Annodd i Arglwydd ynna
Ddwyn un geinhiagwerth oi dda[5]
Y bara fferren enyd
Da vur gost ar dwfr i gyd[6]
An pair kysbell yw velly
yn gymunol vreiniol vry[7]

[1] "Clod"—yn y llyfrau ereill. Os nad ydym yn camgymmeryd, dyweyd y mae y bardd fod angel yn sefyll ger llaw ac yn cofnodi ymddygiad dynion gyda golwg ar yr Offeren.

[2] "Pob cam mydr ddi ddameg
O'i dy hyd ei eglwys dêg."
*Add. MS.*, 14,970.

[3] "Os marw chwedl garw i gyd
O'i sefyll yn ddisyfyd"—yn y llyfrau ereill.

[4] "Os cyfraith loywfaith heb lid
Dduw yn ôl ddâ a wnelid"—yn y llyfrau ereill.

[5] "Anodd i Arglwydd yna
Ddwyn un geinhiegwerth o'i dda."—*Add. MS.*, 14,970.

"Annodd i arglwydd yna
Ddwyn un geiniogwerth o'i dda."—*R. J.*

[6] "Y bara Offeren ennyd
Da fu'r gost a'r dwfr i gyd"—yn y llyfrau ereill.

Awgryma *R. J.* mai gwall yw "enyd" am *ynyd*—Mawrth Ynyd. Nis gwyddom ai cywir hyn ai peidio; ond yr oedd "Mawrth Ynyd" yn ddiwrnod pwysig yn y wlad hon cyn y Diwygiad, gan y gosodid angenrheidrwydd ar bawb fyned i gyffesu eu pechodau. A rhag i neb ymesgusodi trwy roddi y bai ar eu cof, cenid y gloch yn eglwys y plwyf yn y boreu. Ac ar ol y Diwygiad, parhawyd i ganu y gloch am hir amser wedi i'r achos am dani ddarfod, a daeth i gael ei galw yn "*Pancake Bell*" (Gwel *Leisure Hour* am 1876, p. 94).

[7] "A'n pair cysbell yw felly
Yn gymunol freiniol fry."
*Add. MS.*, 14,970.

"A'n pair cyspell yw felly
Yn gymmunol freiniol fry."
*R. J.*

Cynnygia *R. J.* y gair *cauldron* yn gyfystyr â "pair," a dywed iddo ef fethu, ar ol cryn chwilio, a chael allan feddwl y bardd. Cyn rhoddi i fyny, awgrymwn mai at thuser yr arogldarth y cyfeiriai Iolo, neu yn hytrach, o'i gymmeryd mewn cyssylltiad â'r ansoddair "cysbell" (*condensed*), cyfeirio y mae at yr arogldarth oedd yn y thuser

Vo wnair o efferen vair vwyn
Moddus gorff i mab addwyn[1]
O waith prelad ai ladin
I[2] waed bendigaid o win
Teiriaith hybarch diwarchae
Mewnn yr efferenn y mae[3]
Raid yw tan wrth i chanu
Ro duw yn ddilwfr a dwr du[4]
Mi awn pam onitamwain
A bydd rraid tan kwyraid kain[5]
Wybrenaidd ar gyoedd gynt
I dduor haul a ddevynt[6]

[1] "Fe wnai'r offeren Fair fwyn
O ddwfr gorph ei mab addfwyn"—yn y llyfrau ereill.

Y mae yn llawn cystal genym ddarlleniad y testyn, os gallwn ystyried "moddus" yn gyfystyr â *lluniaidd*—lluniaidd gorff. Ac ymddengys i ni fod yma gyfeiriad diammheuol at athrawiaeth y trawssylweddiad.

[2] "Ai"—yn y llyfrau ereill.

[3] "Ym mewn Offeren y mae"—yn y llyfrau ereill.

Yn dilyn y llinell hon yn *Add. MS.*, 14,970, ceir y ddwy linell a ganlyn:—

"Lading berffaith loywdeg
Gryw, Ebryw, a Gröeg"

gyda'r nodyn a ganlyn, gan Iolo Morganwg, mae'n debyg, ar ymyl y ddalen:—"Y mae yma ryw wall mawr, neu anwybodaeth." Rhydd *R. J.* y ddwy linell uchod yn ei destyn ef, a sylwa yn lled briodol mai yr un ydyw y "Gryw" a'r "Gröeg," ond o bosibl i'r ddau air gael eu gosod i mewn o ran cynghanedd.

[4] "Rhaid yw tân wrth ei chanu
Rho Duw dilwfr a dwfr du"
—yn y llyfrau ereill.

[5] "Mi a awn pam ond damunaw
Y mae'n rhaid tân cwyraid caw"—yn y llyfrau ereill.

Nid ydyw y darlleniad hwn mewn un modd yn eglur, ond nid oes dadl nad ydyw yn well na'r testyn. Yr unig beth a allwn wneyd o hono ydyw canfod fod yma gyfeiriad at y canwyllau cwyr a oleuir yn yr Eglwysi Pabaidd. Dengys y cyfreithiau a briodolir i Hywel Dda fod y Cymry yn credu yn y canwyllau gymmaint a neb:—"Boned gwenyn o paradwys pan yw, ac o achaws pechawt dyn y doethant odyno, ac ydodes Duw y rat arnunt; ac wrth hynny ny ellir canu efferen heb y cwyr" (*Anc. Laws and Inst. of Wales*, vol. i., p. 738).

[6] "Wybren oedd ar gyhoedd gynt
I dduo byd a ddeuynt"—yn y llyfrau ereill.

rraid yw velly gwedy gwad
A glywais gael goleuad[1]
Llymar modd pam yr hoddir
Da vrawd yny gwin y dwfr ir[2]
Dwfr du vronn Iessu wiwsain
A ddoeth gwedi gwaed o ddain[3]
Penn i kyvodir wir waith
I vyny vod mab vwyniaith[4]
Ym hob lle pann ddarlleer
Vongial pwyll evengil per[5]

[1] "Rhaid yw felly gwedy gwâd
Arglywais gael goleuad"—yn y llyfrau ereill.

Hyny yw, dywed y bardd mai y rheswm a glywodd dros oleuo y canwyllau ydoedd, er coffhau y tywyllwch mawr a fu ar ddydd y Croeshoeliad.

[2] "Llyma'r modd pam i rhoddir
Da frawd yn y gwin dwfr ir"
—yn y llyfrau ereill.

[3] "Dwfr fry o fron Iessu wiwsain
A ddoeth gyda'i waed o ddain."—*Add. MS.*, 14,970.

"Dwfr o fron Iesu wiwsain
A ddoeth gyda'i waed oedd ddain."—*R. J.*

Y mae y bardd yn egluro yma eto fod yr Eglwys Babaidd yn cymmysgu dwfr gyda'r gwin ar sail i waed a dwfr ffrydio allan o ystlys Crist pan wanwyd ef â gwaywffon gan y milwr (Ioan, xix., 34). Yn *Allwydd neu Agoriad Paradwys*, tudal. 248, ceir a ganlyn ym mhlith y "Gweddïau ar yr Offeren :"—

"Enaid Christ sancteiddia fi, Corph Christ gwared fi, Gwaed Christ meddwa fi, y Dwfr o ystlys Christ golcha fi, Dioddefaint Christ conffordd fi, O Iesu daionus gwrando fi, yn dy Archollion cuddia fi. Na âd i mi fyngwahanu oddiwrthoti. Rhag y Gelyn maleisus amddiffyn fi. Yn awr fy angeu galw arnaf, a phar i mi ddyfod attoti, i'th foliannu di gyda'th Seinctiau tros oes oesoedd. *Amen.*"

[4] "Paham y codir wir waith
I fynu modd mau fwyniaith."
*Add. MS.*, 14,970.

"Pa ham y codir wir waith
I fynu modd fau fwyniaith."
*R. J.*

Nid ymddengys yr un o'r darlleniadau yn ddilwgr; ond y mae yn amlwg mai cyfeiriad sydd yma at ddyrchafiad yr elfenau.

[5] "Ym hob lle pan ddarlleër
Fyngial pwyll efengil per."
*Add. MS.*, 14,970.

Cyfeirir yma yn y gair "fyngial" (=*muttering*) at ddull yr offeiriad yn myned trwy ranau o'r gwasanaeth. Nis gallwn egluro y dull hwnw yn well na thrwy ddyfynu a ganlyn o *Allwydd neu Agoriad Paradwys*, tudal. 204 :—

"Yn siccr, mae'n rhaid i'r Offeiriad ddywedyd y rhan fwyaf o'r Offeren a lleferydd mor ddistaw, ac na bo'r Ministr y fo yn gwasanaethu yn eu glywed ef : fel y gallo

Yn bod yn barod berwyl[1]
I ymladd hoyw[2] radd yr wyl
Ar neb diwyneb uniawn
An ffalsai mwnai anawnn[3]
Pell rym pamd pwyll raid
Pum dewin pam y dowaid[4]
Yr effeiriad i bader
Yn ol dyrcha korph y ner[5]
Er dysgu a ffynur ffydd
I ni y vo yn vfuydd[6]

ef fod yn fwy attentif, ac a mwy dyfalwch ystyried y Dirgeleddion Sanctaidd y mae efe y pryd hynny yn eu trin : o blegid nad ei orchwyl ef yr amser hwnnw, yw dyscu'r ffyddloniaid (yr hyn sy raid i mi ei ddywedyd *eilwaith* ac *eilwaith* ac *eilwaith*, o ran cyndynrwydd rhyfeddol rhyw bobl wrthnysig, y rhai ni fynnant fod dim modd o Addoli a Gwasanaethu Duw, ond wrth ddysgu) eithr ei waith ef y pryd hynny yw parablu, traethu a delio a Duw, o'i herwydd eihun ac o herwydd yr Eglwys, a'r holl ffyddloniaid yn gyffredinol, ac yn fwy neilltuol oherwydd y rhai y fo yno yn bresennol; ac erfyn, ac eirioli, a gweddio o ran ei angenrheidiau corphorol ac ysprydol eihun, a'i rhai hwythau hefyd. Jë, yn y rhan bennaf a Sacreiddaf o'r Offeren, sef o ddechreu'r *Canon* hyd ddiwedd y *Cymmun*, y rhan fwyaf ac a ddywedir ar lafar vchel, yw'r *Pater noster* yn vnic. A thros yspaid o amser cymmedrol o'r Offeren, hynny yw, yn amser y ddau *Memento*, y naill o flaen a'r llall arol y cyssegriad, ac arol y Cymmun hefyd mae i'r Offeiriad fod heb lafaru dim nac yn vchel nac yn ddistaw, ond gweddio ar feddwl yn vnic, sef myfyrio trwy'r holl amser hwnnw."

[1] "Er ein bod yn barod berwyl" —yn y llyfrau ereill.

[2] "ryw"—yn y llyfrau ereill.

[3] "A ffalsai *nill nai* a wnawn"—yn y llyfrau ereill.

[4] "Pell i rym pañid pwyll raid
Pum dewin pam y dywaid."
*Add. MS.*, 14,970.

"Pell i rym, pan nid pwyll raid
Pen dewin, pan y dywaid."
*R. J*

[5] "Yr offeiriad ei bader
Yn ôl dyrcha corph ein ner" —yn y llyfrau ereill.

Dysgir yma yr athrawiaeth o draws-sylweddiad, yn yr awgrymiad fod yr offeiriad pan yn dyrchafu y bara yn dangos gwir gorff Crist.

[6] Y mae y testyn yn fwy dealladwy yma na'r llyfrau ereill :—

"Er dysgu a ffynnu'r ffydd
In ni efo yn ufydd."

Y syniad yw fod dyrchafiad yr elfenau yn addysg ac yn gyfnerthiad i ffydd y ffyddloniaid.

Arro pam y ra eraill
Or llu evengil ir llaill[1]
[2]Arlywydd tyngnevedd eirian
A madde mwygl eirie man[3]
Vcha stad onid gwad gwyr
Ar y Pab eirie pybyr[4]
Eillio troell well well wiw
Ar i siad o ras ydiw[5]
O son am ber efferenn
Pur i bwyll y pair oi benn[6]

[1] "Aro pam ir ai eraill
O'r llu i fengil i'r llaill."
*Add. MS.*, 14,970.
"Aro pam yr ai eraill
o'r llu i'Fengyl i'r llaill."--*R.J.*

[2] Yn blaenori llinell 77 yn *Add. MS.*, 14,970, ceir y ban a ganlyn:—
"Yn ol *Agnus* ni rusia
*Dei cytolus deus* da."

Coir ef yn yr un modd gan *R. J.*, gyda'r nodyn a ganlyn ar waelod y ddalen:—"*Cytolus*, 'Catholic' literally. It is here used for 'the Catholic Church.'" Nis gwyddom ar ba awdurdod yr oedd *R.J.* yn gwneyd yr haeriad hwn. Dyfynu geiriau y mae Iolo o wasanaeth yr Offeren:—

"Agnus Dei, qui tollis
peccata mundi, miserere
nobis."

"Oen Duw, yr hwn wyt yn
tynu ymaith bechodau y
byd, trugarha wrthym."

Yna, nid ydyw "cytolus" ond dull seiniadol Iolo i ysgrifenu *qui tollis*, ac nid oes a wnelo y gair o gwbl â *Catholic* na *Catholic Church.* Y mae y geiriau yn debyg yng nghyfieithiad Beza o Ioan, i., 29:—"Ecce Agnus ille Dei qui tollit peccatum mundi."

[3] "Arwydd tangnefedd eirian
A maddeu mwygl eiriau
mân"—yn y llyfrau ereill.

Tebyg mai "arwydd," ac nid "arlywydd," — er fod Crist yn arlywydd tangnefedd—a ddylai y gair cyntaf fod. Ond dylid cofio mai yr offeren a'i bendithion sydd dan sylw.

Rhy brin yr ydym yn gallu deall y priodoldeb o ddefnyddio y gair "mwygl" yng nglyn â'r beiau a faddeuir.

[4] "Ucha ysdad nis gwad gwyr
Ar y Pab eiriau pybyr."
*Add. MS.*, 14,970.

"Ucha ystâd, nis gwad gwŷr,
Ar y Pab, eiriau pybyr."
*R. J.*

[5] "Eillio troell wellwell wiw
Ar ei Siad, eres ydiw"—yn y llyfrau ereill.

Cyfeiriad at eilliad y tonsur (*tonsure*) ar y corun.

[6] "O son am ber offeren
Pur ei bwyll a'n pair i benn."
*Add. MS.*, 14,970.
"O son am bêr Offeren,
Pur ei bwyll â'n pair i ben."
*R. J.*

wyth rwym meneginiaeth raid
Yw ar vnwaith ir ennaid[1]
a rwydd der a gwarder gwiw
88 Kywir ffawd i'r korph ydiw[2]

Iolo Goch ai kant.

[1] "Wyth rym meddyginiaeth raid
Yw ar unwaith i'r enaid"—yn y llyfrau ereill.

Ymddengys hwn yn well darlleniad na'r testyn. Esboniad *R. J.* ar yr "wyth rym" ydyw fod y bardd yn defnyddio rhif penodol i osod allan yr ammhenodol lluosog. Nid oes genym ni[r] well, er nad ydym yn ei y[n] yn eglurhad o gwbl.

[2] "Arwyddder a gwarder
Gywir ffawd i'r corph
—yn y llyfrau ereill.

# LXXII.

## *OEDRAN A PHARHAD PETHAU BYDOL A PHETHAU NEFOL.

---

*(O'r Add. MS., 15,010, fol. 97b).*

Rhaid gadael y cywydd hwn ym mhlith y cyfansoddiadau ammheus. Yn y testyn, yn gystal ag yn *Add. MSS.*, 14,958, 14,971, 14,985; *Glanyrafon MS. C.*; *Flores Poetarum Britannicorum*, p. 2.; a *Cheinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 9, priodolir ei awduriaeth i Iolo Goch; ond nid ydyw yn y llyfrau hyn yn cynnwys mwy na 48 o linellau, a cheir rhai llinellau yn y naill a adewir allan yn y lleill. Priodolir ei awduriaeth i Sion Cent yn *Add. MSS.*, 14,906, a 14,984, a'r un modd hefyd yn *Iolo MSS.*, p. 286, lle y dywedir ar ei ddiwedd "Yr Athro Gân Sion y Cent ai Cant;" a rhoddir cyfieithiad i'r Seisoneg ar tudal. 677 o'r gwaith hwnw. Iolo Morganwg—neu ryw gopïwr arall—sydd yn gyfrifol am ysgrifenu "Yr Athro *Gân* Sion y Cent"—*gàn* a ddylasai fod, megys "y lleidr gan Ifan Ifans." I dafodiaith Sir Gaernarfon neu Sir Fon y perthyna hwn, ac nid ydyw yn arferedig yn Neheudir Cymru. Y mae y cywydd yn yr *Iolo MSS.* yn feithach o lawer na'r copïau a geir yn y llyfrau a nodir uchod—ac yn cynnwys 80 o linellau; ond gan mai enw Sion Cent a geir wrtho yno, ni fuasai yn briodol i ni ei osod yma; a rhaid oedd edrych am gopi ag enw Iolo Goch ar ei waelod, er ei fod yn llai perffaith. Rhaid i ni gyfaddef ein bod yn methu penderfynu oddi wrth yr arddull pwy yw ei awdwr. Pwy bynag ydoedd, y mae yn gywydd rhagorol—llithrig a barddonol.

Tri oedran hoywlan[1] helŷnt
Trioedd a fu Gyhoedd[2] gynt
[3]Tri oed pawl gwern a fernir
Ar Gi[4] da mewn Erwgoed[5] ir
A Thrioed Ci Iaith hoywrŷw
Ar Farx da dibarx er bŷw[6]
Trioed[7] marx dihafarx droed
Ar wr ond byxan ywr oed[8]
Tri oed Gwr herwr hoywrym[9]
Ar yr Hydd Llamidydd llym[10]
Tri oed Carw hwyrfarw hirfain
Ar fwyalx goed eurfalx gain[11]

[1] "Hoewlan."—*C. Ll. G.*

[2] "Gyfoed"—*Add. MS.*, 14,985; "gyfoedd"—*Glan. MS.*

[3] Yn blaenori lliu. 3, ceir y ban a ganlyn yn *Iolo MSS.* :—

"Tair blwydd oedran yn fannawd
Yw pawl gwern medd eppil gwawd."

Dyfynir hefyd yn yr *Iolo MSS.*, p. 677, linellau a briodolir i Hesiod, y rhai a osodant allan oedran gwahanol bethau, y rhai a gyfieithir gan y golygydd fel y canlyn:—

"The chattering crow lives nine ages of youthful men; the stag lives four times as long as the crow; the raven three times as long as the stag; but the phœnix nine times as long as the raven; while we fair-haired nymphs, daughters of Ægis-bearing Jove, live nine times as long as the phoenix."

[4] Dywed y bardd mai naw mlwydd yw oes ci—ac yn ol y ddiarheb Gymreig—"Naw mlwydd can' mlwydd ci," neu yn ol rhai "Deng mlwydd can' mlwydd ci."

[5] "Irgoed"—*Add. MS.*, 14,985; "argoed"—*Iolo MSS.*

[6] "A Thri oed ki maith hoiw riw
ar farch da /i/ barch er biw/"
*Glan. MS.*

[7] "A thri oed"—*Add. MS.*, 14,985, a *Glan. MS.*

[8] "Ar wr dywad bychan ywr oed."—*Add. MS.*, 14,985.

Llygriad o *diwad* ydyw y "dywad" a geir yn y darlleniad hwn.

[9] "Henwr hoiw rym"—*Glan. MS*; "toriad gwiwrym"—*Iolo MSS.*

[10] "Ar yr hudd llam hedydd llym."—*Glan. MS.*

"Ar yr hydd llamhidydd llym."—*Iolo MSS.*

Tebyg genym mai "llam hedydd" ac nid "llamhidydd" sydd gywir; o blegid ni wyddom fod dim tebygolrwydd neillduol rhwng yr *hydd* (*hart*) a'r *llamhidydd* (*porpoise*).

[11] "Ar fwyalch goyd eurfalch fain."—*Add. MS.*, 14,985.

"Ar fwyalch goed eirfalch gain."—*Iolo MSS.*

Tri oed y Fwyalx falxdeg
Ar Dderwen mewn Daearen deg[1]
[2]Tair oes Derwen a fernir
o warant hên ar Rwnn tir.[3]
Er hyd oes dâr yw harwain
Byr para'r hwya orhain[4]
Pob un o hyn rhwŷfŷn rhôd
A Dderfydd yn ddi orfod[5]
"Nid Gwiw i neb wrthnebu[6]
"Mor Ing y daw'r Angau du[7]
[8]"Angau ni ad yn angof
"Na Gwŷllt na diwŷllt na dof[9]
Nid a geisiawn Iôn gwiwsyth[10]
Y Gwr frŷ a beru byth
Yn y Nef yn Bendefig
Heb Drangc Heb orphen a drig

[1] "Ar y ddar uwch dayar deg."
*Add. MS.*, 14,985.
"Ar Dderwen Daiaren deg."
*Iolo MSS.*

[2] Nid ydyw llin. 15-18 yn *Add. MS.*, 14,985, nac yn *Glan. MS.*; ac nid ydyw llin. 17-18 yn *Iolo MSS.*

[3] "Gwarant yw ar y Grwn Tir."
*Iolo MSS.*
"O warant hen ar rwn tir."
*C. Ll. G.*

Hyny yw, tair oes y dderwen ydyw oes y Ddaear ei hunan. Ar ymyl y ddalen yn *Iolo MSS.* gosodir rhifnodau gogyfer a'r gwahanol bethau a nodir; a gwelwn mai oed ci ydyw 9 mlynedd; march, 27 mlynedd; dyn, 81 mlynedd; hydd, 243 mlynedd; bwyalch, 729 mlynedd; derwen, 2,187 mlynedd; Ddaear, 6,561 mlynedd.

[4] "O'r rhai'n."—*C. Ll. G.*

[5] "Oll honyn fal rhwymyn rhod
A dderfydd yn ddiarfod."
*Iolo MSS.*

[6] Rhoddir nodau dyfynol mewn rhai llyfrau am llin. 21-24.

Yn *Iolo MSS.* darllenir—"Ac nis gall neb wrth hebu," gyda "wrnebu" ar ymyl y ddalen.

[7] "Mor vnig /i/ daw /r/ angau du."—*Glan. MS.*
"Awr ing y daw'r angau du."—*Iolo MSS.*

[8] Nid ydyw llin. 23-24 yn *Add. MS.*, 14,985, na *Glan. MS.*

[9] "Angeu ni ad fwy'n angof
Y gwyllt na'r diwyllt ar dof,
Fal gwar a'r un drugaredd
Y rhydd glew i Bydew bedd,
Dywain ef ni ad yn ol
Anrhydedd fwy na'r hudol.
Ceisiwn anrhydedd gwiwsyth
Y Gwr fry a bery byth."
*Iolo MSS.*

[10] "Ni a geisiwn yma, gwiw syth."
*Glan. MS.*

Heb Liw nos Gwiw nos Ganu[1]
Heb Fwg heb Dywyllwg du
Iexyd heb orfod oxain
O Glwyf Mor Iaxed ar Glain[2]
Pawb yn Ddengmlwydd arwydd[3] Ior
Ar hugain heb ddim rhagor
Lle mae pob prif Ddigrifwx
a Phlas ein Penadur fflwx[4]

[1] "Heb liw nos gwynos ganu." *Add. MS.*, 14,985, a *Glan. MS.*
"Dydd heb nos cunos canu." *Iolo MSS.*

[2] "O glwyf cy iached a'r glain." *Iolo MSS.*

Y mae "mor iached a'r glain" yn ddywediad cyffredin yng Ngwynedd. Dyfyna Mr. J. Gwenogvryn Evans (*Trans. Liverpool National Eisteddfod*, p. 545) y diarhebion hyn :—

"Cyn iached a'r brithyll.
Cyn iached a'r ceiliog.
Cyn iached a'r glain."

Dyfynir hwynt hefyd gan y Parch. T. O. Jones (*Diarebion y Cymry*, tudal. 140), yr hwn a ychwanega atynt:-

"Mor iached a'r cricksyn (pryf tân)."

[3] "Herwydd."—*Iolo MSS.* Deng mlwydd ar hugain oedd Crist pan yn dechreu ar ei fywyd cyhoeddus; ac yna tybir gan rai mai hyny fydd oed y saint byth yn y nefoedd, h.y., heb fyned yn hŷn na hyny.

[4] Yn *Iolo MSS.* y mae llin. 35-36 yn dilyn llin. 28; ac yn dilyn llin. 34 i'r diwedd ceir :—

"Y lle mae pob pwyll awen
Heb un bach a phawb yn bèn,
Awen a llên yn ei lle
Da i achreth fal bu'r dechre,
Gochel uffern Gethern gaeth
Ai helwyr drwy hy alaeth,
Lle mae'n barod cyfnod cas
Bachau cigweiniau gwynias,
A rhew er hynn cynn canoed
Ar iâ ni thoddwys erioed,
A maglau rhwydau mal rhod
Meginau peiriau parod,
A chloi uffern o iernyn
Ar fuchedd dialedd dyn,
A phawb yn taflu a ffon
Eneidiau am anudon,
Ag yfed mewn gogofydd*
*gwagofydd.
Gyda'r ffeils a gwadu'r ffydd,
Yno bydd llwm trwm trymfryd
Dyn a fu da iawn ei fyd,
Heb rhoi cardod i dlodion
Na dim er mwyn enw Duw Iôn
Gwrthod pader a fferen
Sul a gwyl a Selwi† gwenn,
†Selu.
Nid o hynny gwedy'r gwaith
Mawr gwybydd y mae'r gobaith,
Trown on bai trueni byd,
Yw awch hudlawn pechodlyd
Am gyfoeth annoeth unawr,
A phrif wyd ni phery fawr,
Awn heb au er golauad
I Eglwys Duw ein glwys dad,
Gwnawn gyfiawnder arferol
Er nef heb droi'r gwir yn ol,
I wan, bid ei enw yn ben
Hael Iesu rhoywn elusen
Os hynn a wnair gair gwrol
Ar hynt ni a gawn yr hawl
A thrugaredd a wedda
Yn y Bedd, a Diwedd da."

Goxel Uffern Gethern Gaeth
ai helwyr drwy hy Alaeth
Lle mae'n Barod Cyfnod Cas
Baxau Cigweiniau Gwynias[1]
a'r Eiry Gwŷn Cyn Camoed
a'r Ia ni thoddes Erioed[2]
A maglau rhwydau mal rhod
Meginau Peiriau parod
Awn bob ddau a goleuad
I Eglwys Duw ein Glwŷs Dad
A thalwn pam na thelir
Offrwm a Degwm o Dir.[3]

Iolo Gox.[4]

[1] "Lle /i/ mae yn barod, kydfod kâs
bachau kigweiniau gwinias/."
*Glan. MS.*

[2] "A rew gwyn kyn krynoyd
ar ia ni thoddes erioyd."
*Add. MS.*, 14,985.

"A rhew, a gwynt, kint kanoed/
ag ia, ni thoddes yr ioed."
*Glan. MS.*

"Ar eiry gwyn cyn can-oed,
Ar iâ, ni rhoddes erioed."
*C. Ll. G.*

Gwelir mai *ni thoddwys* a ddywedir am yr iâ yn ol yr *Iolo MSS.*, yr hyn a fuasai yn ddywediad naturiol i fardd o'r Deheubarth fel Sion Cent; ond *ni thoddes* a ddywedasai Iolo Goch. Gwall ydyw *ni rhoddes.*

[3] Y mae y Cywydd yn *C. Ll. G.* yn diweddu fel yn y testyn ; ond yn y llyfrau ereill diwedda fel y canlyn :—

"Kael trigaredd a wedda
Kael gu bedd diwedd da."
*Add. MS.*, 14,985.

"Kael bedd, a chael diwedd da."
*Glan. MS.*

[4] Ar ddiwedd y cywydd yn *Glan. MS.* ceir "Iolo Goch ai Kant," ac o dan hyny, mewn llaw ddiweddarach, "Lord of Dimbach 1400."

# CANIADAU AMRYWIAETHOL.

## LXXIII.

### *C. Y LLONG.

*(O Lyvr Huw Lleyn—Add. MS., 14,967, fol. 62).*

Y mae y cywydd hwn i'w gael hefyd yn yr un ysgriflyfr (fol. 71b), ac yn *Add. MSS.*, 14,866; 14,873; 14,964; 14,969; 14,970; 14,971, a 14,979; yn *Jesus MSS. E.* 139, p. 202, a *C.* 101, p. 103; ac yn argraffedig yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 11, a'r *Brython*, cyf. iii., tudal. 454. Gan fod hwn yn cael ei briodoli i Rhys Nanmor yn *Glanyrafon MS. K.*, fol. 59, yr ydym yn nodi ei awduriaeth fel yn ammheus. Ond tybiwn fod tystiolaeth cynnifer o ysgriflyfrau yn chwalu yr ammheuaeth.

Ymddengys i ni i'r cywydd hwn gael ei gyfansoddi pan oedd y bardd ar fordaith, neu fel mynegiad o'i brofiad tra yr oedd ar fordaith—er nad ydyw yn ein hysbysu i ba le yr oedd yn myned. Nid ydyw y cywydd mewn un modd yn hawdd ei ddeall; ac y mae y gwahanol ddarlleniadau o hono, y rhai ydynt yn amrywio cymmaint, yn lle ein cynnorthwyo, yn ein taflu i fwy o ddyryswch fyth. Pa fodd bynag, gellir deall trwyddo, fel y mae, nad oedd y bardd mewn un modd yn gallu gwneyd ei hun yn gartrefol nac yn gysurus mewn llong; ac y mae ei brofiad yng nglŷn a hi yn un tra annymunol, ac yn cael ei osod allan gan ansoddeiriau celyd a gwawdlyd. Prin y mae ganddo air da iddi o gwbl. Ond y mae ganddo ambell linell dra tharawiadol, yn gosod allan ei gwasanaeth a'i chyflymder; ac y mae, yn awr ac eilwaith, yn rhoddi dysgrifiadau bywiog o'r

llong, gan ei chyffelybu i amrywiol wrthddrychau o fewn cylch adnabyddiaeth pobl nad ydynt forwyr. Nid oes yn y cywydd eiriau morwrol, ond rhai y gŵyr pawb eu hystyr; a gallem feddwl mai ychydig a wyddai Iolo Goch am forwriaeth.

Y mae yn y cywydd fath o gyflwyniad—ond fod y cyflwyniad ar ei ddiwedd—i Rhys ap Robert o'r Kinmael (neu *Kinmel*, fel yr ysgrifenir ef yn awr). Yn *Add. MS.*, 14,970, gogyfer a llin. 56, yr hon yn yr ysgriflyfr hwnw a ddarllena "Eryr celmyn ir cilmael," sylwa Iolo Morganwg:—"Eurog helm i aer cilmael *in al.* Cilmael is in Flintshire. I.M." Ac heb law y nodyn ymylddalenol hwn, sylwa ym mhellach ar ddiwedd y cywydd, yn yr un ysgriflyfr, fel y canlyn:—

"Y *Cilmael* sydd yn Sir Fflint rhwng Abergeleu a Llanelwy. Y mae yn y Parc yno'r tyfiant ardderchoccaf o Goed yn holl Wynedd: gwelir yno, yn gowri mewn maint Derw, Llwyf Rhufeinig, Castanwydd perion, Cyll Ffreinig, Ffyrwydd, Ffawywydd (Beech) a Ffinidwydd (Pine) lawer miloedd o honynt. I. Morg."

Ni wyddom am le yn Sir Fflint o'r enw *Cilmael*; ond y mae'n ddiammeu mai Kinmael Hall a feddyliai Iolo Morganwg. Ac os felly, nid oedd yn hollol gywir wrth ei leoli yn Sir Fflint, er ei fod bron ar ei therfyn. Saif Kinmael ym mhlwyf Llan San Sior, yn y rhan ogledd-ddwyreiniol o Sir Ddinbych; ac yn amser Iolo Goch ei feddiannydd a'i breswylydd oedd Rhys ab Robert, neu Rotpert. Ac ato ef y cyfeirir yn y cywydd dilynol. Ceir taflen achyddol o'r teulu yn *Hist. Powys Fadog*, vol iv., p. 344, o'r hon y gwnawn y talfyriad a ganlyn:—




a
b
Syr Howel ab Gruffydd. Gelwir ef gan Lewys Dwnn, vol. ii., yn "Sir Howel y Fwyall."
Tangwystl, merch Dafydd Goch ab Howel ab Ieuaf, Arglwydd Arwystli.
Syr Rhys ab Gruffydd.
Tudur Hen ab Goronwy, o Tref y Castell (Gwel Cywydd Rhif XXIV).
Gruffydd ab Syr Howel.
Nesta.
Syr Gruffydd Llwyd, yr yr hwn a aeth a'r newydd i Edward I. eni ei fab yng Nghastell Caernarfon.
Syr Rhys Hen.
Robert, neu Rotpert ab Gruffydd, o'r Kinmael.
Lleuci, merch Cynwrig ab Rotpert ab Iorwerth ab Rhirid ab Ednowain Bendew. Ei mam ydoedd Alis, merch Ithel Fychan ab Ithel Llwyd ab Ithel Gam, Arglwydd Mostyn.
Rhys ab Rotpert, o'r Kinmael [at yr hwn y cyfeirir yn y cywydd].
Gwladys, merch Madog Lloyd, o Bryn Cunallt.
Rotpert ab Rhys
Margaret.
Lleucu Llwyd=Howel ab Tudor ab Ithel Fychan, Arglwydd Mostyn.
Gruffydd Llwyd
Erddylad.
Rhys ab Gruffydd
Eva.
Ieuan ab Rhys
Angharad.
Gruffydd Llwyd
Alice
Richard ab Ieuan ab Ithel ab David ab Ithel Fychan o Laneurgain.
Catherine aeres Kinmael=Piers Holland, o'r Faerdref, yr hwn a fu farw yn 1552.

Bu Kinmael hyd ddechreu yr eilfed ganrif ar bymtheg ym meddiant teulu Holland; yna priododd merch i David Holland, o'r enw Elizabeth, Syr John Carter. Gwerthwyd ef gan un o'i hiliogaeth i Syr George Wynn, o Coedllai, yr hwn eto a'i gwerthodd i Mr. David Roberts, ac yn olaf gwerthodd Roberts ef i'r Parch. Edward Hughes, tad Arglwydd Dinorben. Ei breswylydd a'i berchenog yn awr yw nai Arglwydd Dinorben—sef Mr. H. R. Hughes, Arglwydd Raglaw Sir Fflint.

Fe welir fod cryn lawer o gyfnewidiadau ym mherchenogaeth y Kinmael wedi cymmeryd lle er amser Iolo Goch, â'r hwn le, fel y gwelwn, yr oedd y bardd yn ddigon cydnabyddus, ac yn dra chyfeillgar gyda'r perchenog; a lle yr hiraethai am fod—yn yfed o'i *aur* fragod—pan yn cyfansoddi y cywydd.

Annodd ym vn awddamawr[1]
Ar y llong oer yw i llawr[2]
Kyfryw[3] ffrwd keu vawr[4] i ffrost
Karchardy ar kwrrw chwerwdost[5]
Ar eol ddu ar wal ddic[6]
Ar gloyw seidr[7] oer gloesiedic

[1] "Anhawdd im roi un hawddammawr." — *Add. MS.*, 14,970.
"Anodd ym un hawddamawr." *Add. MS.*, 14,964.
"Annodd um roi un hawddamawr."—*Jes. MS.* 101.
"Ai hawdd um roi hawddomawr."—*Glan. MS.*
"Hawddammawr" = croesawu, neu longyfarch.

[2] "Ar i llong oer yw i llawr." *Jes. MS.* 139.
"Ary llong ag oered y llawr." *Glan. MS.*

[3] "Cyfrwy."—*Add. MS.*, 14,964.

[4] "Ceufawr."—*Add. MS.*, 14,970, a *Jes. MS.* 139.

[5] "Carchardy uwch cwrw chwerwdost."—*Add. MS.*, 14,970.
"Carchardy ar y cwrw chwerwdost."—*Add. MS.*, 14,964.
"Karchardu i kwrw chwerw dost."—*Jes. MS.* 139.
"Kyrchardy y kwrw chwerwdost."—*Glan. MS.*

[6] "Ar wâl ddu oer awel ddig." *Add. MS.*, 14,970.
"Ar wal ddu ar eol ddig." *Add. MS.*, 14,964.
"Ar wal ddu oer awel ddig." *Jes. MSS.* 139, 101.
"Or wal ddu oer awel ddig." *Glan. MS.*

[7] "Siedyr"—*Add. MS.*, 14,964; "Seidr"—yn y llyfrau ereill.

[1]Ni bo wyll gyvlo gevvlong[2]
Hawdd amawr i lawr i long[3]
Krevydd mawr kryf oedd imi[4]
O veinddyn llesc vyw ynddi[5]
Rokian[6] a wnai bai o beth
Ar ei hochr oer ei[7] hachreth[8]
Kasty ym oedd kowsty myr[9]
Kastell ingl[10] kist y llongwyr
Kasasam aml i chamlyw[11]
Alch noe olychwin yw[12]

[1] Yn *Add. MS.*, 14,970, yn blaenori llin. 7 ceir :— .
"Hawdd ammor oerfor arfoll
Im Ion am cyfeillion oll."

[2] "Na bo wyll gyflo gyflong." *Add. MS.*, 14,970.
"Ag na bytho gyflo goflwng." *Add. MS.*, 14,964.

[3] "Hawdd ammawr yn llawr y llong."—*Add. MS.*, 14,970.
"Hawddamor ywch llawr y llong."—*Add. MS.*, 14,964.

[4] "Cerydd mawr cur oedd i mi." *Add. MS.*, 14,970.
"Crefydd mawr cryf oedd ini." *Add. MS.*, 14,964.

[5] "O feinddyn llesg fyw ynddi." *Add. MSS.*, 14,970, a 14,964.

[6] "Rhoccian." — *Add. MSS.*, 14,970, a 14,964.

[7] "I."—*Add. MS.*, 14,964.

[8] "Hachreth" = crynfa.

[9] "Cost im oedd er cost i myr." *Add. MS.*, 14,970.
"Cas Dyw i hoes cwestiwn hŷr."—*Add. MS.*, 14,964.
"Cas dyw yn oes koes dun wyr."—*Jes. MS.* 139.
"Cast um oedd er cost i myrr." *Jes. MS.* 101.
"Kasty im oes koesty mur." *Glan. MS.*
"Cosb im' oedd er cosbi mŷr." *C. Ll. G.*
Ymddengys i ni fod y darlleniad olaf yn rhagori o ddigon o ran naturioldeb; ond o bosibl nad ydyw yr un a geir ar waelod y ddalen yn *C. Ll. G.* yn well fyth :—"Cas dŷ oedd im', cawsdy mur."

[10] "Castell ing" — *Add. MSS.*, 14,970, a 14,964; a *Jes. MSS.* 139 a 101.

[11] "Cest feindeml amyl o gamlyw."—*Add. MS.*, 14,964.
"Kysundam aml y kamliw." *Glan. MS.*
Gwallau y copïwyr, yn ddiameu, yw "kasasam" a "kysundam;" ond y mae "cest" (=*hold*) yn air digon adnabyddus.

[12] "Golwch noe golych win yw." *Add. MS.*, 14,964.
"O lych noe olychwin yw." *Glan. MS.*
Os "alch" ydyw y darlleniad cywir, cyfeirir at ffenestr y llong.

[1]Huddigl gutt derw chwerth i chwys[2]
henvon hoywalgron welwgrys[3]
Kertwain glo nid cwrt iawn glan[4]
Karthenwyl keuroth anian[5]
Ffriw vchel wrach vin grach vord[6]
Ffroengau ystrodr ffrwyngord[7]
lled noe llun llevad newydd[8]
lletbai val hen vuddai vydd
Esgudtwr ysgod toreth
Ysgrin saith gyvelin seth[9]
Ysgud lem wilff esgydlaid[10]

[1] Yn *Jes. MSS.* 139 a 101 y mae llin. 17-18 yn dilyn llin. 14, gan adael allan llin. 15-16.

[2] "Hwch o rudderw chwerw ei chwys."—*Add. MS.*, 14,970.
"Hyddyglyd dderw chwys." *Add. MS.*, 14,964.
"Hi ddylü grüd dderw chwerw i chwys."—*Jes. MS.* 139.
"Hwch o rudderw chwerw i chwys."—*Jes. MS.* 101.
"Hyddygl rrudd dderw chwerw i chwys."—*Glan. MS.*

[3] "Henson ddu welwgron waelgrys."—*Add. MS.*, 14,970.
"Henfon hoyw waelgron welwgrys."—*Add. MS.*, 14,964.
"Henfon hoyw hwylgron welwgrys."—*Jes. MS.* 139.

"Henfon" = enw barddonol ar fuwch. Arferid y gair, yn yr oesau boreuol, pan y cedwid un fuwch, a dim ychwaneg, ym mhob teulu.

[4] "Certwyn glo nid cwrt dyn glân."—*Add. MS.*, 14,970.
"Kertwen glo nid kwrt wig lan."—*Jes. MS.* 139.
"Kertwain log nid kowrt wraig lân."—*Glan. MS.*

[5] "Karthen hwyl kry kroth anian."—*Jes. MS.* 139.

Diau mai hwn yw y darlleniad goreu, yn yr hwn y dysgrifir yr hwyliau wedi eu llanw â gwynt.

[6] "Ffriw uchel wrach fingrach fort"—yn y llyfrau ereill.

[7] "Ffroengau ystrodur ffrwyngort."—*Add. MS.*, 14,970, a *Glan. MS.*
"Ffroenau yscwdyr ffrwyngort."—*Add. MS.*, 14,964.
"Ffrwyngaü ystrodur ffrwyngort."—*Jes. MS.* 139.

[8] "Lle no llun lleuad newudd." *Jes. MS.* 139.

Cyffelybir y cylch a wna y rhan uchaf o'r llong sydd uwch law y dwfr i ffurf lleuad newydd, ond y llestr ei hun i hen fuddai.

[9] Nid ydyw y llinellau hyn yn y mwyafrif o'r llyfrau, ond yn *Add. MS.*, 14,964, gosodir hwynt ar ol llin. 28 :—
"Os gâd tŵr esgyd twreth
Ysgrin faith gyfelyn Seth."

[10] "Esgydlawn wilff esgydlaid." *Add. MS.*, 14,970.

Ysgal[1] anwadal i naid
Geol wyddgrach goluddgraingk[2]
Gwilff rroth[3] pawb ai gwyl o Ffraingk
Min gamai[4] hi mewn gwınmon[5]
Morkath[6] ai brath dan i bron
[7]Mwy a dal i mal[8] no mork[9]
Mwys gergam ymwasgargork[10]
Kaiff serthedd kyffes Arthur[11]

"Ysgytlefn wilff ysgytlaid."
*Add. MS.*, 14,964.
"Ysgydlam wilff ysgadlaid."
*Jes. MS.* 139.
"Yscudlam wilff yscad laid."
*Glan. MS.*
"Gwilff yscudlam" = caseg fuan.

[1] "Ysgâl" (o *scales*) = clorian. Cymhariaeth hapus, yn dysgrifio y naill ben i'r llong yn ymryson â'r llall am fod yn uchaf.

[2] "Gëol waeddgreg golûdd-grainc."—*Add. MS.*, 14,970, a *Jes. MS.* 101.
"Galai rhwyddgrax gulydd-grainck."—*Add. MS.*, 14,964.
"Heol waeddgreg goludd grainck."—*Jes. MS.* 139.
Carchardy ydyw "gëol" (*gaol*); "galai" (*galley*) = rhwyflong.

[3] "Roth"—*Add. MS.*, 14,970, *Jes. MSS.* 139 a 101; "rhox"—*Add. MS.*, 14,964; "ffroth"—*Glan. MS.*; "rhoth" = rhoncian.

[4] "Mingammai" — *Add. MS.*, 14,970; "Mingamai"—*Add. MS.*, 14,964; "Mingamer"—*Jes. MS.* 139; "Migamer"—*Jes. MS.* 101; "nimgamer" — *Glan. MS.* Mingamiad = *grimace*.

[5] "Gwymon"—*Jes. MS.* 139, a *Glan. MS.* "Gwymon" = *sea-weed*.

[6] "Morcath"—*Add. MSS.*, 14,970, a 14,964. Morgath = *a skate, a ray*.

[7] Yn *Add. MS.*, 14,970, yn blaenori llin. 33, ceir a ganlyn:—
"Hwch a fwrw o chyfeirir
Dorllwyth o dylwyth i d
Morgaseg hoywdeg hydyn
A drossai llwyth dros y llynn."

[8] "Mael"—*Jes. MS.* 139. "Mael" = ennillion.

[9] "Mort"—*Add. MSS.*, 14,970 a 14,964.

[10] "Mwys gwyrgam ym mysgar-gort."—*Add. MS.*, 14,970.
"Mwy ysgyrgam ymysg ir-gort."—*Add. MS.*, 14,964.
"Mwys gergam ymusg ir-gork."—*Jes. MS.* 139.
"Mwys gyrrgam ymysgar-gort."—*Jes. MS.* 101.
"Mwysc oeurgam ymusc ir-gork."—*Glan. MS.*
Golyga "mwys," ym mhlith pethau ereill, bum' ugain o ysgadarn; a gallem feddwl fod y gair olaf yn cyfeirio at y rhwyd—"irgort." Felly, llong bysgota sydd gan y bardd dan sylw yma.

[11] "Caiff serthedd cyffes Arthur."
*Add. MS.*, 14,970.
"Caiff serthes cyffes Arthur."
*Add. MS.*, 14,964.
"Caiff serthedd cyffes Arthur."
*Jes. MS.* 101.
Gadewir llin. 35-36 allan yn *Jes. MS.* 139.

36 Yny tyllvaen maen val mur[1]
A hevyd tiowryd ta[2]
Ni da vyth un di vetha[3]
Ir ddugest oer arddigor
40 Iddi hen almari mor[4]
Iangwraic bol yngroec y bu[5]
Angorddwr eang oerddu[6]
Hwch ddinas ddiras ddain[7]
44 Hadlestr hil brenrestr bronrain[8]
Llydan ysled grayan grec[9]
Llamair gwys llo mor gasec[10]

[1] "Rhwng tyllfaen y maen a'r mur."
*Add. MS.*, 14,970, a *Jes. MS.* 101.
"Yn y tyllfaen maen fel mur.'
*Add. MS.*, 14,964.

[2] "A hefyd diofryd da."
*Add. MS.*, 14,970.

[3] "Nid a fyth im difetha"—yn y llyfrau ereill.

[4] Dilynir y testyn gan mwyaf yn y llyfrau ereill, gydag eithrio y *Glan. MS.*, yn yr hwn y darllenir :—
"Ir ddugest oer ar ddigoel
Iddi hen almari moel."
"Arddigor" = *a habit*; ond nid ydyw y gair yn arferedig yn bresennol. Prin yr ydym yn gallu canfod gwahaniaeth rhwng "dugest" (*black chest*, neu *locker*) ag "almari" = cwpbwrdd. Defnyddir y gair "almari" gan amryw feirdd cydoesol â Iolo Goch, megys Dafydd ab Gwilym a Rhys Nanmor.

[5] "Iengwraig bol ynghrog i bu."
*Jes. MS.* 139.

[6] "Yn gorddwfn i hangorddu."
*Add. MS.*, 14,964.
"Yng oerddwr eang oerddu."
*Jes. MS.* 139.
"Angorddwr eang oerddu."
*Jes. MS.* 101.

[7] "Hwch ddinas ddigwmpas gain."
*Add. MS.*, 14,970, a *Jes. MS.* 101.
"Hwx ddinas addas iddain / addain."
*Add. MS.*, 14,964.
"Hwch ddinas addas i ddain."
*Jes. MS.* 139.

[8] "Hadlestr hwyl braenlestr bronlain."
*Add. MS.*, 14,970, a *Jes. MS.* 101.
"Hadlestr a hwyl braenlestr brain."
*Add. MS.*, 14,964.

[9] "Llydan ysléd grafan greg."
*Add. MS.*, 14,970.
"Llydan ysled grayan greg."
*Jes. MS.* 139.

[10] "Llamair gwys llom oer gasseg."—*Jes. MS.* 139.
"Morgaseg" = tòn (*wave*).

Ŝared goch domled amlwc[1]
Sarff oer megis march Syr ffwc[2]
Barm dew burm a dywalld[3]
Bolmoen sarff blowmones hallt[4]
Ogylch holl ffrydiav eigiawn[5]
Ewic y mor ogam iawn
llawer gwaith dioer oer oror[6]
Pan vu r llanw gwylld moelwyllt mor[7]
Yr hois hawddamawr hoywawr hael[8]
Euroc helm i rus Kilmael[9]

1 "Siared roth domled amlwg."
*Add. MS.*, 14,970, a *Jes. MS.* 101.

"Sarred oer domled amlwg."
*Add. MS.*, 14,964.

"Sarred hen dom led amlwg."
*Jes. MS.* 139.

"Sared" (o *chariot*) = cerbyd.

2 "Ŝarff vor megis marx Syr Ffwg."—*Add. MS.*, 14,964.

Nis gwyddom pa fodd yr oedd y llong na "sarff *oer*" yn debyg i farch Syr Ffwg. Credwn fod "sarff *for*" yn well na "sarff oer." Diammeu mai march buan oedd gan Syr Ffwg = Syr Ffowc Fitz-Warine, y gwron Normanaidd enwog a flodeuai yn amser Harri I. Ac o bosibl mai am ei bod yn fuan y cyffelybai Iolo y llong i'r march.

3 "Berw mae'n dew burn a dowallt."
*Add. MS.*, 14,964.

"Bir ym o daw fün a dowalld."
*Jes. MS.* 139.

"Berw mae dew burm a dowallt."—*Jes. MS.* 101.

"Brem a dau burum a dowalld."—*Glan. MS.*

Y mae darlleniad *C. Ll. G.* yn fwy dealladwy i ni:—

"Berwi'n dew burm a dywallt."

4 "Bol mae'n sarn blomynes hallt."
*Add. MSS.*, 14,970, a' 14,964.

"Blowmones" = Negröes, gan gyfeirio at liw y llong.

5 "Og yn gorllyfnu eigiawn."
*Add. MS.*, 14,970.

6 "Llawer gwaith oerwaith oror."
*Add. MS.*, 14,970, a *Jes. MS.* 101.

"Llawer gwaith ddioer oror."
*Add. MS.*, 14,964.

"Llawer gwaith ddior oror."
*Jes. MS.* 139.

7 "Pan fai lanw gwyllt mawrwyllt mor."
*Add. MS.*, 14,970.

8 "Rhois hawddammor hoywior hael."
*Add. MS.*, 14,970.

"Rhoes hawddamŏr hoywfor hael."—*Jes. MS.* 139.

9 "Eryr oelmyn ir cilmael."
*Add. MS.*, 14,970.

"Oera celm ar y cilmael."
*Add. MS.*, 14,964.

"I rhiw kelmar y kylmael."
*Jes. MS.* 139.

lle roedd rys ai llys lafar[1]
Ap Robert ddi guert gar[2]
Ynno i kawn dawn dienic[3]
Wirod oi aur vragod vric[4]
Ynno dy hedd glo haedd glod[5]
Petwn y mynwn y mod[6]

Iolo Goch ai kant.[7]

[1] "Lle'r oedd Rys Lys ail lafar." *Add. MS.*, 14,970.
"Llei roedd Rhys a'i lys ail assar."—*Add. MS.*, 14,964.
"Lle roedd rhüs lüs lasar." *Jes. MS.* 139.

[2] "Ab Robert ddigwert gâr." *Add. MS.*, 14,970.
"Ap Rhotpart ddigowart gâr."—*Add. MS.*, 14,964.
"Ap robert i gwibert gar." *Jes. MS.* 139.

"Yno y cawn dawn dienwig." *Add. MS.*, 14,970.
"Yno y cawn ddawn ddiddig." *Add. MS.*, 14,964.
"Yno i kawn dawn dienig." *Jes. MS.* 139.

[4] "Ei wirawd aur fragawd frig." *Add. MS.*, 14,970.
"Wired ai awr fragod frig." *Add. MS.*, 14,964.
"Wirod ai aür fragod frig.' *Jes. MS.* 139.

[5] "Yno dihuddglo haeddglod." *Add. MS.*, 14,970.
"Ag yno hyddglo haeddglod." *Add. MS.*, 14,964.
"Yno dyhûddglo haeddglod." *Jes. MS.* 101.
"Yno dy hwyddglo haedd glod."—*Jes. MS.* 139.

[6] "Pettwn i mynnwn fy mod." *Add. MS.*, 14,970.
"Pettwn i mynwn i mod." *Jes. MS.* 139.

[7] Yn *Jes. MS. C.*, 101, arwyddir y cywydd hwn fel hyn :—"Iolo Goch ai Kant A.D. 1400"—ond ni ddylid rhoddi y pwys lleiaf ar yr amseriad, gan fod yr ysgrifiyfr yn un diweddar (o gylch 1630-1650).

# LXXIV.

## COWYDD Y LLAFURWR.

*(O Jesus MS., C. 101, p. 112).*

Y mae y cywydd hwn i'w gael hefyd yn *Add. MSS.*, 14,866; 14,875; 14,882; 14,885; 14,964; 14,966; 14,972; 14,975; 14,976; 14,984; 15,029, a 24,980; ac y mae hefyd yn argraffedig yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 6.

Gellir rhestru hwn ym mhlith y goreuon o gyfansoddiadau Iolo Goch. Yn ei flaenori yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig* ceir crynodeb lled gynnwysfawr o hono, gan y golygydd (y Parch. Owen Jones); ac yr ydym yn hoffi y sylwadau yn gymmaint fel y tybiwn nas gallwn wneyd yn well na'u dyfynu yma:—

"Y mae ein Bardd yn y Cywydd isod yn rhoddi darluniad tra naturiol o'r Arddwr;—'Y Llafurwr;' neu, y dosbarth ammaethyddol yn ei oes ef. Wedi rhagymadrodd byr, efe a ddarlunia y dosbarth yn dwyn nodwedd grefyddol, yn ol synied yr oes Babaidd hono am grefyddolder,—yn ofalus am dalu ei 'Offrwm a'i ddegwm i Dduw.' Yn ganlynol, efe a'i darlunia yn elusengar a llettygar; ac y mae yr arwedd yma yn aros i fesur helaeth ar amaethwyr Cymru hyd yr oes hon; y rhai a dra rhagorant mewn llettygarwch, ar fonedd eu gwlad; ac ydynt yn llawer rhwyddach o 'gardod a lletty,' i'r tlawd a'r di gartref, nag ydyw pobl glŷd ein trefydd. Un arall o arweddau 'yr arddwr' yn oes Iolo Goch, oedd fod ei wybodaeth yn gyfyngedig i'w offer hwsmonaeth;—'Ni rydd farn eithr ar arnawdd,'—ac y mae yn ddrwg genym ddywedyd, mai ychydig ydyw awydd, ac ymdrech y dosbarth yma yn ein gwlad eto, am gyrhaedd gwybodaeth gyffredinol, o'r gwyddonau a'r celfyddydau.—

Arwedd arall a briodola ein Bardd i'w 'Lafurwr,' ydyw gonestrwydd, a heddychlonedd, yr hyn a barai ei fod yn dewis cymeryd cam yn hytrach na 'gyru hawl, gymerawl gain,' mewn llys cyfreithiawl.

"Yn ganlynol efe a ddengys mor bwysig ydyw i gymdeithas, ac i bob dosbarth, a graddau ynddi.—'Nid bywyd, nid byd heb ef.' Dadleua na's gall Pab, Amherawdr, na Brenin wneyd hebddo, yn gyson a thystiolaeth yr Ysgrythyr,—'Wrth dir llafur y mae y Brenin yn byw,' Preg. v. 9. Dysgrifia ef fel un boddlawn ar ei ran, yn canu Emyn wrth ddilyn ei aradr, ac yn bwytta ei gwynos-fwyd ar ei glun, yn mol y clawdd. A chyn y diwedd, cyfeiria at HU GADARN, fel tad ac athraw ammaethyddiaeth yn mysg cenedl y Cymry; fel y tystia Trioedd Ynys Prydain;—'Tri Chyfarwysawg Cenedl y Cymry: Cyntaf, Hu Gadarn, a ddangoses y ffordd i aru tir gyntaf i genedl y Cymry, pan oeddynt yn Ngwlad yr Haf, sef y lle y mae Constantinoblis yn awr, cyn no'u dyfod i Ynys Prydain.'"

Gallwn grybwyll mai o'r drydedd gyfres (sef y leiaf ei gwerth) o'r Trioedd y mae Owen Jones yn dyfynu yma.

Pan ymddangosson ffynon ffydd
pobl y byd pawb o lu bedydd[1]
Garbron Duw kvn evddyn oedd
gwiw iaith ddrud i gweithredoedd[2]

[1] Gwahaniaetha y darlleniadau o'r ban hwn yn fawr; ac anhawdd fyddai penderfynu pa un ydyw y goreu:—

"Ban ddangoso rhwydd dro rhydd
bobl y byd beibl i bedydd."
*Add. MS.*, 14,966.

"Pan ymddangosso rryw dro rhydd
Beibl y byd bobl lu bedydd."
*Add. MS.*, 14,964.

"Pan ddangoso rhyw dro rhydd,
Peibl y byd, pobl y bedydd."
*C. Ll. G.*

[2] Yn *Add. MS.*, 14,966, y mae y ban hwn yn cael ei osod ar ol llin. 6. Y mae y darlleniadau yma eto yn amrywio:—

"Gar bron Duw rwn owddwn oedd
Gwiw iaith ddrud i gweith redoedd."
*Add. MS.*, 14,966.

"Gar bron Duw Gun eddyn oedd
gwiw iaith ddrud i gweithredoedd."
*Add. MS.*, 14,964.

Ymhen mynydd llei bydd barn
i gid olifer[1] gadarn
teg fydd chwedel diledlais[2]
llafurwr[3] tramwywr maes
o rhoddes ef er hoyw-dduw[4]
offrwm ai ddegwm i dduw
ai[5] gardod trwy gowirdeb
oi[6] lettu[7] ni neku neb
Enaid da yna uniawn
a dal i dduw dyle[8] ddawn
hawdd i lafurwr hoywddol
hyder ar[9] ddûw ner ynol

"Ger bron Duw gwyn briddyn oedd
Gwiw iaith ddrud a'r gweithredoedd."—*C. Ll. G.*

Pa beth bynag am y darlleniadau ereill, y mae y testyn yn ddigon amlwg ei ystyr pan gofiwn fod "cun" yn golygu *Arglwydd*—"Gar bron Duw *Arglwydd*"—"Euddyn (h.y., oiddyn) oedd"=agos oedd.

[1] Mynydd "Olifer"=Olew-wydd. Y mae *C. Ll. G.* yn anghywir wrth roddi "oleufer"=ysblander.

[2] "Teilwng fydd chwedl diledlaes."—*Add. MS.*, 14,966.
"Teg a vydd chwedl diedlaes." *Add. MS.*, 14,964.
"Teilwng fydd chwedl ddi ledlaes."—*C. Ll. G.*

Cyfieithir y llinell, dan y gair "Diedlaes" gan y Dr. W. O. Pughe fel hyn:—"Fair is an unhesitating expression."

[3] "Llafyrwr."—*Add. MS.*, 14,964. Gellir crynhoi yr hyn a ddywed y bardd o'r dechreu hyd yma fel y canlyn:—Pan ymddangoso pobl y byd ger bron Duw i gael eu barnu ar Fynydd yr Olew-wydd, gall y Llafurwr siarad yn ddigryn, os wedi cyflawni yr hyn a ddywedir rhag llaw.

[4] "O rhoddes or gwir hoyw-dduw."—*Add. MS.*, 14,966.
"O rhoddes ef wr hoyw-ryw." *C. Ll. G.*

Y darlleniad olaf ydyw yr hawddaf i'w ddeall.

[5] Gwell nag "O" yn *Add. MSS.*, 14,966, a 14,964, a *C. Ll. G.*

[6] "O" yn y llyfrau ereill.

[7] "Letty."—*Add. MS.*, 14,964.

[8] "Dylai"—*Add. MS.*, 14,966; "dyly"—*Add. MS.*, 14,964. Os nad ydym yn camddeall y bardd, yr oedd ei syniadau ar y mater hwn yn dra gwahanol i'r hyn a goleddir gan y mwyafrif o Gristionogion y dyddiau hyn—tybiai efe fod gweithredoedd da y llafurwr yn rhoddi hawl iddo i'r nefoedd.

[9] "O"—*Add. MS.*, 14,966; "i"—*C. Ll. G.*

ni fynn farn eithr i arnawdd[1]
ni chair yn i gyfair gawdd[2]
ni ddeil ryfel ni ddilyn
ni ddiva[3] am i dda ddyn
ni bydd rhy gadarn arnam
ni hawl yn gymhedrawl gam[4]
nid addas onid dioddef
nid bowyd nid byd heb ef[5]

[1] "Ni rydd farn ond ar arnaudd." *Add. MS.*, 14,966.

"Ni rydd varn eithr i arnawdd." *Add. MS.*, 14,964.

"Ni rydd farn, eithr ar arnawdd."—*C. Ll. G.*

"Arnawdd" (hyny yw, *Arnodd*) =*plough beam*—sef, y polyn, neu y rhan hono o'r aradr wrth yr hon y cyssylltid yr ychain, neu y ceffylau. Ac yn ol Iolo Goch, ni wyddai llafurwr ei oes ef am ddim o'r tu allan i gylch ei orchwyl o aredig, neu drin y ddaear.

[2] "Ni châr gan i gyfar gawdd." *Add. MS.*, 14,966.

"Ni char yn i gyfran gawdd." *Add. MS.*, 14,964.

"Ni char yn ei gyfar gawdd." *C. Ll. G.*

Dywed golygydd *C. Ll. G.* mai *lle heb ei agor* yw "cawdd," ond gan ein bod yn ystyried y Canon Silvan Evans yn uwch awdurdod nag ef ar eiriau Cymraeg, rhaid i ni gymmeryd y gair i olygu rhywbeth annymunol, megys *annoyance*, *trouble*, &c. ; mewn canlyniad, y mae darlleniad y testyn yn gywir —ni chair dim annymunol, neu anorphenol, yn ei gyfair.

[3] "Ddifa"—gwell o lawer na "thrwsia" (*Add. MS.*, 14,966), yr hyn, mae'n debyg, sydd wall am "threisia" fel ei ceir yn *C. Ll. G.* Dysgrifir y llafurwr yma fel gŵr heddychol a gonest.

[4] "Ni thyn hawl gynef ddawl gam."—*Add. MS.*, 14,964.

"Ni yr hawl gymerawl gam." *C. Ll. G.*

Hawl=*claim* — mewn cyfraith ; ond y mae yn anhawdd gwybod pa un ai "gymhedrawl," "gynefddawl," a'i "gymerawl" a ddylid gyssylltu ag ef. Ac y mae yr un anhawsder yn perthyn i ddarlleniadau llin. 23 ;—

"Nid addas mynny dioddef." *Add. MS.*, 14,966.

"Nid anodd myned i oddef." *Add. MS.*, 14,964.

"Nid addas mud i ddyoddef." *C. Ll. G.*

Gallwn dybied fod pob un o'r darlleniadau hyn yn ceisio awgrymu mai rhy barod i oddef cam yw y llafurwr.

[5] "Nid bowyd y byd heb ef." *Add. MS.*, 14,966.

"Nid bywyd y byd heb ef." *Add. MS.*, 14,964.

gwnn mae digrifach ganwaith
gantho modd digyffro maith[1]
ganlyn nim dawr heb fawr fai[2]
28 yr aradr krwnn[3] ar irai[4]
na ffettai[5] penn dorrai dwr
yn rhith arthur[6] anrheithiwr

[1] "I gu Arddwr garwr gwaith." *C. Ll. G.*

[2] "Gaffel min iawn heb fawr fai."—*Add. MS.*, 14,966.
"Gaffael min da wr heb fawr fai."—*Add. MS.*, 14,964.

Y mae pob un o'r darlleniadau hyn yn ddigon synwyrol ac eglur—"Ganlyn, nim dawr (heb ofalu) yr aradr," yn ol y testyn; neu ynte yr aradr yn finiog at waith—ond pa un a ddefnyddiodd Iolo sydd fwy nag a allwn ddyfalu. Hwyrach nad ydyw *nim dawr* ond gwall am *min da wr*.

[3] "Crwn"—yn y llyfrau ereill. Ar awdurdod Cyfreithiau Hywel Dda, Giraldus Cambrensis (*Descript. Cambr.*, lib. 8, ch. 17), a *Strutt's View of the Manners of England*, y mae Gweirydd ap Rhys (*Hanes y Brytaniaid a'r Cymry*, cyf. i., tudal. 484) yn rhoddi y dysgrifiad a ganlyn o aradr y Cymry yn ystod y Canoloesoedd :—"Ymhlith pethau eraill, enwir 'olwynau,' yr hyn a arwydda bod olwynion yn perthyn i aradr y Cymry yn y cyfnod yma, megis yr oedd i erydr y Normaniaid yn yr un amser. Dywed y cyfreithiau fod i'r aradr arnodd a rhagarnodd. Tybir mai y corn, neu'r *handle*, oedd yr olaf ; a chan na nodir ond un rhagarnodd, bernir nad oedd i'r aradr ddau gorn y pryd hwnw, fel yn awr, eithr un, yr hwn a ddaliai yr arddwr âg un llaw, tra y daliai offeryn yn y llaw arall i lanhau'r aradr ac i wella'r cwysi, a elwid 'carthglwyd' neu 'garthbren,' fel yr ymddengys y gwnai'r Normaniaid. Rhaid bod swch, os nad cwlltr hefyd, yn dra anhebyg i'r peth ydyw yn awr ; canys dywedir mai gwerth swch oedd dwy geiniog, tra'r oedd cwlltr yn werth pedair ceiniog. Tynid yr aradr gan ychain, ac anfynych y dodid llai na phedwar ŷch at y gorchwyl, o flaen y rhai y cerddai'r geilwad neu'r arweinydd yn wysg ei gefn, â'i wyneb at yr ychain ; ac o digwyddai gwympo, byddai yn y perygl mwyaf o gael ei anafu, trwy i'r ychain anystywallt ei sathru."

[4] "Irai"=*goad*: offeryn i symbylu ychain. Yr oedd mewn arferiad yng ngwlad Canaan :—"Ac efe [Samgar mab Anath] a darawodd o'r Philistiaid chwe-channwr âg irai ychain." (Barnwyr, iii., 31).

[5] "Phe bai."—*Add. MS.*, 14,964.

[6] "Dwthwn"—*Add. MS.*, 14,966; "owthur"—*Add. MS.*, 14,964.

Gwell gan y llafurwr ddal ei aradr, na phe cawsai (yn ol y testyn) anrheithio fel Arthur Frenin.

ni chair eithr oi weithred[1]
aberth crist i borthi kred
na bowyd pam i beiwn[2]
pab nag ymerodr heb hwnn
na brenin haelwin hoewlyw[3]
dien y byd[4] na dyn byw
Lywsitarys hoywlys hen[5]
a ddyvod hynn yn ddien[6]

[1] "Ni cheffir eithr oi weithred." *Add. MS.*, 14,966, a *C. Ll. G.*
"Ni chair o ddieithr o'i weithred."—*Add. MS.*, 14,964.

[2] "Bowyd ni cheiff ni beiwn." *Add. MS.*, 14,966.
"Bywyd ni chair be beiwn." *Add. MS.*, 14,964.

[3] "Hoywlyw." — *Add. MS.*, 14,964.

[4] "Dien i bwyll"—*Add. MS.*, 14,964; "na dïen bwyll"—*C. Ll. G.*

[5] Yn *Add. MS.*, 14,966, ceir :—"Moseromus hounus hên," gyda "Lywsidarus" ar ymyl y ddalen; "Lusidarius loywys hên" yn *Add. MS.*, 14,964; "Lusidarius hoywlys hen" yn *Add. MS.*, 14,972; ac "Arisdodlys hwylus hen" yn *C. Ll. G.* *Lusidarius* sydd gywir. Y mae yr hyn a ddyfynir gan Iolo Goch yma i'w weled yn yr "*Elucidarium and other Tracts in Welsh from Llyvyr Agkyr Llandewivrevi A.D.* 1346" (pp. 40, 41) lle y dywedir: "Beth am lauur6yr ydayar. rann va6r onadunt a iacheir. Kannys buchedoccav awnant yn vul. Aphorthi pobyl du6 // oc eu ch6ys megys ydy6edir. g6ynn y vyt av6ytao olauur y d6yla6." Priodolir yr *Elucidarium, sive Dialogus de Summa Totius Christianæ Theologiæ*, gan rai i Lanfranc (a fu farw 1089), a chan ereill i Anselm (a fu farw 1109). Ac y mae y testyn Lladin fel yr ymddangosodd yng ngweithiau Lanfranc (Giles' Oxford Edition, 1844) wedi ei roddi i mewn gan olygwyr y testyn Cymraeg (*The Elucidarium*, 1894). Y mae "Lucidar" (yn Gymraeg) hefyd yn yr ail gyfrol o'r *Selections from the Hengwrt MSS.*, a gyhoeddwyd yn 1892, dan olygiaeth y Parch. G. Hartwell Jones. Nid enw awdwr ydyw *Lucidarius*, fel y tybia rhai, ond "Egluryn," neu fel y dywedir ar ddechreu yr *Elucidarium* :—"En6 yllyuyr h6nn y6 lucidar. Sef y6 hynny goleulyfr. kanys ynda6 ygoleuheir amryfalyon dy6yllyon betheu." Gellir tybied fod Iorwerth Llwyd, yn gystal a Iolo Goch, yn meddwl mai enw awdwr ydoedd (*Myv. Arch.*, p. 336) :—

"Dysgawdd lyfrau loywfraint downus
Lucidarws lwys ei daerwedd."

[6] "A ddowad fal yn ddiwn." *Add. MS.*, 14,966.
"A ddyfod hyn yn ddien." *Add. MS.*, 14,964.
"A ddywaid mal yn ddien." *C. Ll. G.*

[1]a bychedd dda ddibechawd
mewn crefydd ffydd a ffawd
gwyn i fyd trwy iawnbryd traw[2]
a ddeil aradr ai ddwylaw[3]
kryg rhwyg banadl gwastadvaes[4]
kryw mwyn yn kreio maes[5]
klowir i glod y klehyr glwys
kowir hegyrr yn hoywgwys[6]
kynyll tir gwydd rhwydd y rrhawg
kalldrem urddedig kylldrawg[7]

[1] Nid ydyw llin. 39-40 yn y llyfrau ereill.

[2] "Gwyn i fyd drwy febyd draw."—*Add. MS.*, 14,966.
"Gwyn i fyd rhag trymvyd draw."—*Add. MS.*, 14,964.
"Gwyn ei fyd drwy iechyd draw."—*C. Ll. G.*

[3] Y mae y llinell hon, o'i deall yn llythyrenol, yn gwahaniaethu oddi wrth yr hyn a geir yn nodyn 3, tudal. 635; ac yn awgrymu fod i'r aradr, yn amser Iolo, *ddau* gorn.

[4] "Crud rhwyg banadl gwastadlaes."—*Add. MS.*, 14,966.
"Cru rhwyg vanadl gwastadlaes."—*Add. MS.*, 14,964.
"Rhwyg grug, banadl gwastadlaes."—*C. Ll. G.*
Ymddengys mwy o synwyr yn y darlleniad olaf, er o bosibl mai wedi ei wneyd gan law ddiweddar y mae.

[5] "Cryw mwyn a wyr creio maes."—*Add. MS.*, 14,966.
"Ryw mwyn yn gareiay Maes."—*Add. MS.*, 14,964.
"Cryw mwyn yn careiaw maes."—*C. Ll. G.*
Y mae y llinell hon yn un wir farddonol—y cryw (*slicer*) yn careio y ddaear. Y mae y Dr. W. O. Pughe yn cyfieithu (dan y gair "Cryw") fel y canlyn:—
"Rhwyg grug banadyl gwastadlaes
Cryw mwyn yn careiaw maes."
"It will rend the tump of the even-trailing broom: it is a pleasant *slicer* cutting the field into thongs."

[6] "Cerir i glod y crair glwys
Gryr ai hegyr yn hygwys."
*Add. MS.*, 14,966.
"Cerir i gledd y crair glwys
crehyr hy egyr hoywgwys."
*Add. MS.*, 14,964.
"Cerir ei glod y crair glwys
Eryr a'i hegyr, hoyw-gwys."
*C. Ll. G.*

[7] "Cawelltir gwydd rhwydd yr rhawg
Call drom urddodig hylldrawg."—*Add. MS.*, 14,966.
"Cawell tir gwydd rrwydd y rhawg
Calldrefn urddedig cylldrawg."
*Add. MS.*, 14,964.
"Mysgu tir gwydd rhwydd yrhawg
caltdrefn arddedig cylldrawg."—*C. Ll. G.*

diwyll wraidd dyffrynwraidd ffrwyth[1]
yn estyn gwddw[2] anystwyth
Ystig[3] fydd beynydd i[4] ben
ystrüd iach is traed ychen[5]
aml i canai emynn[6]
dilyn y fonndid a fynn[7]
kiliagwydd erwi gwyddiawn[8]
cowir oi grefft i ceir y grawn[9]
Gwas porth vil[10] aneiddil nen
gwasgarbridd gwiw ysgeirbrenn[11]

[1] "Undryllwraidd dyffrynwraidd ffrwyth."
*Add. MSS.*, 14,966 a 14,964.
"Ddiddig ei ffordd a ddug ffrwyth."—*C. Ll. G.*

[2] "Yn ystyn gwddw."
*Add. MS.*, 14,966.
"Yn estyn gwddf."
*Add. MS.*, 14,964, a *C. Ll. G.*

Y mae gwddf y llafurwr yn myned yn anystwyth wrth ddilyn ei alwedigaeth—sef diwyllio gwraidd dyffrynwraidd ffrwyth.

[3] "Ystig" = ymroddgar, diwyd.

[4] "Oi"—*Add. MS.*, 14,964; "ei"—*C. Ll. G.*

[5] "Ystryd iach is traed ychen."
*Add. MS.*, 14,966, a *C. Ll. G.*
"Ystryd iaxus traed yxen."
*Add. MS.*, 14,964.

Yr oedd y llafurwr a ddysgrifia y bardd yn teimlo mor gartrefol wrth ei waith fel yr ystyriai y cwysau a fethrid gan yr ychain fel heol iach i rodio ynddi.

[6] Y mae y testyn yn llawer mwy eglur na'r darlleniadau a ganlyn :—
"Aml i geilw i iw myn."
*Add. MS.*, 14,966.
"A myl draw y canai emyn."
*Add. MS.*, 14,964.
"Amla y cana emyn."—*C. Ll. G.*

Mewn traethawd ar "The Folk-lore of Glamorgan," gan Cadrawd (*Trans. Aberdare Nat. Eisteddfod*, pp. 186-235), ceir casgliad o hen dribanau Morganwg, y rhai, yn ol yr awdwr, a genid gan yr aradwyr pan yn aredig gydag ychain.

[7] "Ymlid y fondid a fyn."
*Add. MS.*, 14,966.
"Ymlid y fondid a fynn."
*Add. MS.*, 14,964.
"Ymlid ei fondid a fyn."
*C. Ll. G.*

*Bondid* ydyw y gadwen yr hon a gyssyllta yr aradr wrth yr iau.

[8] "Ceiliagwydd erw gwydd eigiawn."—*Add. MS.*, 14,966.
"Ciliagwydd erwi gwyddiawn."—*Add. MS.*, 14,964.
"Ceiliogwydd ogwydd eigiawn."—*C. Ll. G.*

[9] "Cowir oi groft i cair grawn."
*Add. MS*, 14,966.
"Cywir oi grest y cair grawn."
*Add. MS.*, 14,964.
"Cywir, oi grefft y ceir grawn."
*C. Ll. G.*

[10] "Borth vil"—*Add. MS.*, 14,964; "porth-fil"—*C. Ll. G.*

[11] "Esgeirbren"—*Add. MS.*, 14,966; "esgairbren"—*Add. MS.*, 14,964.

knwd a gyrch mewn cnodig ar[1]
knyw diwael yn knoi dayar
gwr ai anfodd ar grynnvaen[2]
gwas a fling ai goes oi flaen[3]
e[4] fynn i gyllell ai fwyd
ai fwrdd dan fon i forddwyd[5]
hugadarn meistir hoywgiwdawd[6]
brenin a roes gwin er gwawd

[1] "Cnwd a gyrch cynodig âr
Cnyw diwael yn cnoi dayar."
*Add. MS.*, 14,966.
"Cnwd a gyrch o'r cnodig ar
Cnyw diwall yn cnoi dayar."
*Add. MS.*, 14,964.
"Cnodig" = cnydiawg.

[2] "Gwr ai anfoes ar grynfaen."
*Add. MS.*, 14,966.
"Gwr ai . . . ar grynvaen."
*Add. MS.*, 14,964.
"Gwr a'i anfodd ar grynfaen."—*C. Ll. G.*
Yn casäu crynfaen am ei bod ar ffordd swch ei aradr.

[3] "Gwas a fling goes oi flaen."
*Add. MS.*, 14,966.
"Gwat a vling ai goes o'i flaen."—*Add. MS.*, 14,964.
"Gwas a fling y gwŷs o'i flaen."—*C. Ll. G.*
Dichon fod y testyn yn eithaf cywir, gan gyfeirio at ystum yr arddwr yn cadw un goes gryn bellder o flaen y llall.

[4] "Fo"—*Add. MS.*, 14,966; "E"—*Add. MS.*, 14,964, a *C. Ll. G.*

[5] "Ai fwrdd ar fôn ei forddwyd."
*C. Ll. G.*
Dysgrifiad tarawiadol o'r llafurwr yn cymmeryd ei luniaeth ym mol y clawdd.

[6] "Hy gadarn mastr hoew gywdawd."
*Add. MS.*, 14,966.
"Hu gadarn veistr hoyw gwiwdawd" gwdawd.
*Add. MS.*, 14,964.
"Hu gadarn feistr hoyw giwdawd."—*C. Ll. G.*
Dywed Stephens o Ferthyr (*Brython*, 1863, tudal. 337, a'r *Beirniad*, llyfr v., tudal. 298) mai y crybwylliad cyntaf am Hu Gadarn yn yr iaith Gymraeg ydyw yr un a geir mewn cyfieithiad o'r chwedl Ffrancaeg a elwir "Hanes Siarlymaen." Gwnaed y cyfieithiad hwnw, medd Stephens, oddeutu 1340. Pa fodd bynag, gwelwn fod Iolo Goch wedi cael gafael yn y traddodiad ei fod yn ymherawdwr Constinobl, a'i fod yn athraw mewn amaethyddiaeth. Ceir amryw o feirdd y Canoloesoedd yn cyfeirio ato, megys Llywelyn Moel, Gwilym Tew, Rhys Brydydd, a Lewis Glyn Cothi. Hyd y gwyddom, nid oes grybwylliad am Hu Gadarn yn unrhyw hen Chwedlau Cymreig, heb law (1) y rhai a gyfieithwyd o'r Ffrancaeg neu o'r Lladin; ac (2) y rhai a grewyd gan ddychymmygwyr y drydedd gyfres o'r Trioedd. Cymmerwyd Hu Gadarn o'r chwedlau am Siarlymaen.

Ymerawdr tir a moroedd
Kwnstabl aur constinobl oedd[1]
Daliodd ef gwedi[2] diliw
aradr gwaisg[3] iawn gadr[4] gwiw
ni cheisiodd bu yn iach ysoed[5]
ddeuriw o riw ar vara eirioed[6]
eithr da oedd i athro[7]
oi lafvr fraisg awdwrfro[8]
er dangos eryr Iowngoeth[9]
i ddyn balch a difalch doeth[10]
bod yn orav nid gau gair
un grefft gan y tad iawngrair[11]
aredig dysgedig ydyw
arwydd mae hynn a oryw[12]

[1] "Emherawdwr tir a moroedd
A bywyd oll o'r byd oedd."
*Add. MS.*, 14,964.
"Cwnstab âr, cynnwysdeb oedd."—*C. Ll. G.*

[2] "Wedi."—*Add. MS.*, 14,964.

[3] "Gwaisc."—*Add. MS.*, 14,964.

[4] "Newyddgadr" —*Add. MS.*, 14,966; "arnoddgadr"—*Add. MS.*, 14,964, a *C. Ll. G.*

[5] "Mae/n/ iach isoed"—*Add. MS.*, 14,966; "ef iaxus oed"—*Add. MS.*, 14,964; "Naf iachus oed"—*C. Ll. G.*

[6] "Fwriwr aur fara yr ioed."
*Add. MS.*, 14,966.
"Fwriwr ar faraf erioed."
*Add. MS.*, 14,964.
"Heb fwrw'r âr, ei fara 'rioed."
*C. Ll. G.*

[7] "Eithr duw oedd i athro."
*Add. MS.*, 14,966.
"Oddieithr da oedd i athro."
*Add MS.*, 14,964.
"Eithr da oedd ei athro fo."
*C. Ll. G.*

Pa un bynag o'r darlleniadau hyn sydd gywir, awgrymir yma i Hu Gadarn ddysgu aredig gan Dduw yn ddigyfrwng.

[8] "Oi lafur braisg awdur bro."
*Add. MS.*, 14,966.
"Oi lafur fraisc fro dir fo."
*Add. MS.*, 14,964.

[9] "Diowngoeth" — *Add. MS.*, 14,966; "Dawngoeth"—*Add. MS.*, 14,964.

[10] "I falch a difalch a doeth."
*Add. MS.*, 14,966.
"O fri dawn lafur y doeth."
*C. Ll. G.*

[11] "Bod yn dilie gore gair
Un grefft gan y tad iowngrair."—*Add. MS.*, 14,966.
"Fod yn orau nid gau gair
fyngrest dan y tad iawngrair."—*Add. MS.*, 14,964.
"Bod yn orau nid gau gair,
Un grafft gan y tad iawn grair."—*C. Ll. G.*

[12] "Arwydd mae hyn a oeryw
Aredig dysgedig yw."
*Add. MS.*, 14 966.

hyd i mae kred a bedydd
a ffawb yn cynnal y ffydd[1]
llaw ddûw kun gorav vn gwr
84 a llaw vair dros bob llafvrwr[2]

Iolo Goch ai kant.

" Arwydd mae hyn a oryw
aredig dysgedig yw."
*Add. MS.*, 14,964.
" Arwydd mae hyn a eryw,
Aredig, dysgedig yw."
*C. Ll. G.*

[1] " Ffordd i mae cred a bedydd
a ffawb yn cynal y ffydd."
*Add. MS.*, 14,966.
" Hyd y mae cred a bedydd
a phawb yn cynnal y ffydd."
*Add. MS.*, 14,964, a *C. Ll. G.*

[2] " Llaw diluw eon gorau vn gwr
llaw Fair ar bob llafurwr."
*Add. MS.*, 14,966.
" Llaw Duw Ion gorau un gwr
a llaw fair dros y llafyrwr."
*Add. MS.*, 14,964.
" Llaw cun gorau un gwr,
Llaw Fair ar bob LLAFURWR."
*C. Ll. G.*

# LXXV.

## KOWYDD Y KARDIE

*(O'r Add. MS., 15,006, fol. 63b).*

Ni ddygwyddodd i ni weled y cywydd hwn yn un man heb law yn yr ysgriflyfr uchod. Y mae yn amlwg nad ydyw mewn un modd yn gopi da o'r cywydd, a'i fod yn waith rhyw gopïwr lled ddiofal. Y mae hyn yn ei wneyd yn fwy anhawdd i'w ddeall, yn enwedig i un nad ydyw yn deall dim am gardiau na'r chwareuon perthynol iddynt.

Yr ydym yn teimlo cryn anhawsder i benderfynu pa un ai adrodd ei brofiad ei hun, ynte rhywun arall, a wna Iolo yn y cywydd hwn. Y mae y ddwy linell gyntaf yn ein taflu i ddyryswch:—

"Cenuv ir oedd ywch conwy
baych o dda a bywch ne ddwy."

Nid yn y rhanbarth a elwir yn Uwch Conwy, ond yn Is Conwy, y saif Llechryd; ac y mae hyn yn myned yn erbyn y syniad mai adrodd ei brofiad ei hun yr oedd y bardd, os nad oedd ganddo hefyd eiddo ar yr ochr arall i afon Gonwy. Ond nid oes genym sail i dybied y fath beth. Wedi'r cyfan, dichon fod y bardd, er yn canu iddo ei hun, yn rhoddi *Uwch* Conwy, yn lle *Is* Conwy, gyda'r amcan o ymddyeithrio, a rhag manylu yn ormodol ar ei drwstaneiddwch. Y mae yn ddigon eglur na ddylem gymmeryd ei eiriau yn llythyrenol bob amser, o blegid yn llin. 2, dywed mai "bywch ne ddwy" oedd ganddo ar y cyntaf, ond erbyn cyrhaedd llin. 37, yr oedd ganddo "eidion" i'w werthu, ac yn llin. 39, dywed iddo orfod "gwerthu *llawer* om gwartheg." Felly, rhaid cymmeryd yn ganiataol mai ymdriniaeth gyffredinol ar y testyn, gan ddangos y niwed a ddeillia o hap-chwareu, a geir yn y cywydd hwn. O'r bron

na thybiwn, pa un bynag ai ei anffodion ef ei hun, ynte rhywun arall, a achlysurodd i'r bardd gyfansoddi y cywydd, ei fod ef ei hun yn brofiadol o'r hyn a ddywed ynddo. Ac os bu yn Arglwydd Llechryd, fel yr honir yn gyffredin, y mae yn bosibl—yr ydym yn cynnyg yr awgrymiad am ei werth—fod a wnelo y cardiau â'i ddwyn i'r fath sefyllfa fel ag i ofyn march yn rhodd gan Ithel ap Robert. Pa fodd bynag, hysbyswyd ni gan rai ag ydynt yn gyfarwydd gyda chardiau, i'r rhai y darllenasom y cywydd, fod Iolo yn profi ynddo ei fod yn deall yn dda oddi wrthynt.

Cenuv[1] ir oedd ywch conwy
baych o dda a bywch ne ddwy
deliais ar gardie dilis
allan om plwy mwy no mis
doeth diwrnod o daith arna
yw chware n tw[2] o chwant da
kael yno n rhwydd koilio i rhain
yn rhygyl un ar hugain
a chware yn lew fel dewin
tynu Dews[3] o tan y din
rhoi ysgwd i gardie ysgil[4]
kasa gwg kosi gwegil
a gwladiddio[5] yn rhifo yr hain
a rhegu tri ar rhigain
ni oedd yn wr elw hyll
yno soweth le i sefyll[6]

[1] "Cenyf" neu "genyf."

[2] "Tw"=gyda brwdfrydedd ?

[3] "Dews"=disiau (=dice). Y mae y llinell hon yn awgrymu fod yno gam-chwareu; ac yn golygu yr un peth ag a feddylia y Sais wrth "*the ace up his sleeve.*"

[4] "Ysgil" = o'r tu ol. Wedi gweled yr ymgais i'w dwyllo, y mae y bardd yn taflu y cardiau ymaith mewn digllonedd; ond fel y gwelir yn y llinellau dilynol y mae yn dyfod i'w dymher eilwaith, ac yn chwareu drachefn.

[5] "Gwladiddio" (h.y., gwladeiddio) a ddefnyddir yma yn yr ystyr o *ymgartrefu*; hyny yw, yr oedd yn dra chynnefin â'r gorchwyl o chwareu cardiau.

[6] A oes perthynas rhwng yr ymadrodd hwn â'r hyn a feddylia y Sais pan y dywed: *without a leg to stand upon*?

tynu kyn talu ir kolmyth[1]
rhydaer oedd ar hyder wyth
dod yno un diwnaw[2]
y min y nos imi a naw
Sefyll ar saith gwaith y gwr
gwrthod pedwar gwaith pwdwr
sefyll ar wyth dylwyth da
traian nos ar kri yn isa
tynu ar naw hylaw holi
koilio yn drwch kael yno dri
kel tri deg amlywio r da[3]
etto un waith fett[4] ynna
fellyn pan fai deg fy lle
un or trowyr[5] ai trawe
o dod le i dario n lan
dallu a dwedyd myned allan
o rhown geiniog gain am lwg[6]
nuy rhoea arian drwg[7]
o roddi grod a ffas[8] gron
ni chawn i ond y dan di dindon[9]
gwerthu eidion gwrthgu ydiw
ag wrth y dydd gwerthu Duw[10]

[1] Ar ol chwilio llawer, methasom a chael allan feddwl y gair "kolmyth." Y peth tebycaf iddo a welsom ydyw "cwlmwth" = *a large mass of anything* (*Geir. Cymreig* Silvan Evans); a dichon mai hwnw a feddylir yma—rhoddi ei arian at y swm oedd yn barod ar y bwrdd.

[2] "Diwnaw"—ai nid *diwrnaw* (talfyriad o *diwrnawd*) a ddylasai hwn fod?

[3] Cyfeirir yma at y dull o chwareu; ond nid ydym yn ddigon cyfarwydd i'w egluro.

[4] "Fett" (o *bet*) = cyngwystl.

[5] "Trowyr" = chwareuwyr — *turning the cards.*

[6] "Am lwg"—diau mai *amlwg* a ddylai fod.

[7] "Y nhwy a roiai arian drwg," hwyrach, a feddylir. Pan yr ennillai Iolo ni chaffai ef ond arian drwg, er ei fod ef yn rhoddi arian da—"ceiniog gain"—iddynt hwy.

[8] "ffas" (o *pass*) = *current coin.*

[9] Rhaid i ni osod y bai ar y copïwr am aneglurder y llinell, yr hon sydd yn cynnwys dau sill yn ormod.

[10] Y mae hon yn un o'r llinellau goreu sydd yn y cywydd, ac yn fynegiad o edifeirwch y bardd.

gwerthu llawer om gwartheg
i dalu am dynu r deg[1]
am hynn y kollais ym hwyll
yn gynar wrth un ganwyll
a fyno kael gafael gwr
girda[2] na daed yn gardiwr
ag o da er kisio ked[3]
yn sikir fo gyll i siecked

Iolo Goch ai kant. Terfyn

Ond credwn mai "gwrthun ydyw" a ddylai fod yn llin. 37, yn lle "gwrthgu ydiw."

[1] Y cerdyn a elwir *Diamond*, mae'n debyg, yr hwn a gynnwys ddeg o bwyntiau *(points)*.

[2] "Girda" = geirda (= *good name, reputation*).

[3] "Ked" a olyga *elw* yma.

# LXXVI.

## *COWYDD IR TAFOD AI DDYFALU.[1]

*(O'r Delyn Ledr—Add. MS., 14,873, fol. 55b).*

Y mae y cywydd hwn i'w weled hefyd yn *Add. MS.*, 14,969; yn *Jes. MS. C.*, 101, p. 348; yn gystal ag mewn ysgriflyfr ym meddiant Mr Isaac Foulkes, o Lerpwl, a ysgrifenwyd oddeutu 1700; a phriodolir ef yn y llyfrau hyn i Iolo Goch. Ond y mae yn argraffedig ym *Marddoniaeth* Dafydd ab Gwilym, tudal. 290, ac i Dafydd ab Gwilym y priodolir ef hefyd yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i., tudal. 62. Lleolir y llinellau yn wahanol yn y llyfrau hyn yn fynych—ac er mwyn arbed y drafferth o nodi hyny, cyfeiriwn y darllenydd i *Farddoniaeth* Dafydd ab Gwilym gyda golwg ar eu cyflead yn y gwaith hwnw.

Y Druan fawd lydan ledr
Y Tafawd nid wyd hyfedr[2]
pan na cheffy dy diddos
pa'n ddiawl a wnei pann ddel nos[3]
na fedri eithr[4] ynfydrim
y lenwi dewi er dim
odde'r wyd o ddireidi
addail tir i ddiawl wyti[5]

[1] A'i ddysgrifio.

[2] "Taw druan fawd lydan ledr
Y tafawd nid wyd hyfedr."
*Jes. MS.*

"Y Tafod nid wyt hyfedr,—
Taw druan, fawd lydan ledr!'
*Barddon. D. ab G.*

[3] "Paham na cheffy diddos
pa, &c."—*Jes. MS.*

"Pam na cheisi dy diddos,
Pa ddail a wnaid pan ddel nos."—*Barddon. D. ab G.*

[4] "Na fedri, noeth ynfydrim."
*Barddon. D. ab G.*

[5] "Adde r wyd dy ddireidi
addail tir i ddiawl i ti."
*Jes. MS.*

awr daw yt ardalm or dydd
amlferw yn ymlyferydd[1]
mwy no rhegen mewn i rhygnyth
*am nith fair ni thawai fyth*[2]
aelod fochwael ddiwala[3]
yn son am ferch dynion da
ni thawaf, heb y Tafawd
ni thaw gwynt yn nithio gwawd[4]
berw a ddwg fal mŵg mawr
or cylla fal berw Callawr[5]
drwg yn wir gwaeth oragor
yn llawn uniawn[6] moelrhrawn mor
pan ddêl y llanw gwyllt llawn hir
i sai ai flew fal sofl îr[7]
a rhuo a wna a rhyw nad
a briw ferw a bryferad[8]

[1] "Awr daw hyd am daml or dydd
aml ferw yn ymlyferydd."
*Jes. MS.*
"Awr daw heb hyd dalm o'r dydd,
A wyl ferw ymlaferydd."
*Barddon. D. ab G.*

[2] "mwy no rhegyn mewn rhagnyth
am nith fair am na thaw fyth."—*Jes. MS.*
"Mwy na rhegen mewn rhagnyth
Myn nith Fair, hon ni thaw fyth."—*Barddon. D. ab G.*

[3] "Aelod bochwal gowala."
*Jes. MS.*

[4] "Ni thawaf eb y tafawd
ni thaw'r gwynt lle nithir gwawd."—*Jes. MS.*
"Hon ni thau heb y tafawd
Ni thau gwynt a nithio gwawd."
*Barddon. D. ab G.*
Y mae y tafod yma yn ateb y bardd—"eb y (ebe'r) tafawd."

[5] "Y berw a ddwg y mwg mawr
or cylla fal megis callawr."
*Jes. MS.*

[6] "Annwyd"—*Jes. MS.*; "aniawn"—*Barddon. D. ab G.*

[7] "Pan ddel llanw gwyllt hyllt holldir
i saif i flew fal sofl îr."
*Jes. MS.*
"Nesai ei flew fal sofl ir."
*Barddon. D. ab G.*

[8] "A rhyo a wna a rhiw nad
a briw ferw a brefarad."
*Jes. MS.*
"Rhuo a wnai a rhyw nad,
A briw ferw âb rhyferad."
*Barddon. D. ab G.*

yfed llynn gwerth dan *serthi*[1]
nos a dydd yw dy swydd[2] di
ymddyfalu meddw foliad
Señynffraeth am gwrw Sanffraid[3]
hyny myn mair a bair bod
bygunad tebyg ynod
a bloeddio fal pobl iddew[4]
mi a adwaen flaen dy flew
hawdd yw adnabod ar hên
gor flewyn gwt aflawen[5]
gau genau y gêg anoeth
gad attad beth *Gatu l* boeth[6]
ti a wnei beth ni wnai neb,
hoel gwta, holi ac ateb;[7]
anredu enwir ydwyd
hudol ar ei ol ir wyd[8]
yn chware' delwe weflgrach
wenhwyfar ymbilgar bach[9]

[1] "Berthi"—*Jes. MS.*, a *Barddon. D. ab G.*

[2] "Naws"—*Jes. MS.*, a *Barddon. D. ab G.*

[3] "Sen ffraeth am loyw gwrw Sanffraid."—*Jes. MS.*
"Son yn ffraeth am gwrw Sanffraid."—*Barddon. D. ab G.*

St. Ffraid oedd ferch, yn ol *Bonedd y Saint*, i Cadwrthai neu Cadwthlach Wyddel; ond dywed y traddodiadau Gwyddelig iddi gael ei geni yn Sir Louth tua'r flwyddyn 453, ac mai merch ordderch ydoedd i Dubtach, neu Dubtachus, boneddwr yn y wlad hono. Gelwir hi yn *St Bridget* gan y Gwyddelod, ac yn *St. Bride* gan y Seison. Y mae cynnifer a deunaw o eglwysi wedi eu cyflwyno iddi yng Nghymru, ac felly y mae yn anhawdd dyweyd at ba le y cyfeirir yn y llinell uchod.

[4] "A bloddain fel pobl iddew." *Jes. MS.*
"A bloeddio fal pabl Iuddew." *Barddon. D. ab G.*

[5] "Goflewyn gwr aflawen." *Jes. MS.*

[6] "Gan enau y gêg annoeth
Gad attad beth Gadit boeth." *Jes. MS.*

Terfynir y cywydd yn *Barddon. D. ab G.* gyda'r llinellau :—
"Gau genau y geg anoeth
Gael attat beth gatyd boeth."
A ydyw "gatud" yn dyfod o "cateia" (= *to bicker*)?

[7] "Atteb."—*Jes. MS.*

[8] "Anredydd enwir ydwytt
yr hudol ar ol ir wytt." *Jes. MS.*

[9] "Yn chwarav /r/ delw welw weflgrach
wenhwyfar ymbilgar bach." *Jes. MS.*

dal ir wyd[1] gair dal rodir
drwy dy hun *dadl*[2] *drydwy* hir
mae'r naill beth achreth echrys
ai bod brad[3] gyfarfod brys
ai hunlle foel hen llwy faidd
arnad yn haearnaidd[4]
ai ymorol am Euron[5]
*mordwy serch* mawr yw dy son!
Deffro, arch Dduw in diffryd[6]
dy ffrwyn na fawl di i ffryd
mwy a ddoedi meddw ydwyd
Myn Mair, nor gwraig lefair lwyd[7]
Doed dy gof diota gynt
diodydd, mêdd da ydynt[8]
dy flaen yn aurfaen oerful
dy fîn cam dau finiog Cul[9]
ysbodol eisiau bedydd
arnad yn siared y sydd
Yfferiad[10] meddw gweddw gwyddel
gynt ath fedyddiodd dan gêl
tyfaist ynghysgod dwyfoch
tafell o fara cell côch[11]

[1] "Wytt."—*Jes. MS.*

[2] "Dadlav /r/."—*Jes. MS.*

[3] "Braw."—*Barddon. D. ab G.*

[4] "Ai hunlle fodd hen llwyfaidd
arnad yn anhyrnaidd."
*Jes. MS.*

"Ai hunlle, fodd henllwy faith,
Arnad yn siarad surwaith."
*Barddon. D. ab G.*

[5] "Ai ymoralw am Aeron."
*Jes. MS.*

[6] "Deffro arch i Dduw diffryd."
*Jes. MS.*

[7] Nid ydyw llin. 53-54 yn *Jes. MS.*, nac yn *Barddon. D. ab G.*

[8] Yn *Jes. MS.* gosodir llin. 55-56 ar ol llin. 74.

[9] "Dwflen aerfen oerful
difûn cam dav finiog cul."
*Jes. MS.*

Yn dilyn y rhai hyn yn *Jes. MS.* ceir :—

"Taran sorr trvan sarrûg
trwynsor a ffals traensiwr ffûg
Mawr i angerdd merwingoch
cleddy cerdd celwyddog coch."

[10] "Efferiad"—*Jes. MS.*; "offeiriad"—*Barddon. D. ab G.*

[11] Mewn man arall yn y cywydd—yn *Barddon. D. ab G.*—ceir :—

"Tyfaist y'nhysgod dwy-foch,
Fal tafell o fara cell coch."

Clicidau[1] yn cloi ceudawd
clô pren gwern clap brenau gwawd
megaist fal y *mynn Magod*
mefl o fewn, man ofal bod[2]
meistr dyfrllyd[3] rwydd maswdrig
meseri cors maesier cig[4]
perygl yt y para' glwyf
ag ellyn gynta i gallwyf[5]
dy dynny myn Dyw a Deinioel
or gwraidd lafn mileinaidd moel[6]
Coffa di ddäed ym Caffud
ni ddoem o dre heb ddim drud[7]
hanes tŷ cymro henaidd
fal hanes troed blaengoed blaidd
mae' no chwedl mwy no chydladd
nes no[8] lles ym gael fy lladd
rho gyngor yt[9] rhag angen
rhy fenybr îr rhaw fawn bren

[1] "Cliccedav."—*Jes. MS.*
"Clicciedyn yn cloi ceudawd
Clopren gwern, clap breuan gwawd."
*Barddon. D. ab G.*

[2] "Megais di fal mynn magod
mefl o fewn mav ofal fod."
*Jes. MS.*

[3] "Dwfrllyd."—*Jes. MS.*

[4] "Maisseri cors maysaer cig."
*Jes. MS.*
"Meistr dyfrllyd masw a drig
Mesfrig a mân yswr cig."
*Barddon. D. ab G.*

[5] "Perygl yt i para' glwyf
ag ellyn cynt a gallwyf."
*Jes. MS.*
"Perygl yt y paraf glwyf
Ag ellyn gynta' gallwyf."
*Barddon. D ab G.*

[6] "Dŷnu, myn Delw Deinioel,
O'r gwraidd, lafn mileinwraidd moel!"
*Barddon. D. ab G.*

St. Deiniol, neu Deiniol Wyn, a flodeuai yn y chweched ganrif. Dywedir mai efe a sefydlodd y Coleg Crefyddol yn Bangor Isycoed, Sir Fflint, a mynachdy yn Bangor, Sir Gaernarfon.

[7] "Coffa di ddaed im caffud
Na ddoem or dre heb ddim drud."—*Jes. MS.*
"Coffa mor dda i'm caffud,
Cyn no hyn o wn can hud."
*Barddon. D. ab G.*

[8] "Nam."—*Jes. MS.*

[9] "Vm."—*Jes. MS.*

a[1] minneu gwir ni mynnwn
84 oerni byth ir neb a wnn[2]
er ugein morc neu gan muw
gael twyll myn Goleuad Duw[3]

Iolo Gôch ai Cant.

[1] "Ai."—*Jes. MS.*

[2] "A minnau er na mynwn
O ranau byth i'r neb ei wn."
*Barddon. D. ab G.*

[3] "Er ugein morc ne gan muw
gael twyll myn goleuad
Duw."—*Jes. MS.*
"Er ugein-morc, neu gan-muw,
Gwelyt dwyll mewn gwlad
Duw."—*Barddon. D. ab G.*

# LXXVII.

## *KOWUDD MOLIANT IR DELYN RAWN AG I OGANU R DELYN LEDER.

*(O Jesus MS., E. 140, p. 438).*

Ceir y cywydd hwn hefyd yn *Add. MS.*, 14,997, lle ei priodolir i Iolo Goch. Ond y mae yn argraffedig yng ngwaith Dafydd ab Gwilym (*Barddoniaeth*, tudal. 277), fel ei gyfansoddiad ef, ac i Dafydd ab Gwilym y priodolir ef hefyd yn *Add. MS.*, 14,932. Drwg genym na chawsom amser i'w gymharu ag ysgriflyfr yr Amgueddfa Brydeinig —er nad ymddengys hwnw mewn un modd yn waith copïwr celfydd. Hyd y gwyddom ni, ni phriodolir ei awduriaeth i Iolo Goch heb law yn y ddau ysgriflyfr a nodir uchod; ond hysbysir ni gan Mr. Gwenogvryn Evans iddo ef ei weled mewn cynnifer a saith o ysgriflyfrau gydag enw Dafydd ab Gwilym wrtho. Nid ydyw yr arddull ychwaith yn annhebyg i eiddo yr olaf. Os Iolo Goch a'i cyfansoddodd, tybiwn oddi wrth llin. 21 iddo ei gyflwyno, neu ei anfon, i Dafydd ab Gwilym. Ond nid oes dim yn anarferol yng ngwaith Dafydd yn son am dano ei hun yn y trydydd person, os caniateir mai efe oedd yr awdwr. Pa fodd bynag, gan fod y cywydd yn cael ei briodoli i Iolo, rhoddwn ef i mewn.

Rho duw hael, rhydau[1] helynt
gwawr ar gymru ddigri ddynt[2]
a gore man gwinllan gost
ar fud i fowud fuost[3]

[1] 'Rhadau." —*Barddon.D.abG.*

[2] "Gwawr ddigrif gymry ddynt." *Add. MS.*, 14,997.

[3] "Gorau man, gwinllan y gôst, At fyd, o fywyd fuost." *D. ab G.*

tra fu amser i glera
a dusg yw hen gymru da[1]
weithiau dioer oer anusg
i mae kerdd feiniog yn musg[2]
o fy llog anghyfan fan gleder[3]
telynau llidiardau lledr
nid oedd un tant ffyniant ffudd[4]
o ddefaid meirw i ddafudd[5]
a wnaeth klau, ddiweniaeth kler
ddafudd broffwyd ddiofer[6]
un delyn ddiddan angerdd
ond o rawn[7] gyfiawn gerdd
doeth ywr madrawdd, hawdd, hoyw
y delyn o rawn, du loyw
y delyn rawn dawn *dyfais* difas
o rad i drindawd ai ras[8]
a ddywod oll i ddafudd
a fu / a rhag llaw a fudd[9]

[1] "A dysg yr hen Gymry da."
*D. ab G.*

[2] "Weithian, dioer! oer addysg,
Y mae cerdd feiniar i'n mysg."—*D. ab G.*

[3] "Diflo anghyfan wan-gledr."
*D. ab G.*

[4] "Ffydd."—*D. ab G.*

[5] "Ddafydd."—*D. ab G.*

[6] "Ni wnaeth clau ddewiniaeth cler
Ddafydd brophwŷd ddiofer."
*D. ab G.*

[7] "Onid o rawn."—*D. ab G.*
Ymddengys yn ol y cyfreithiau a briodolir i Hywel Dda mai ar delyn rawn y byddai y dysgyblion yn dysgu chwareu, cyn cael eu derbyn yn gerddorion cyweithas, ac ymddengys fod tannau rhawn yn lled gyffredin yn y bedwaredd ganrif ar ddeg, fel y prawf y cywydd uchod. Ond deallwn oddi wrth llin. 12 y defnyddid crwyn neu berfedd defaid i wneyd tannau.

[8] "Y Delyn rawn, dawn difas,
O rad y Drindod a'i ras."
*D. ab G.*

[9] "A ddyfod oll i Ddafydd,
A fu, a rhagllaw a fydd."
*D. ab G.*
Dafydd Broffwyd—brenin Israel—oedd gan y bardd dan sylw yn llin. 12-14; ond ymddengys i ni mai Dafydd ab Gwilym a feddylir yma. Ac awgrymir fod y delyn yn dwyn ysbryd proffwydol arno.

o ddechreu bud, brud, breisgfawr
hud dudd brawd / myfyrdawd mawr[1]
ni does a wypon on iaith
a gwybudd gaink na gobaith[2]
i beri sain[3] wb or swydd
ond telyn ledr nid hylwydd
ag[4] ewin gorn dorn, difwyn
a rhyw was diras yn dwyn[5]
anodd i brentis fis fudd
ystofi milaist efudd[6]
ni ddaw kythrel kaeth hiraethlawn
i radd i bo r delyn rawn[7]
anfad bla llun bwa llwm
enfys ag ergrus gochrwm[8]
ni cherais iowngais angerdd
nai chafn bytynog nai cherdd[9]
nai chwrr bergan disgamar
nai llorf gam vn llwrf ai kar
nai choludd sain damwain dig
nai rhifwnt liw nai rhyfig[10]
mae /n/ ddrwg dan bwyth yr wythmis
llun a chroth lliain y chrus[11]

1 "O ddechreu'r byd, bryd breichfawr,
Hydd ddyddbrawd, myfyrdawd mawr."—*D. ab G.*

2 "Nid oes a fyn oes o'n iaith
O gwybydd gaingc, na'i gobaith."—*D. ab G.*

3 "Son."—*D. ab G.*

4 "Ac."—*D. ab G.*

5 "A gwas, un diras, i'w dwyn." *D. ab G.*

6 "Annawdd i brentis, fis fydd,
Ystofi miliast efydd." *D. ab G.*

7 Nid ydyw llin. 33-34 yn *D. ab G.*

8 "Anferth o bla, llun bwa llwm,
Enfys ac echrys gochrwm." *D. ab G.*

9 "Ni cherais, iawngais angerdd
Na'i chafn botymog, na'i cherdd."—*D. ab G.*

Cyfeiria y ban hwn, ac o hyn ym mlaen hyd lin. 63, at y delyn ledr.

10 Yn *Barddon. D. ab G.* lleolir llin. 39-42 fel y canlyn :—
"Na'i choludd, sain damwain dig,
Na'i rhifwnt liw, na'i rhyfig ;
Na'i chwr bergam ddisgàmar,
Na'i llorf cam, un llwrf ai câr."

11 "Drwg yw dan bwyth yr wythfys
Llun ei chroth, lliain ei chrys."—*D. ab G.*

gwryriad gwyllt ruad gau
gwilff felen am gyffylau[1]
chwaer vndad chwerwnad hirnos
ir hen fad felen yn rhos[2]
sain gwydd kloff ar anoffrud
son fawr wyddeles vn fud[3]
rhuad melyn bwdr grin, lam
ysgyfarn waeddgarn yddgam[4]
gwiddanod mewn gwedd anir
gwrddau yn dalau am dir
kowion brain yn ymgaingiaw
kiwed yn ymglowed a glaw
kafod genllusg yn kowain
o du a mellt ar do main[5]
ni liniwyd i ffarwyden
nai chreglais ond i sais hen
kryman pren i fursen fu
krimog henwrach yn krymu[6]
keisied pob prentis kysson
o farsdir lloeger i fon[7]
delyn eirian ai chanu
i rannu dusc o rawn du[8]

[1] Yn dilyn llin. 44 darllena *D. ab G.* fel y canlyn :—
"Ni luniwyd ei pharwyden
Na'i chreglais ond i Sais hen ;
Gweryriad gwyllt rhuad gau
Gwilff felen am gyffylau."

Gellir casglu oddi wrth hyn mai o wneuthuriad Seisonig yr oedd y delyn ledr.

[2] "Chwaer undad, hwyrnad hirnos,
I'r oer Fad Felen o Rôs."
*D. ab G.*

[3] "Sain gŵydd gloff, anhoff yn ŷd
Sonfawr Wyddeles ynfyd."
*D. ab G.*

[4] "Ysgwd melin, lawdgrin lam,
Ysgyfar waeddgar wddgam."
*D. ab G.*

Yn *Jes. MS.* y mae *y* yn "melin" wedi ei chroesi allan, ac *i* yn ysgrifenedig uwchben iddi.

[5] Nid ydyw llin. 53-58 yn *Barddon. D. ab G.*

[6] "Crŷman pren o fursen fu,
Crimog hen wrach yn crŷmu."
*D. ab G.*

[7] "Ceisied pob prentis cyson,
Hyd o Fars-dir Lloegr i Fon."
*D. ab G.*

[8] "Delyn eirian i'w chanu,
I ranu dysg, o rawn du."
*D. ab G.*

mal ir oedd mae gyhoeddi
68 yn oes yn henafied ni[1]
a ffeidied ddauged ddigwyn
y dudd prentissiaid ai dwyn[2]

Iolo Goch ai kant

[1] "Mal yr oedd mau gyhoeddi
Yn oes ein hen deidiau ni."
*D. ab G.*

[2] "Na cheisied, diged ddeugwyn,
Y dydd brentisiaid i'w dwyn."—*D. ab G.*

# LXXVIII.

## *COWYDD YR HAUL.

*(O'r Add. MS., 14,906, fol. 84b).*

Heb law y nodiad sydd ar ddiwedd y cywydd yn yr ysgriflyfr uchod, ceir amryw resymau ereill dros ammeu mai nid Iolo Goch oedd ei awdwr. Ar ddiwedd y cywydd yn *Glanyrafon MS. K.*, fol. 70—yr hwn a gopïwyd yn yr eilfed ganrif ar bymtheg, y mae "Iolo Goch" wedi ei groesi, mewn inc gwahanol, a "D[dd]. ap Gwilym" wedi ei ysgrifenu mewn llaw ddiweddarach ar ymyl y ddalen. Hysbysir ni gan Mr Gwenogvryn Evans iddo ef ei weled mewn hen ysgriflyfr yn cael ei briodoli, a hyny yn ei dyb ef yn gywir, i Dafydd ab Gwilym. Hefyd, yn yr argraffiad cyntaf o waith Dafydd ab Gwilym (*Barddoniaeth,* tudal. 180) ceir y Cywydd—yr hwn yno a wna 76 o linellau—dan y penawd:—"Erfyniad i'r Haul dywynu Lles a Ffyniant ar Forganwg, am i wyr y fro honno ryddhau y Bardd o dan bwys cyfraith y Bwa Bach am ddwyn Morfudd." Nis gwyddom ar ba awdurdod y rhoddwyd i mewn y penawd hirfaith uchod. Nis gellir bod yn sicr am gywirdeb yr oll o hono wrth ddarllen y cywydd. Pa fodd bynag, ymddengys i ni yn benawd eithaf naturiol; ac hefyd mai ym Morganwg yr oedd yr awdwr pan ei cyfansoddwyd. Credwn hefyd, a barnu oddi wrth yr arddull, mai Dafydd ab Gwilym oedd yr awdwr, ond rhoddir ef i mewn am y rheswm fod enw Iolo Goch wrtho.

Yr haul deg a fyneges
rhed ti kyd bych nod y tes[1]

[1] "Yr haul deg ar fyneges
rreti kud byth rrod y tes."
*Glan. MS. K.*

"Yr haul deg ar fy neges
Rhed ti, cyd bych rhod y tes."—*D. ab G.*

[1]tecka blaened i redeg
ar helw duw yw garol deg[2]
y sul enw disalw oleini
siwrne faith yw dy daith di[3]
or dwyrain wybyr loyw wybr lin
gore lliw ir gorllewin[4]
llawn o ras ith gwmpaswyd
llywyrchu or ddeutu i ddwyd[5]
Dy lewyrch (myn duw lowydd)
ar hyd yr holl fyd a fydd[6]
ro *tra* da haul trwy dy hoywliw
a gad ir lleuad i lliw[7]— qu.
Rhawl y gamp rhuol gwmpas
rrod gron fawr i rrad ai gras[8]
em liw-nef am oleuni
y'mrodres y tes wytti[9]

[1] Yn blaenori llin. 3, ceir y ban a ganlyn yn *D. ab G.* :—
" O Wynedd, haelfedd hwylfa,
I Forganwg dwg dydd da."

[2] " Teka blaned i redeg
ar helw duw ywr haul deg."
*Glan. MS.*
" Tecca planed yn 'hedeg
Ar helw Duw, yw'r haul deg."—*D. ab G.*

[3] " Sul enw, disalw oleuni,
Ymdaith faith yw dy daith di."—*D. ab G.*

[4] " Or dwyrain wybr hoywybr hin
gore lliw ir gorllewin."
*Glan. MS.*
" O ddwyrein-wybr, hardd-lwybr hin,
Gorau lliw, i'r gorllewin."
*D. ab G.*

[5] " Llawn o ras ith gwmpaswyd
llywyrchu or ddeutu iddwyd."
*Glan. MS.*
" Llawn o ras i'th cwmpaswyd,
Llewychu oddeutu ydd wyd."
*D. ab G.*

[6] Nid ydyw llin. 11-12 yn *D. ab G.*

[7] " Trada haul trwy dy hoyw liw
a gad ir lleuad i lliw."
*Glan. MS.*
" Tra-da Haul, trwy dy hoyw-liw
Y cad i'r lleuad ei lliw."
*D. ab G.*

[8] " Rruwl y gamp rruol gwmpas
rrod gron fawr i rrad ai gras."—*Glan. MS.*
" Rhcol gamp 'wybr loyw gwmpas,
Rhod gron, fawr ei rhad a'i gras."—*D. ab G.*

[9] " Em liwne am oleini
ymrodres y tes wyti."
*Glan. MS.*
" Em loywnef, aml oleuni,
Ymmerodres tês wyt ti !"
*D. ab G.*

goreu *Korff y* blaened a garaf— qa.
gwyn dy fyd ar hyd yr haf[1]
Dyfod uwch lle difai dydd
i ben morganwg beunydd[2]
Di nag bobol doniog bybyr
o dir gwent lle mae dar gwyr[3]
hyd lle i meder ef hedeg
glyn nedd bro taria nedd teg[4]
erof haul, araf heulwen
a nad ar y wen wlad wen[5]
Na ryw law rag peidiaw pwynt wynt
na rhew gormod na rhewynt[6] ynt
na gwenwyn sygyn rhag dygyn dig
trwy goed nag eira trigedig[7]
na chorwynt o bellwynt bill
na chwerw wybyr yn echre ebrill[8]

[1] "Korff y blaned a gara
gwyn dy fyd ar hyd yr ha."
*Glan. MS.*
"Gorau planed a garaf,
Gwyn dy fyd, ar hyd yr haf!"—*D. ab G.*

[2] "Ben holl Forganwg beunydd."—*D. ab G.*

[3] "Dinag bobl donnog bybur
o dir gwent lle mae dar gwyr."—*Glan. MS.*
"Dinag bobl, doniog bybyr,
O dir Gwent, lle mae da'r gwyr."—*D. ab G.*

[4] "Glyn nedd bro tarianedd teg."
*Glan. MS.*
"Hyd lle y medri hedeg,
Glyn Nedd, bro teyrnedd teg!"—*D. ab G.*

[5] "Anad ary wenwlad wen."
*Glan. MS.*
"Erof haul, araf hoywlen,
Na âd ar y win-wlad wen."
*D. ab G.*

[6] "Na rry law rrag peidiaw pynt
na rrew gormodd na rrewynt."
*Glan. MS.*
"Na rhylaw rhag peidiaw pynt,
na rhew ormod, na rhywynt."
*D. ab G.*

[7] "Na gwenwyn sygn rrag dygyn dig
trwy goed nag eira trigedig."
*Glan. MS.*
"Na gwenwyn o sygn dygn dig
Trwy goed, nag eiry trigiedig." - *D. ab G.*

[8] "Na chwerw gwybr yn echre ebrill."—*Glan. MS.*
"Na chorwynt o bellynt bill,
Na chrwybr yn nechrau ebrill."—*D. ab G.*

Arwen di oroen yr dydd
benwn morganwg beunydd[1]
a ffyrhawn lawn oleuni
ymwel na ymel a mi[2]
a dai dan wybren heno
llen fraith ir gorllewin fro
ymddangos erof kof kerth
yn entrych wybyr kyn anterth[3]
Dos ar fyneges a dwg
gynyf i wym ___ morganwg[4]
dithe daf gorseddfa serch
yw g'ni fi ag anerch[5]
tro dy orchymyn nid rhaid
oi kylch neuaddau kalchaid[6]
pob plas teg ywr kwmpas tav
y llenyrch a'r perllanav[7]

1 "Arwain di o raen y dydd
benwn morganwg beunydd."
*Glan. MS.*
"Arwain di orhoen y dydd
I bennwn Morganwg beunydd."—*D. ab G.*

2 "A ffyrn hawn lawn oleuni
Ymwel im emyl a mi."
*Glan. MS.*
"A phrynhawn, lawn oleuni,
Ymŷl i'm emyl a mi!"
*D. ab G.*

3 "Ym ddangos ero kof kerth
yn entrych awyr kyn anterth."—*Glan. MS.*

Gosodir llin. 39-42 ar ol llin. 8 yn *D. ab G.*; a darllenant fel hyn:—
"Od ei dan wybren heno,
Llen fraisg y gorllewin fro,
Ymddangos yno, co' certh,
Yn entyrch 'wybr cyn anterth."
Ac yn dilyn llin. 38, ceir y ban a ganlyn yn *D. ab G.*, yr hwn nid yw yn y testyn nac yn *Glan. MS.*:—
"Dull mawr cyfanhedd-lawr cain,
Dyred eilchwyl i'r dwyrain,—"

4 "Gynyf i wyr forganwg."
*Glan. MS.*
"Dôs ar fy neges, a dwg
Ganwaith i wlad Forganwg."—*D. ab G.*

5 "Dithe da gorseddfa serch
yw kyny fi ag anerch."
*Glan. MS.*
"Dyddiau da gorseddfa serch,
O genyf fi, ag annerch!"
*D. ab G.*

6 "Tro di orchymyn nid rraid
yw kylch neuaddau kalchaid."—*Glan. MS.*
"Tro, dy orchymun nid rhaid,
Cylcheu neuaddau calchaid."
*D. ab G.*

7 "Pob plas teg ywr kwmpas kau
y llenyrch ar perllanau."
*Glan. MS.*

kadw bob man a chyfanedd
koed a maes lle i kaid y medd[1]
lle gŵraidd llu a *gerwin* gwerin
lle da gwir ar lled ar gwin[2]
lle i seiniodd llios anerch
lle dewr mab lle diwair merch[3]
lle hawdd ar guoedd llu hoyw
a gweled diwrnod gwiw-loyw[4]
goreufydd ai gwiw ofyn
gwraig wych yn gwisgo *gray/* gwyn[5]
rrof henw gid rrwyf hinon
ar leuad teg ir wlad hon[6]

"Plasau teg yw'r *pepyls* tau,
Y llennyrch, a'r perllanau!"
*D. ab G.*

Yn yr "Eglurhad o Eiriau Anghyfiaith" ar ddiwedd *Barddoniaeth Dafydd ab Gwilym* dywedir wrthym mai "Pebyllau" yw *pepyls.* Yn dilyn llin. 50 ceir y ban canlynol yn *D. ab G.*:—

"Hynod ydyw Dduw dy hanes,
Hebrwng drwy'r 'wybr terydr tes!"

[1] "Koed a maes llei kaid y medd."—*Glan. MS.*

"Cadw bob man cyfannedd,
Coed a maes, lle caid y medd."—*D. ab G.*

[2] "Lle gwraidd llu a gwerin
lle dawgwr lle da y gwin."
*Glan. MS.*

"Lle gorau llu a gwerin,
Lle da gwyr, eu llad, a'u gwin."—*D. ab G.*

[3] "Lle seiniodd lliaws anerch
*lle dewr mab lle diwair merch.*"—*Glan. MS.*

"Lle daw pob man i'w hannerch,
Lle dewr mab, lle diwair merch."—*D. ab G.*

[4] "Lle hawdd, ar gyfair llu hoyw,
Gweled mewn diwrnod gwiw-loyw."—*D. ab G.*

[5] "Goreu fydd ai gwiw ofun
gwraig wych yn gwisco grae gwyn."—*Glan. MS.*

"Goreu-ferch a'i gwarafyn,
Gwraig wych yn arwain gra gwyn."—*D. ab G.*

Cyfieithir y llinell olaf gan y Dr. Pughe (*Geiriadur*, s.v. "*Gra*") fel hyn:—"A fine woman trailing a white *fur.*" Ymddengys hefyd yr arferid y gair "arwain" am *wisgo*:—"Arwain aur a main" (Cywydd Rhif LII., llin. 3).

[6] "Rrof henw gida rrwyf hinon
a leuad teg ir wlad hon."
*Glan. MS.*

Y mae y llinellau hyn yn *D. ab G.* yn dilyn llin. 66; a llin. 65-66 yn dilyn llin. 60, y rhai a ddyfynwn yma, gyda dwy linell o ychwanegiad:—

"Cornel ar gyfair Cernyw,
Cyntedd gwin, a medd ym yw.
Rhof henw, gyda rhwyf hinon
Arlwyau teg i'r wlad hon,
Ar y gair, o wir gariad,
*Iarlles, Arglwyddes* pob gwlad."

para wlad goleuad glwys
prydydd ai geilw paradwys[1]
kornel ar gyfair Kernyw[2]
kyntedd gwin a medd ym yw
pe bai trwy gred i bawb gri
na bai rrydd i neb roddi[3]
. *fo gae* heb ofn na gwg,
i gynal y mor . . . .[4] 1400

† Dafydd ap Gwilym *in other MSS.*

†Iolo Goch ai kant

[1] Nid ydyw llin. 63-64 yn *D. ab G.*

[2] " Keirnyw."—*Glan. MS.*

[3] " Pe bai drwy gred i bawb gri
na bai rydd i neb roddi."
*Glan. MS.*

" Pe bai ar gred, pybyr gri,
Na bai rydd i neb roddi."
*D. ab G.*

[4] " Efo gae heb ofn na gwg
i gynnal ymorganwg."
*Glan. MS.*

Yn blaenori y ban hwn ceir pedair llinell yn *D. ab G.* :—

" Ni fedrai, fwnai fynag,
Neb o Forganwg roi nag ;
Pe caeth i fardd bywiog cân
Y byd oll, a bod allan,
Ef a gai, heb ofwy gwg,
Ei gynwys ym Morganwg."

# ENGLYNION AR AMRYWIOL DESTYNAU.

---

## LXXIX.

### 1.—[ENGLYN DIFYFYR].

---

*(O'r Add. MS., 14,964, fol. 189b).*

Coffa ben a llen a llywenig—Lys
a las nos Nadolig
Coffa golwyth Amwythig
O Tân a neidiodd naid dig.[1]

Iolo Gox.

### 2.—ENGLYN CRONICLAIDD.

---

*(O'r Add. MS., 14,994, fol. 159).*

Mil pedwar cant heb ddim mwy   cof ydyw
Cyvodiad Glyn Dwordwy
A phymtheg praff ei saffwy   1415
Bu Owen hen heb yn ddim hwy[2]   byw yn

Iolo Gox.

### 3.—I RICCARD UCH OLWIN ARGLWYDD DINAS REIDDIN.

---

*(O Ysgriflyfr perthynol i Mr. N. Bennett, Glanyrafon).*

Ni chiliodd Richard uch Olwin—eurglod
Arglwydd Dinas Reiddin[3]
Vylchiwr câd vaeddiad vyddin
Erioed led i droed o'r drin.

Iolo Goch.

[1] Gwel "Braslun," &c., tudal. 51.

[2] Yr un, tudal. 70. Blaenorir hwn yn yr ysgriflyfr gan y tri a geir o'i flaen yng *Nghyrcal Llundain*, ond y mae llinell rhwng pob un o honynt yn yr ysgriflyfr.

[3] Pa le mae *Dinas Reiddin*?

## 4.—[ENGLYN DUCHAN].

*(O'r Add. MS., 14,964, fol. 189).*

Allan y trigidi tref hirgefn dri xwybl
Allwydd tref hirgefn hwyrgabl
Ellyll ysgrefyll ysgrybl
Y Deryn dyryn diwallbobl[1]
Iolo Gox.

## 5.—[ENGLYN I EWYLLYS DA].

*(O'r Add. MS., 14,964, fol. 183b).*

Lles iwr Byd a'r Iexyd lles oruxa—Dduw
llês i ddŷn i fara
llês yw cowaeth ni fetha
nid llês dim heb wllys dâ
Iolo Gôx.

## 6.—[ENGLYN I BOEN MEWN PEN].

*(O'r Glanyrafon MS. L., p. 78).*

Peidied nag oeded awdur gwych heddiw
a chodi duw /n/ eglur
peidiaw ni ddiylch cylch cur
pan ddel yn y pen ddolur.
Iolo Goch.

[1] Y mae Englynion Rhif 4 a 5 i'w gweled hefyd yn *Add. MS.*, 14,964, fol. 59b, y naill ar ol y llall; ond y mae yn amlwg nad ydynt ar yr un testyn. Englyn Rhif 4 ydyw yr olaf o'r ddau yno; a darllena fel y canlyn:—

"Allan y trigi di drixwybl
Allwydd tref hirgefn hwyrgabl
Ellyll ysgrefyll ysgrybl
Y Deyron dyryn diwall bobl.'

## 7.—ENGLYN AR FEDDFAEN D. AB G. YM MYNWENT TAL-Y-LLYCHEU.

*(O'r Iolo MSS., p. 488).*

Hardd Lasnen Ywen Llwyn Eos *Dyfi*
Mae Dafydd i'th agos.
Mae'n y pridd y gerdd ddiddos
Diddawn yw pob dydd a nos.
Iolo Goch ai cant.

## 8.—[ENGLYN I'R DRINDOD.]

*(O Gorchestion Beirdd Cymru, arg. 1864, tudal. 110).*

Duw Dad, Duw Fab rhad priodol—dwysbraff,
Duw Yspryd sancteiddiol;
Duw Tri'n Un nis detry'n ol,
Duw yw hwn diwahanol.

## 9.—[DAU ENGLYN I'R CWRW (?)].

Y ni sydd gyfrifol am y penawd, ond ymddangosodd y nodyn a ganlyn, yng nghyda'r Englynion, yn *Y Llan a'r Dywysogaeth* am Mehefin 28, 1895. Ymddangosant i ni fel cynnyrch oes ddiweddarach nag eiddo Iolo Goch, ond wele hwynt, yn gystal a'r nodyn:—

"Mr. Gol.,—Llawer gem ffrwyth ymenyddiau ein hynafiaid a gollwyd drwy beidio eu croniclo a'u tynu drwy yr argraffwasg. Pob hen ysgrif a welaf, byddaf yn amcanu ei thynu drwy burdan y Wasg, fel y b'o ar gof a chadw i'r oes a ddel, i ba rai y dylem ystyried ein hunain yn ymddiriedolwyr. Wele ychydig o englynion a gefais ar ddalenau carpiog hen lyfr cownt un o deulu Isallt, Eifionydd. Nis gwn pwy yw eu hawdwyr oll. Dyma ddau englyn oddiwrth

Iolo Goch. Rhyw gymedrolwr llac oedd yr hen fardd, feddyliwn.

ALLTUD EIFION.

Yfed y ddiod sydd dda—ond eto
Mae'n dotian y gwycha';
Ei hyfwr a fydd hyfa'
Y ffela 'rioed yn ffwl yr ä.

Yfed yn galed heb g'wilydd—o'r bir
Boreu a diweddydd;
Nid oes pen nac ymenydd,
Meddaf fi, nad meddw fydd.

IOLO GOCH."

# RHYDDIAETH.

## I.

## ARAITH IOLO GOCH.

---

*(O'r Add. MS., 14,973, fol. 111b).*

Ceir yr "Araith" a ganlyn hefyd yn *Add. MS.*, 14,873, 14,894, a 15,034; ac y mae yn argraffedig yng *Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig*, cyf. i.. tudal. 21; ac yn *Y Brython*, cyf. iii., tudal. 63.

---

Kyvoeth Ruawen befr vab Throthach weledig[1] oedd wynedd gint, a chyfoeth Brochwel Ysgithrog[2] oedd Bowys, a makwy kystuddiawg deuruddlas[3] a wnaeth o gariad rhiain befr, yr oedd yw i ledrad garw ar rhaiain arddercbawg o adeinllwyd Brochwel ysgythrog yn hon oedd yn rhagori o bryd ag osgedd, glendid a goleuni rhag y ddwy seren ar bennig nid amgen yr haul ar lleuad y rhai oedd yn rhoi goleuad ir holl fyd nid amgen deau a dwyrain, gogledd, A gorllewin lle drwg oedd i ddyn arwain nychglwyf o gariad yr yn bennes, kanys ni allai, i, ddwyn[4] oi hanfodd, ni chai yntau hithau oi bodd, yno i kafas yn i gyngor, anfon atti ddiwyd was synhwrol, parablgroiw, ehudaidd, a hudai yr adar gwlltion or diffeithgoed, anamla,[5] a rhagddo

1 "Cyfoeth Rhufawn Befr fab Throthach Wledig." *Brython.*
Gwel "Araith i Ddafydd ap Bleddyn."—Rhif XXIII.

2 Dywed Sieffre o Fynwy (*Text of the Bruts*, p. 238) fod Brochuael Yskithra6c yn "tywyssa6c kaerlleon." Dywedir hefyd ei fod yn dywysog Powys, ac yn fab i Cyngen ap Cadell Deyrnllwg; ac iddo gael ei ladd mewn brwydr ar lanau y Dyfrdwy yn y flwyddyn 612.

3 "A Macwy serchog-ddeddf cystuddiawg."—*Brython.*

4 "Ei dwyn."—*Brython.*

5 "Yr adar gwylltion o'r diffaethgoed anamlaf anial anaele." *Brython.*

y kerddodd y gwas or bore hyd haner dydd, ag o haner dydd[1] oni oedd gyfuwch yr haul a blaen y gwydd: Ag yno ef a welai neuadd gaerfawr fynor, a thyrau amlwg odidowg-·waith ar i gwaith kaer drof arni,[2] a rhagddo y doeth y gwas, oni ddoeth lle / i, roedd yr un bennes gwedi[3] ymgyfansoddi mewn amrafaelion fain gwyrthfawr: Rowbi,[4] perl, a saphir mewn godidowg waith o Bali, didolwaith, yn gwneuthur sydanwaith.[5] Ag yno y dyfod y gwas worthi,[6] henphych gwell heddiw o dda ag o ddyn Arglwyddes y tegwch, Meistres y goludoedd, ag ymperodres y rhianedd, y mae y makwy serchowgddeddf, gystuddliw, deuruddlas o gyfoeth. Rhuawn befr yn nychu oth gariad, mae dy gyngor foneddigferch hyny:[7] heb y ferch wrth y gwas hwyl ddisyfydd yw honno,[8] a minau sydd a chenedl ag a chynghorwyr ym,[9] a ffann gaffwy fi y rhain ynghyd ti a gei atteb: Atteb Arglwyddes heb y gwas pa bryd fydd hyny, pan fo kyn rhydedd i goch y sebon,[10] ordderchu gwraig Gwylym ap Iolo, ag a fu i uther Bendragon ordderchu Eiger gwraig Gwrlais Iarll Kerniw:[11]

[1] "Hyd anterth; ac o anterth onid oedd gyfuwch." *Brython.*

[2] "A thyrau amlwg odidogwaith a gwaith caer dlos arni."—*Brython.*

[3] "Yr unbenes fawr, uchel ei hystâd, wedi."—*Brython.*

[4] "Riwbi."—*Brython.*

[5] "Yn gwneuthur sidanwaith, o aur a sindal."—*Brython.*

[6] "Ac yna y dywad y gwas ei neges wrthi."—*Brython.*

[7] "Wrth hyny?"—*Brython.*

[8] "O was, ebr y ferch, hwyl ddisyfyd yw hòno." *Brython.*

[9] "A chenedl feilchion a chynghorwyr doethion ym'." *Brython.*

[10] "Cyn rhydded i Goch y Sebon." *Brython.* Diammeu fod Coch y Sebon a Gwylym ab Iolo yn gydoeswyr âg awdwr yr "Araith"—yr un modd a'r personau ereill a gymherir ganddo â'r cymmeriadau hanesyddol, neu chwedlonol, a nodir ganddo. Ond y mae yn ddrwg genym nas gallwn roddi unrhyw wybodaeth am danynt.

[11] Adrodda Sieffre o Fynwy (*Text of the Bruts*, pp. 175-180) y chwedl am ddichell Uthr Bendragon yn twyllo Eigyr, gwraig Gwrlois, am eu priodas, ac am enedigaeth dau blentyn o'r briodas hono, sef Arthur, ac Anna—mam Gwalchmai a Medrawd.

Arglwyddes heb y gwas pa bryd fydd hyny: pan fo kyhyd braich Gomach grythor a braich Kaswallawn llawir,[1] y gwr a gyrhaiddai y maen o ddiar y llawr, i ladd y fran heb ostwng i gefn, kanys kyd oedd i fraich ai ystlys, ag oi ystlys hyd y llawr: Arglwyddes heb y gwas, pa bryd fyd hyny:[2] pan fo gystal gwalltwr monigrach o faelor,[3] ag Absalon ap Dafydd broffwyd yr hwn y rhoe ferched yr India naw talent o aur am un blewyn o wallt y benn, i wneuthur gwaith ag anrhydedd[4] yn i gylch: Arglwyddes heb y gwas, pa bryd fydd[5] pan fo gystal gafael Atkyn grupyl[6] a Glewlwyd gafaelfawr[7] y gwr a dderchafodd y pair, i, lawr o ddiar y tân yn i un llaw y llys Taran tair ynys brydain, a chig llen saith ychen ynddaw yn ferwedig/ Arglwyddes heb y gwas pa bryd fydd hyny, pa fo kystal gwely Madog hirgig[8] ar adlaw llynn gwrth yn rhossir y Môn,[9] a math mab Mathonwy, y gwr ni chysgai ond ai draed ymloneg gwraig ne forwyn Ifank, ag ni ddeffroe onis deffroe rhyfel: Arglwyddes heb y gwas pa bryd fydd hyny, pan fo gystal seithydd Deikin, ddiffrwyth,[10] a Mydr fab Mydrydd[11] y gwr a fedrodd seuthu a tharo y dryw trwy ewyn i ddwygoes, o gaenog[12] yn neffryn

[1] "Kat6alla6n llawir brenin g6yned," yn ol Sieffre o Fynwy (*Text of the Bruts*, p. 200); ac yn ol *Warrington's Hist. Wales*, a *Williams's Em. Welshmen*, yr oedd Caswallon Lawhir yn fab i Einiawn Yrth ab Cunedda, yn dywysog ar Ystrad Clwyd yn y Gogledd, yng nghyda Gwynedd, a rhanau o siroedd Caerlleon a Chaerhirfryn, yn y bummed ganrif.

[2] "Pa bryd y bydd hyny?" *Brython.*

[3] "Gwalltwr Monigrach o Faelor."—*Brython.*

[4] "Gwaith anrhydeddus." *Brython.*

[5] "Pa bryd y bydd hynny?" *Brython.*

[6] "Atcyn Grupl o Eryri." *Brython.*

[7] Glewlwyd Gafaelfawr.—Gwel *Mabinogion.*

[8] "Madog Higir."—*Brython.*

[9] "Ar adlaw Llyn Gwrth, yn Rhosaur, ym Mon." *Brython.*

[10] "Deicyn Ddiffrwyth o Wynedd."—*Brython.*

[11] Cyfeirir at hwn yn chwedl Kulhwch ac Olwen (*Mabinogion*, Oxford edit., p. 112) fel hyn:—"Medyr vab methredyd. a uetrei y dry6 yn esgeir oeruel yn Iwerdon tr6y y d6y goes yn gythrymhet o gelli wic."

[12] Clocaenog, plwyf yng nghantref Rhuthyn, Sir Ddinbych.

Klwyd hyd yn esgair oerfel yn y Werddon: Arglwyddes heb y gwas pa bryd fydd hyny, pan fo gystal pedestr phwg Sodlau Segur o fon/[1] ag Edeyrn ap Gwyddno garanir,[2] y gwr aeth i redeg[3] ar gwynt pan ddoeth dirfawr lynges, i ddwyn gwraig Phin ap Koel i drais: Arglwyddes heb y gwas pa bryd fydd hyny, pan fo kystal seithydd Dafydd bach ap Madoc Wladaidd yn ol llynn gwerth ydeirnion ag Uriel Wastadiaith[4] y gwr ni chlybu iaith ai glustiau nis traethai ai dafod, kyn glymed ag i klowai: Arglwyddes heb y gwas pa bryd fydd hyny: pan fo kyn decked Stiphan y brain, a Sandau bryd Angel,[5] y gwr a ddiengis or gad gamlam rhag i decked/ kanys nid y myrrai neb arno gan dybiaid mae Angel adeiniog or nefoedd pan i gwelid oedd: Arglwyddes heb y gwas pa bryd fydd hyny, pan fo kyn hackred Madog Gloddaith,[6] a Morfran ap Tegid,[7] y gwr a ddiengis or gad gamlan rhag i hackred gan bawb yn tybiaid mai kythrel

[1] "Pedestr Ffwg Sodlau Segur, o Fon."—*Brython.*

[2] "Edeyrn ab Gwyddno garanhir."—*Brython.*

[3] "I gydredeg."—*Brython.*

[4] Gwrhyr Gwalstawt Ieithoedd, am yr hwn y sonir cymmaint yn chwedl Kulhwch ac Olwen, a feddylir.

[5] "A sande bryt agel. ny dodes neb y wae6 ynda6 yg kat gamlan —rac y decket." (*Mabinogion*, Oxford edit., p. 108.) Mab oedd Sandde i Llywarch Hen (Gwel *Myv. Arch.*, p. 95).

[6] Yn ol y Chevalier Lloyd (*Hist. Powys Fadog*, vol. iv., p. 149) yr oedd Morfydd, gwraig Madog Gloddaith, yn ferch i Syr Gruffydd Llwyd o Dregarnedd, ym Môn, yr hwn a aeth â'r newydd am enedigaeth ei fab (Edward o Gaernarfon) i Edward I. i Ruddlan; a'r hwn, yn 1322, a garcharwyd yng Nghastell Rhuddlan am wrthryfela yn erbyn y brenin. Eto, yn *Hist. Powys Fadog*, vol. vi., p. 256, ceir "Cywydd Marwnad," o waith un Robin Ddu ab Siencin, i saith o blant—pum' mab a dwy ferch i Gruffydd ab Rhys ab Gruffydd ab Madoc Gloddaith ab Madoc ab Ierwerth Goch o'r Creiddyn—y rhai a fuant feirw o'r pla, yn yr un wythnos, yn y flwyddyn 1448. Dengys yr amseriadau uchod fod Madog Gloddaith a Iolo Goch yn gydoeswyr.

[7] "A moruran eil tegit. ny dodes dyn y araf ynda6 yg kat gamlam rac y hacret. pawb a debygyt y uot yn gythreul canhorth6y. ble6 oedd arna6 ual ble6 hyd." (*Mabinogion*, Oxford edit., p. 108.) A dywedir am dano yn y Trioedd (*Mabinogion*, p. 304):—"Tri esgemyd aeren ynys prydein. moruran eil tegit. a gwgon gledyfrud. a gilbert kat gyffro."

oedd o uffern pan i gwelid: Arglwyddes heb y gwas pa bryd fydd hyny, pan fo gystal trem Bleddyn Rabi[1] a threm Tremydd ap Tremhidydd,[2] y gwr a ganfyddai draian y gwybed ymhelydr yr haul ymhedwar ban byd: Arglwyddes heb i gwas[3] pa bryd fydd hyny: pan fo gystal Klustiau Deikin fongam[4] o fachynllaith, a Chlustfain ap Klustfeinir[5] y gwr a glywai drwst y gwlithyn yn syrthio oddiar y gownen ymhedwar ban byd: Arglwyddes heb y gwas pa bryd fydd hyny: pan fo kyn ddiweiried Gonerus Ruthun, a Gwenfrewy, yr hon a ddewissodd ladd i ffen rag i chael, a bod iddi achos a gwr unwaith: Arglwyddes heb y gwas pa bryd fydd hyny, pan fo kyn decked ol Dwgen Dwygen dugloff[6] yn kerdded Tomydd y Bala, ag ôl Olwen[7] ferch ysbaddaden ben kawr, yr honn y tyfai bedair meillionen gwnion yn olau i thraed pa le bynag i kerddai: Ag fel hyn i doeth y gwas ar attebion at y Makwy serchowgddedd, deuruddlas, o gyfoeth Rhuawn befr:[8] Terfun.

Iolo Goch ai kant.

[1] "Bleiddyn Rabi."—*Brython.*

[2] Dywedir yn chwedl Kulhwch ac Olwen (*Mabinogion*, Oxford edit., p. 109) fel y canlyn:—"Drem vab dremidyt. a welei o gelli wic yg kerny6 hyt ym penn blathaon ym prydein. pan dyrchauei y g6ydbedyn y bore gan yr heul."

[3] "Arglwyddes, ebr y gwas." *Brython.*

[4] "Clustiau Deicyn Fyddar, o Fachynlleth."—*Brython.*

Yr oedd un Deicws Vongam yn byw yn Llwyn y Cnotiau, Sir Ddinbych; ac efe a roddodd y gloch fawr, a elwir "Cloch Ddeicws," i Eglwys Gwrecsam; a thybiwn ei fod yn cydoesi â Iolo Goch (Cymh. *Hist. Powys Fadog*, vol. ii., pp. 120, 137). Ond nid oes brawf na thebygolrwydd mai efe a feddylir yma.

[5] "A chlustiau Clustfain ab Clustfeinir."—*Brython.*

Un o wylwyr Arthur oedd Clustfain (*Mabinogion*, Oxford edit., p. 245).

[6] "Pan fo cyn deced ol troed Dwgan Dugloff." *Brython*

[7] Am yr Olwen hon y traethir yn chwedl "Kulhwch ac Olwen" (*Mabinogion*, Oxford edit., pp. 100-143).

[8] Terfyna yn *Y Brython* fel hyn:—"Ac felly y daeth y gwas a'r atebion yma at y Macwy serchogddeddf ddeuruddlas, o gyfoeth Rhufawn Befr, ei feistr."

# II.

## YMA I DECHRE Y LLYVYR A ELWIR YMRYSSON YR ENAID AR CORPH YR HWN A DROES IOLO GOCH O LADYN YNGHYMRU AEEC.

---

*(O'r Add. MS., 15,034, fol. 172).*

Sef a seganai/gannai[1] yr ennaid wrth y Corff dan ochain ac wbain/Ibain yn dost a druanaf gorff dielw o bryd ar ddiysdyr gogaf dy gam weithredoedd ath ffolineb ffynnon y ddryc vuchedd a cham valchder drwc o beth ith ddysgwyd tra fuost yn oydran yvyengtid yn y byd hwn.

(1) (1) *Pam ir oydd yr holl yn uvyddhau iti ddoy ac wrth dy lywodraeth?*—pa le i mae y tylwyth a oeddith
(2) galyn di ddoe (2) Delid coof ytt nad ydwytt ti yn
y tyrrau/dyrrau calchiad pedrogl/pedriogl nai yn y lleoydd meinain[2] y
byddau yr arlwy mawr ith erbyn yr wytti heddiw
hagen mwen[3] pwll priddlyd cryngwaith a dayardor
wedi syrthio arnad ir bod yn eiddotti ddoe yr holl
vyd yn rhydd nid oes itti heddiw ond saith
(3) droedvedd or ddayar—! oi hai/Och vi! och fi (3) myvi
gwedi vyngwneuthur yn deilwng am purhau
o gred a bedydd amrhoddi mewn ffydd Grist ar
awr i doythum wrth dy lywodraeth di tydi am

llygraist i yn halogedic Ni adodd dy anwasdadrwydd di ymi gyrchu offerrennau na llawenhau gweiniaid nac edrych y y claf/cleifion na dilladu noyth na rhoi bwyd i newynoc na diod i sychedic na mynegi y ffordd i anghyvarwydd na chynghori annoeth/ffool i mae hyny heddiw yn dywymedic i mi ac i titheu heddiw ac ni allai dyvodai yr holl pobloedd vynegi maint fy mhoenau am gofai/yw poynna ir wyf i yni oddef ar goval y sydd rhag na chaffwy drugaredd/am gorrvogaw am drugaredd gan Dduw or nef ddydd Brawd am dy ddrwg di—— Mae yr

[1] Syganai = sganai, ys a ganai, ys ynganai = *he said.*

[2] Meinion?

[3] Mewn

ysgyvaythau mawr o aur ac arrian a'r trysor a guddiaist—mae y cestell ar neuadde mawr adeiledaist—mae y llugyrn goleu a oyddyt—mae y llyssieuoydd mawrweirthioc ar adar ar gwin a lewaist a thydi heddiw yn fwyd i bryfed—meddylia yn ysbys ai da dy le di heddiw a ddugost di o drais a chydernid gan valais a thwyll iar bobyl y byd, angau ai duc hwynt oll tithau oll / oddiarnatti heddiw a dybygidi am y gwragedd teec ar merched y hrai i hroddaist dy dda yn orwac uddunt, a hevyd dy dad ath vam ath vrodur ath genedl / gynnesseyvied oll y hrai a oydd yn dy ymgleddu di gynt / ddoy nid oes neb heddiw yn dwyn coof am dannat nac yn darbod pa le i bych canis hwynt a gowsant dy swllt dy drysor ath amguedd pan vuost varw dy dir dy ddayar dy Dai dy Blassau, hwynt biau oll heddiw, Ni thybygaf i i rhoddai dy wraic di di ath veibion un Erw or tir er / yn tynnu ni ein / yn dau allan on poynnau ar yr awr hon—Am hynny gwae di na wyddost mor dywyllodrus yw y byd a maint i mae cythreulied yn ceysio craff arnom / arno—Gwybydd di naad ydiw y gwisgoydd y porffor ar mentyll teec amdannatti heddiw eiythyr bod yn dramawr gan dy wrraic ath sucuttorrion[1] roddi dwy lathen / lathennaid o lyain ith hamdoi ne ir cyddio dy Gorff—a dybygidi etto er hyn na ddaw arnatt amgen dialedd noc yssydd heddiw—Ef a ddywaid yr Ysgrythyr lan i doi di i gyd boini amyvi ddydd Brawd ac ymaith idd af oddiwrthyd / iddiwrthyd cannis na elli fyned im erbyn am a dreuthais wrthyd—Ynna ir attebodd y Corff ac a ddyvod gwir yw, mi a wneuthum lawer o ddrwc a ffechode Eissioys ni allwn wneuthur dim panna bai dyvôd yn cydsynniaw a mi yr Enaid Aha Aha myvi glowa gennytt air o ddadyl ai nid a cheisio bwrw arnaf fi y cerydd oll / oys eissie bwrrw cerrydd arnav i—Myvi a vum gerryddus hagen am adel ytt dy chwant ath rryditt tra vuost yn y byd i wneuthur drwc a ffechodau yr hwn ni adawai dy anwastadrwydd di ath gam ywyllys ei i mi orvod arnatt a phann oythwn i yn damuno dy goabl / ddovi di drwy syched ac annwyd annoithni ni

[1] Y mae y ddau air—"ath sucuttorrion" wedi eu croesi allan yn yr ysgriflyfr.

adai nattur y Byd pechadurus dy ddovi di nath osdegu, ac velly i buost di yn drecha ac yn wassanaythwr tywyllodrus i myvi o herwydd dydi am |tynnaist yn dy ool drwy dy enwiredd ac am rhoddaist mewn pydew pechodau Ceryddus hefyd y bum i &c. heddiw vum i a myvi yn arglwydd arnatt nath ffrwynais rhac dy ddrwc vuchedd—a sef a wnaeth i mi hynny tybygu gan bob awr yr oyddwn i peidiant ath ddrwg ath a garredigaeth ac nad ai gythreulied i ti beidio gan ymado ar byd tragwyddol er degrivivch pechodau canis ni bu ddim digrivach no ffechode tra fyddai ynddo na mwy i ryfyg na'i gadernyd trauther ynddigonnel ynnddunt A ettwa er hynn nid arbedodd angau dy di er maint dy gyvoyth canis mynych y digwydd ir neb mwya i gyvoyth ai anrhydedd yn y byd hwn oni vedrai i lywodraythu megis ac i perthynai mae mwya a vyddai y cyvri ar dialedd ynnol —Ychydic oth gymydeion[1] ath gerraint ir maint ith gerrynt a thi yn vyw yn y bydd[2] avai yn hawdd ganthynt edrych arnatti heddiw ath esgyrn yn vriwedic ar Bengloc yn vriwdoll a lle y llygaid yn gaubylle, ar dannedd yn hadyl bwdwr ar dwylaw wedi syrthio oddiwrth y Corff ar cnawd yn lludw priddlyd—Ynna ir attebodd y Corff ac a ddyvod wrth yr ennaid pannid yn y Galon y buost di yn trigo ar galon a veddylia y pechod cyn i wneuthur ac am hynny cynt yw meddwl no gweithred cyn i pechaist di no myvi, canis am bechod meddwl i syrthiodd Lussiffer yn y pydew Brwmstan uffernawl yn uffern or lle nid a ef allan byth o honnaw, ynna ir attebodd yr enaid ac a ddyvod ef vo a roddes Duw ei Bum synwyr Corfforol imgadw rhag gwneuthur drwc a ffechodau ai ni rodded ym mi yr un ac nid ydwyf gerryddus ddydd Brawd pan vo yn Ysgrivennedic gweithred pawb yni daal ar fynydd olifer ar pryd ni aller gwadu yr hyn a wnaythpwyd yn y byd yma—Yr hun myvi adolygaf ir arglwydd yn eisde ar ddeau y tad holl gyfaythawc ac yn barnu ar y byw ar meirrw vod yn gyvion vrowdwr rhyngom ni herwydd
yn ymryson au dau atteb
an ymryson a'n gweithredoedd•

Velly Tervyna.

[1] Gymdeithion ?   [2] Byd ?

# CYWIRIADAU A CHWANEGION.

[Gan fod llythyrenau weithiau yn syrthio ymaith y funyd olaf, nis gellir beio yr argraffydd na'r golygydd am lawer o'r gwallau a nodir isod].

Tudal. 4, nodyn 2, llin. 1, *yn lle* "yn meddiant" *darllener* "ym meddiant."

Tudal. 20, llin. 29-30, *Dilëer* "Wedi hyny, daeth yr etifeddiaethau eang hyn i feddiant Hugh le Spencer; ac yna i Henry, Iarll Lancaster."

[Wrth geisio cywiro gwall, pan oedd y gwaith yn myned trwy'r wasg, y gwnaed y camgymmeriad hwn. Cafodd Hugh le Spencer, neu Despenser, arglwyddiaeth Dinbych ar ddifeddianniad Alicia, ond nid oes genym unrhyw brawf iddo gael Iarllaeth Lincoln. Ac hyd y gwyddom, ni fu a wnelo Henry, Iarll Lancaster, o gwbl ag Arglwyddiaeth Dinbych. Methasom a chael allan pwy oedd yn dal Iarllaeth Lincoln o ddifeddianniad Alicia hyd pan daeth i feddiant Henry, Iarll Lancaster. Er yn gofidio o herwydd y frawddeg anffodus hon, nid ydyw yn effeithio mewn un modd ar ein hymdriniaeth ar y cwestiwn "Pwy oedd Mam Iolo Goch?"—o blegid, yr oedd Iolo, yn ol pob tebyg, wedi ei eni cyn i Alicia golli yr etifeddiaethau a nodir].

Tudal. 29, llin. olaf, *yn lle* "y drydedd yn y daflen," *darllener* "y bedwaredd yn y daflen."

Tudal. 32, llin. 3, *yn lle* "Adda ap Y yr yna," *darllener* "Adda ap Y ynad."

Tudal. 39, nodyn 4, *yn lle* "Saith Pechawd marwawl 6," *darllener* "Saith Pechawd Marwawl, § 6."

Tudal. 48, llin. 12, *yn lle* "yn Mynachlog," *darllener* "ym Mynachlog."

Tudal. 65, 67, 69, 71 (ar y brig), *yn lle* "Gwrthryfel Owain Glyndwr," *darllener* "Bardd Owain Glyndwr."

Tudal. 75, llin. 25-32. Pan yn rhy ddiweddar, hysbyswyd ni drachefn gan Mr. Davies-Cooke, Gwysaney, iddo dd'od o hyd i'r ysgriflyfr y cyfeirir ato, yr hwn sydd yn cynnwys ychydig o gywyddau o waith Iolo Goch. Ond y mae y cywyddau a nododd yn argraffedig yn y gwaith hwn.

Tudal. 110, nodyn 12, *yn lle* "trist rai," *darllener* "trist i rai."

Tudal. 142, nodyn 1, llin. 1, *yn lle* "ai ar bê," *darllener* "ai ar bêl."

Tudal. 178, llin. 8, *yn lle* "Krydr meirch," *darllener* "Erydr meirch."

Tudal. 187, ymyl y ddalen, *yn lle* "Martü," *darllener* "Martii."

Tudal. 194, nodyn 3 (llin. isaf), *yn lle* "llinellauh yn," ***darllener*** "llinellau hyn."

Tudal. 225, nodyn 4 (llin. isaf), *yn lle* "rhyngth yn saeth," ***darllener*** "rhyngthyn yn saeth."

Tudal. 242, llin. 2, *yn lle* "Dilud y broffwydoliaeth," ***darllener*** "Dilud y broffydoliaeth."

Tudal. 250, llin. 2, *yn lle* "Robert Evans Jones," ***darllener*** "Robert Evan Jones."

Tudal. 298, nodyn 3, llin. 11, *yn lle* "Tregayan," ***darllener*** "Trefgayan."

Tudal. 325, llin. 4 (o'r gwaelod), *yn lle* "Einion ap Seysy t," ***darllener*** "Einion ap Seysyllt.'

Tudal. 348, ymyl y ddalen, *yn lle* "ebysty," ***darllener*** "ebystyl."

Tudal. 401, llin. 1, *yn lle* "gradd $_{y}$ffairiad," ***darllener*** "gradd $^{l}_{y}$ffairiad."

Tudal. 448, llin. 8, *yn lle* "Diffrynt," ***darllener*** "Dyffrynt."

Tudal. 473, llin. 8, *yn lle* "Kam $_{k}$erdded," ***darllener*** "Kam ꝁerdded."

Tudal. 627, nodyn 7, *yn lle* "Dorllwyth o dylwyth i d," ***darllener*** "Dorllwyth o dylwyth i dir."

Tudal. 655, llin. 7, *yn lle* "mel n," ***darllener*** "mel$^{l}_{y}$n."

Yn ychwanegol at yr uchod, cywirir camgymmeriad ar tudal. 386, llin. 4-6; ac un arall ar tudal. 404, llin. 4-6. Dymunir galw sylw hefyd mai i Rhys Nanmor y priodolir awduriaeth Cywydd Rhif LXXIII., yn *Glanyrafon MS.*, *K.*, ac nid i Iolo Goch, fel y gellir tybied oddi wrth y daflen o ysgriflyfrau *Glanyrafon* ar tudal. 79. Felly 19, ac nid 21, o gywyddau yn ysgriflyfrau Mr. Bennett a briodolir i Iolo Goch.

Ac yn olaf, sylwyd ar ol argraffu Cywydd Rhif LXIII. (tudal. 545), fod copi o hono yn *Glanyrafon MS.*, *C.*, fol. 50, dan y penawd "Kowydd i Dduw," lle ceir "Robert Leia ai Kant" ar ei ddiwedd. Dechreua y cywydd yn yr ysgriflyfr hwnw fel hyn :—

"Iessu hwde yn nefosiwn
or wawd orau a wn."

---

# RHESTR O'R PERSONAU, CYMMERIADAU, A'R LLEOEDD.

[Cynnwysa y rhestr amryw enwau y cyfeirir atynt yn y Rhagarweiniad a'r Nodiadau, y rhai nid ydynt i'w cael yng ngwaith Iolo Goch. Rhoddir hwynt i mewn er mwyn hwylusdod i'r darllenydd. Ni cheisiwyd dilyn llythyraeth y cywyddau yn y rhestr hon, gan fod y gwahanol ysgriflyfrau yn amrywio.]

# GEIRIAU ANGHYFIAITH AC ANARFEREDIG.

[Cynnygir eglurhad ar y rhan fwyaf o'r geiriau hyn yn y nodiadau ar waelod un neu arall o'r tudalenau y cyfeirir atynt].

